# GWEITHIAU

Y DIWEDDAR

# BARCH. MORGAN HOWELLS;

YN CYNWYS

## PREGETHAU A THRAETHODAU.

Dan olygiad Edward Matthews, Ewenny.

CYFROL I.

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD GAN ROSSER A WILLIAMS, HEOL FAWR.
1858.

## AT Y DARLLENWYR.

---

Gyfeillion,—Nid ydym yn bwriadu yn bresenol i wneyd dim ychwaneg na dyferu ychydig o eiriau mewn ffordd gyfeillgar. Fe allai y byddis yn dysgwyl rhyw ragymadrodd helaeth, yn gymaint a bod hyny yn ffasiwn y dydd; a braidd yr ystyrir fod llyfr yn gyflawn heb hyn. Yr oedd yn ein bryd, y mae yn wir, i ysgrifenu rhagdraeth go faith mewn cysylltiad a'r llyfr hwn ar gymeriad gweinidogaethol y Parch. M. Howells; yr oeddym yn meddwl fod y cymeriad y fath ag i roi mantais helaeth i gyffwrdd a llawer o bethau fuasai yn dra dyddorol ac adeiladol; oblegyd, fel y gwyddoch, nid cymeriad cyffredin oedd Mr. Howells, ond rhyw eryr mawr yn ehedeg yn nerthol ac yn ymddyrchafu yn uchel, yn tori llwybr iddo ei hun; ac o ganlyniad yn agor y nefoedd uchod o flaen y byd. Ond rhaid i ni ymatal, onide ni awn i wneyd y peth yr oeddym yn dechreu myned i ddweyd nad oeddym yn bwriadu ei wneyd yn bresenol.

Yr hyn a'n hataliodd i gyhoeddi dim ar gymeriad gweinidogaethol Mr. Howells oedd gweled y buasem yn gwneyd cam ag ef wrth wneyd hyny; yn gymaint a bod y fath gyflawnder o ysgrifeniadau o'i eiddo ei hun, a'r rhai hyny mor werthfawr. Meddyliasom mai gwell fuasai iddo gael dywedyd drosto ei hun, hyd y gellid, a pheidio

lladrata un ddalen oddiarno. Wrth gychwyn nid oeddym yn gwybod pa faint o argraff y gallasai yr ysgrifeniadau gynwys, a phenderfynasom gyhoeddi mai pump rhan y buasai; ond wrth fyned yn y blaen gwelsom ein camsyniad; ac yr ydym yn awr yn gwybod y dylasai fod yn ddeg. Eto, i gadw ein gair a'r cyhoedd, a chan fod y pum rhan yn llawn ddigon o gyfrol, penderfynasom ddybenu, serch dybenu yn y canol; a chyhoeddasom yr hyn a ganlyn ar amlen y bedwaredd Ran. "Yr oedd gan Mr. Howells lawer mewn ysgrifen mwy nag y meddyliodd y rhan amlaf; ac y mae sibrwd wedi dyfod i'n clustiau na ddylem ymatal nes dwyn allan *holl* waith y gwr parchus. Os dywed y derbynwyr, 'Digon bellach, atal dy law,' ni fydd genym ddim i wneyd ond taflu y pin i lawr, tynu y llen yn ddystaw dros wyneb ein cyfaill ymadawedig eto, selio ei dafod fel na lefaro mwy, a chladdu cynyrchion ei feddwl galluog gyda gweddillion ei gorph egwan mewn bedd dystaw: ac os dywedwch fel arall, gwnawn ein goreu i'ch gwasanaethu. Gadewir y mater dan eich ystyriaethau, ac ymostyngwn i'ch barn ar y peth fel y llys uchaf."

Oddiar hyn, yr ydym wedi derbyn llythyrau yn gawodydd o bob man o Gymry yn cynwys yr anogaethau mwyaf taer i fyned rhagom, a dyfod a chyfrol arall allan. Yr ydym yn ddiolchgar i'n cyfeillion am ysgrifenu atom, ac am eu hanogaethau tyner; y maent wedi ein lloni yn fawr; a chan ein bod o duedd gryn feddal, y mae eu taerineb a'u tynerwch yn agos wedi effeithio arnom,

fel ag i ddywedyd, Yr hyn oll a lefarasoch, ni a'i gwnawn. Er hyny y mae rhwystrau mawrion ar y ffordd. Er mor dda ac adfywiol yw cynghorion ac anogaethau cyfeillion tyner, ac er eu holl effeithioldeb i adloni y meddwl, ac anog yn y blaen, y mae yn rhaid i ni ddyweyd fod rhyw beth cryfach na hyny yn ein hanog yn y blaen a'r gwaith hwn. Nis gallwn lai na chanfod gwir fawredd yn meddyliau Mr. Howells, a gwir fawredd yn y dull o'u trin, a gwir fawredd yn yr ysbryd y trinir hwynt; ac y byddai yn golled annhraethol nid yn unig i'r oes hon, ond hefyd i oesoedd dyfodol iddynt fyned i ebargofiant. Onid ydyw yn anhawdd darllen y traethodau hyn heb deimlo? A ellir eu darllen a chysgu? A ellir eu darllen heb dderbyn argraff? A ydyw yn bosibl i neb feddwl nad oedd y dyn ag oedd yn dywedyd yn credu ac yn teimlo ei hun, ac yn dymuno o galon am i bawb deimlo felly hefyd? Na; y mae yn hunan-dystiol; argyhoeddir pob meddwl mai dyn Duw sydd yn siarad dros Dduw wrth ddynion. Y mae yn rhydd i ni gyffesu na ddarfu i ni deimlo yn fwy erioed nag wrth ddarpar y "Gweithiau" hyn; ac yr oeddym yn casglu oddiwrth hyny fod yn debyg iawn eu bod yn effeithio yn ddirfawr, eto yn iachusol, ar feddyliau llaweroedd. Yn wir, derbyniasom lawer o lythyrau o wahanol fanau yn ein hysbysu fod yr anystyriol yn cael eu deffroi a'u dychwelyd i dy Dduw trwy ddarllen y Gwaith hwn; ac un yn benodol, na welwyd ef erioed yn moddion gras gan neb o'r ardalwyr, wedi iddo ddarllen y Gwaith hwn a ddeffrowyd,

ac nad ydyw yn bresenol yn colli un cyfarfod. Ein cryfder mwyaf o'r dechreu i fyned yn y blaen a'r gorchwyl hwn oedd ein bod wedi credu yn benderfynol fod ynddo y duedd gryfaf i wneyd lles i eneidiau dynion. Nid ydym yn dywedyd hyn er mwyn dyweyd rhyw beth,—bydded hyny yn mhell oddiwrthym; eithr yr ydym yn gydwybodol yn credu yr hyn yr ydym yn ei ddyweyd; ac wedi tynu cryn gryfder a hyder o'r meddwl hwnw.

Wedi pob peth, fe allai y canfyddir llawer o waeledd a ffaeleddau yn nygiad y Gwaith hwn allan; cyfrifer hyny i ni, a bydded i feddwl hynaws y darllenydd edrych dros a thrwy ein gwendid ni at fawredd, cryfder, a defnyddioldeb Mr. Howells. I'r gyfrol hon fod yn fendith neillduol i'r saint, er eu cysuro a'u dyddanu yn eu holl orthrymderau, a'u nerthu i fyned rhagddynt yn wrol i dir y bywyd, ac yn fendith i'r annuwiolion er eu deffroi o'u cwsg ysbrydol, a'u dychwelyd at Dduw yn ei Fab Iesu Grist, yw gweddi

Eich gwas yn yr efengyl,

E. MATTHEWS.

*Ewenny, Mawrth*, 1858.

# CYNWYSIAD.

# PREGETHAU, &c.

## PREGETH I.

### ARFER Y BYD HEB EI GAM-ARFER.

"A hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd, frodyr, am fod yr amser yn fyr. Y mae yn ol, fod o'r rhai sydd â gwragedd iddynt megys pe byddent hebddynt; a'r rhai a wylant, megys heb wylo; a'r rhai a lawenhant, megys heb lawenhau; a'r rhai a brynant, megys heb feddu; a'r rhai a arferant y byd hwn, megys heb ei gamarfer. Canys y mae dull y byd hwn yn myned heibio," 1 Cor. vii. 29, 30, 31.

Y MAE yr apostol yn dangos yr ynfydrwydd o roddi pwys mawr ar bethau cyfnewidiol a byr. "Y rhai sydd â gwragedd iddynt, megys pe byddent hebddynt;" "am fod yr amser yn fyr;" canys ni fyddwch yn hir cyn y byddwch yn *rhwym* o fod hebddynt. "A'r rhai sydd yn wylo, megys heb wylo;" am fod yr amser yn fyr. "A'r rhai a lawenhant, megys heb lawenhau;" am fod yr amser yn fyr. "A'r rhai a brynant, megys heb feddu;" am fod yr amser yn fyr. "A'r rhai a arferant y byd hwn, megys heb ei gam-arfer;" am fod yr amser yn fyr. "Canys y mae dull y byd hwn yn myned heibio." Beth bynag sydd â dull y byd hwn yn argraffedig arno, nid yw o werth sylw, na llawenhau ryw lawer o'i blegyd.

Sylwch, 1. Y mae y pethau hyn yn gyfreithlon. Y mae yn gyfreithlon ac anrhydeddus i briodi, y mae yn gyfreithlon i wylo, y mae yn gyfreithlon i lawenhau, y mae yn gyfreithlon i feddu, y mae yn gyfreithlon i arfer y byd hwn.

2. Gwelwn fod peryglon mawrion mewn pethau *cyfreithlon.* Y mae annghymedroldeb pechadurus yn dyfod i mewn yn yr arferiad o honynt. Y mae *llawenydd* yn gystal a *thristwch* yn gweithio angau, yn naturiol; ac yn dechreu angau tragywyddol yma ar y ddaear; yn gwneyd y ddaear yn uffern. Y mae y byd hwn, y naill ffordd a'r llall, yn "boddi dynion i ddinystr a cholledigaeth" yr awr hon, yn y byd hwn; ac yn dragywyddol, ac yn anadferadwy ar ol myned oddiyma. O, y pechod a'r boen sydd yn y pethau hyn, yn y bywyd hwn! Ië, y mae pawb, ond Cristionogion, yn colli eu hunain am

byth mewn cysylltiad a'r pethau hyn. Y mae y Cristion yn cael ei flino yn fawr ganddynt. Mor fyr, mor gyfnewidiol yw pob peth y bywyd hwn! Mor fuan y mae cyfoeth llawer yn cael ei droi yn dlodi, yr anrhydedd i warth, a'r llawenydd i dristwch. Y mae llawer iawn o long-ddrylliadau ar dywod a chreigydd y byd hwn; y mae dynion yn colli eu crefydd, eu cysuron, eu synwyrau, eu hiechyd, eu bywydau, ac yn y diwedd eu heneidiau,—eu cwbl. Yn colli daear, nefoedd, Duw, yr oll, ac yn suddo eu hunain i uffern am dragywyddoldeb.

3. Y mae crefydd yn cynyg meddyginiaeth yn yr amgylchiadau peryglus hyn. Y mae a fyno crefydd â phob sefyllfa mewn bywyd. Y mae a fyno hi â phriodi, prynu, gwerthu, meddu, clefyd, iechyd, wylo, llawenhau, arfer y byd hwn yn ei holl gysylltiadau. Y mae crefydd i'n llywodraethu yn y cwbl, a chyda'r cwbl. Hi sydd yn santeiddio ein serchiadau, ac yn eu cymedroli yn mhob peth. Nid yw crefydd, deallwch, yn gwneyd dyn yn annheimladwy i'r byd hwn, fel coed neu geryg; ond yn ychwanegu teimlad arall, yn rhoddi gwrthddrychau eraill i'r serchiadau. Nid dinystrio y creadur, ond ychwanegu creadur newydd, y tueddiadau a'r serchiadau yn cael eu cyfeirio at wrthddrychau uwch, fel y gwrthddrychau penaf. Y mae y dyn yn dywedyd yn wylofus, Yr wyf wedi colli fy mhriod; y mae y creadur newydd yn cyfeirio yr enaid at Briod uwch. O, medd y creadur newydd, golch dy ddagrau; y mae dy Brynwr yn fyw. "Dy Briod yw yr hwn a'th wnaeth; Arglwydd y lluoedd yw ei enw; Duw yr holl ddaear y gelwir ef." O, ebe y plant, y mae ein tad wedi marw; pa beth a wnawn mwyach? Y mae gwell Tad yn y nefoedd, ebe y creadur newydd, ymddiried dy achos i hwnw. "Tad yr ysbrydoedd, a byw; Tad yr amddifaid a Barnwr y gweddwon" ydyw, yn ei breswylfa santaidd. Y mae y rhieni yn plethu dwylaw, ac yn wylofain, wedi colli y plant, gan ddywedyd, Beth a wnawn mwyach? y mae cysur ein bywydau wedi cilio, y mae cofio eu troion y ddoe, a hwythau yn y bedd heddyw, yn tori ein calonau. Trowch eich wynebau tua'r nefoedd, ebe y dyn newydd; y mae cysur y nef yn ddigon i wella holl adfyd y bedd. Y mae yr Arglwydd yn dywedyd fel y dywed Elcanah wrth Hannah, "Paham yr wyli? a phaham na fwytei? a phaham y mae yn flin ar dy galon? onid ydwyf fi yn well i ti na deg o feibion?" 1 Sam. i. 8. Ië, "yn rhagori ar ddeng mil" o bethau goreu y bywyd

hwn. Y mae Duw yn cymedroli ein llawenydd â galar duwiol, ac yn cymedroli ein galar â llawenydd nefol. Y mae yn troi ein llawenydd o greadur i lawenydd yn y Creawdwr. Y mae gweithrediadau y dyn newydd yn troi galar ar ol perthynasau yn alar am bechodau, galar am gyrph meirwon i alar am eneidiau meirwon perthynasau byw. Y mae gorhoffder am gyrph y plant yn cael ei gymedroli â galar am eu heneidiau anfarwol. O, y mae miloedd yn addoli cyrph eu plant, ac heb feddwl dim erioed am eu heneidiau. Nid ydynt yn arbed un drafferth i gasglu cyfoeth iddynt am amser byr, ac eto yn ddiofal am eu heneidiau am dragywyddoldeb. O ynfydrwydd! O warth! O greulonder! O Dduw, agor lygaid y wlad dywyll yma.

Y mae crefydd, fy nghyfeillion, yn ein cymedroli, wrth brynu, gwerthu, a thrin y byd yn ei holl gysylltiadau. Y mae hi yn myned gyda'r dyn i'r farchnad, y siop, y *counting-house*, ac yn cario yn y blaen fasnach â'r nefoedd beunydd, yn nghanol holl farchnadyddiaeth y byd hwn. "Canys gwell yw ei marsiandaeth hi na marsiandaeth o arian, a'i chynyrch hi sydd well nag aur coeth. Gwerthfawrocach yw hi na gemau, a'r holl bethau dymunol nid ydynt gyffelyb iddi. Hir-hoedl sydd yn ei llaw ddeheu hi; ac yn ei llaw aswy y mae cyfoeth a gogoniant. Ei ffyrdd hi sydd ffyrdd hyfrydwch, a'i holl lwybrau hi ydynt heddwch. Pren y bywyd yw hi i'r neb a ymaflo ynddi; a gwyn ei fyd a ddalio ei afael ynddi hi," Diar. iii. 14—18. Os ydym am ddianc rhag sugn-draethoedd a chreigydd, y mae yn rhaid i ni hwylio wrth y cwmpas newydd, y llyw newydd, a chymeryd pob peth yn *gargo*. Y mae yn rhaid i ni rwyfo yn y blaen o dan yr ystyriaeth bwysig fod peryglon ar bob llaw; cyfnewidioldeb y gwynt, a'r tywydd, pob peth o'n cwmpas yn ddarfodedig; tragywyddoldeb yn unig yn sefydlog.

4. Gwelwn a theimlwn bwysigrwydd gwaith y weinidogaeth Gristionogol. "Pwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?" Y mae yn rhaid i weinidogion yr efengyl fod yn "bob peth i bawb." Fy mrodyr, gwnewch eich gwaith yn onest a ffyddlon, fel y galloch roddi eich "cyfrif yn llawen, ac nid yn drist." Y mae eich gwobr yn y nefoedd, ac o'r nefoedd y mae yn rhaid i chwithau ei ddysgwyl; oblegyd fe allai mai erledigaeth fydd eich gwobr ar y ddaear yn fynych; er eich bod yn cyflawni gwasanaeth Duw yn gywir. Bydd llawer yn

eich galw yn ymyrwr, pan nad ydych ond yn cyflawni eich dyledswyddau priodol; ond peidiwch a gwneyd "cyfrif o ddim, nac o'ch einioes eich hunain chwaith." Ymdrechwch trwy y cwbl i "orphen eich gyrfa mewn llawenydd." Eich dyledswydd chwi yw rhybyddio pob sefyllfa. Y dyn tlawd, y dyn cyfoethog, y gwreng, y boneddig; y rhai sydd â gwragedd iddynt, a'r rhai sydd hebddynt; y rhai sydd yn wylo, a'r rhai sydd yn llawenhau, y rhai sydd yn meddu, a'r rhai nad oes ganddynt ddim; yr hen ar lan y bedd, y canol oed yn nghanol arfer y byd hwn, a'r ieuenctyd yn nerth eu pleserau cnawdol. Bydd yn angenrheidiol i chwi, fy mrodyr, i fod yn Barnabas ac yn Boanerges. Y naill i gysuro y rhai sydd yn wylo, a'r llall i rybyddio y rhai sydd yn llawenhau. Y mae yn ofynol fod genych dafod y dysgedig, i gynghori pob gradd, sefyllfa, ac oedran. Dysgu y rhai y mae gwragedd iddynt, i fyw megys hebddynt; y rhai sydd yn prynu, megys heb feddu; y rhai sydd yn llawenhau, megys heb lawenhau; a'r rhai sydd yn wylo, megys heb wylo. "Cynghora y rhai sydd yn oludog yn y byd yma, na byddo iddynt obeithio mewn golud anwadal, ond yn y Duw byw, yr hwn sydd yn helaeth yn rhoddi i ni bob peth i'w mwynhau; ar iddynt wneuthur daioni, ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da, bod yn hawdd ganddynt roddi a chyfranu; yn trysori iddynt eu hunain sail dda erbyn yr amser sydd ar ddyfod, fel y caffont afael yn y bywyd tragywyddol. Rhybyddiwch yr afreolus, dyddenwch y gwan eu meddwl, cyneliwch y gweiniaid, byddwch ymarhous wrth bawb," 1 Tim. vi. 17—19; Thes. v. 14. Rhybyddiwch y meddwyn; am fod yr amser yn fyr; rhybyddiwch y godinebwyr, rhybyddiwch yr holl annuwiolion; am fod yr amser yn fyr. Chwi fyddwch oll yn y farn cyn nemawr bellach, yn wrandawyr ac yn bregethwyr. Rhybyddiwch y rhagrithiwr; canys y mae yr amser yn fyr; fe ddaw i'r golwg bron yn union. Rhybyddiwch, ïe, ysgydwch y rhai sydd yn cysgu; y mae y byd bron yn myned ar dân; y mae yr amser yn fyr. Bloeddiwch wrth y rhai esmwyth arnynt yn Sïon, Y mae yr amser yn fyr, chwi fyddwch yn y man heb esmwythder na dydd na nos am dragywyddoldeb. "Y mae dull y byd hwn yn myned heibio;" y mae yn llawn bryd i chwi ddihuno, os ydych yn meddwl deffroi y tu yma i dragywyddoldeb.

Yn awr, fy nghyfeillion, dymunaf i chwi sylwi ar y ddau beth canlynol; yn 1. Beth yw cam-arfer y byd? Yn 2. Beth

yw ei arfer yn gywir a gwirioneddol? Y mae hwn yn bechadurus pan yr arferir ef, yn—

(1.) Yn Atheistaidd. Os na wedir Duw yn broffes gwedir ef gan y rhan fwyaf yn ymarferol, yn eu hyn â'r byd hwn. Y mae y dyn yn annghofio Duw: "n yw Duw yn ei holl feddyliau ef;" nid cymeradwy ganddynt gadw Duw yn eu meddyliau. Y maent mewn anystyriaeth fel yr anifeiliaid sydd yn eu cario i'r ffeiriau a'r marchnadoedd. Y gwahaniaeth mwyaf rhwng y dyn a'r anifail yw, fod y creadur dynol yn llawnach ei fol na'r creadur anrhesymol wrth ddychwelyd adref. "Y maent wedi llygru, yn chwedleua yn ddrygionus am drawsder; yn dywedyd yn uchel," Sal. lxxiii. 8. "Yn dywedyd, Pwy yw yr Arglwydd?" Yn lle bod trugareddau yn wydrau ac yn ffenestri i weled Duw trwyddynt, y maent yn cael eu gwneyd yn *shutters* i dywyllu y ffenestri; a chau Duw allan. Yn lle bod yn risiau i esgyn at ei orsedd, y maent yn cael eu defnyddio yn risiau i ddisgyn i lawr i'r pydew diwaelod. Dylent fod yn *loadstone* i'ch tynu at yr Arglwydd; yn lle hyny y maent yn cael eu gwneyd yn arfau i ymladd yn ei erbyn; felly, fy nghyfeillion, byddant yn y diwedd yn feini trymion am yddfau yr annuwiol i'w suddo am dragywyddoldeb. Nid oedd y dyn cyfoethog yn yr efengyl yn meddwl dim am Dduw, mwy na phe buasai heb fod; yn gweled yr un Duw mewn dim nes ydoedd yn ei weled yn uffern. Efe a agorodd ei lygaid yn Gehena, nid cyn hyny. Y maent yn awr yn agored led pen, a'r Duw cyfiawn a santaidd o'u blaen am dragywyddoldeb.

(2.) Cam-arferir y byd hwn trwy ei arfer yn eilun-addolgar. Y mae annghofio Duw fel Llywodraethwr y byd, a byw mewn anystyriaeth o hono, yn atheistiaeth ymarferol; ac y mae gwneyd y byd yn brif ddyben ac amcan, yn *eilun-addoliaeth.* "Canys yr ydych chwi yn gwybod hyn, am bob puteiniwr, neu aflan, neu gybydd, yr hwn sydd ddelw-addolwr, nad oes iddynt etifeddiaeth yn nheyrnas Crist a Duw," Eph. v. 5. Yr ydym yn gwaeddi yn erbyn delwau Pabyddol a Phaganaidd, a ninau ein hunain yn fwy o eilun-addolwyr na Phabyddion na Phaganiaid. Aur yw prif eilun Ynys Prydain; y mae y rhan fwyaf o'i phoblogaeth yn syrthio o flaen yr eilun hwn mwy na thair gwaith yn y dydd. Yr ydych, fe allai, yn tybied mai dianrhydedd a diraddiad yw eich galw yn eilun-addolwyr; y mae Duw ei hun yn eich galw felly, os ydych yn gwneyd y byd presenol yn brif ddyben. Y byd a Bachus

yw prif eilunod yr oes hon; y mae ganddynt fwy o ganlynwyr o'r haner na'r gwir a'r bywiol Dduw. Y mae temlau yr eilunod hyn, sef y masnachdai a'r tafarndai, yn llawn, tra y mae teml Duw y nefoedd yn wag. Y mae yn wir nad oes genym luniau gweledig yn ffurf duwiau dychymygol, wedi eu gosod i fyny, fel oedd gan Israel a chenedloedd eraill y byd; ond y mae genym dueddiadau a serchiadau tu fewnol, yn cofleidio a gwasanaethu yr eilunod hyn yn ddiwyd a ffyddlon bob dydd; a gwasanaeth y galon, fel y gwyddoch, yw y mwyaf llwyr a difrifol. Y mae gau-dduwiau yn cael gwasanaeth cywir a gwirioneddol, a'r gwir a'r bywiol Dduw yn cael ei wasanaethu yn ffugiol a rhagrithiol. Gwasanaeth gywir i dduw ffugiol, a gwasanaeth ffugiol i Dduw gwirioneddol. Yr ydym yn cam-arfer y byd, fy nghyfeillion, wrth ei wneyd yn dduw, a rhoddi gwasanaeth y gwir Dduw iddo ef. "Gwreiddyn pob drwg yw ariangarwch; yr hon, a rhai yn chwanog iddi, hwy a gyfeiliornasant oddiwrth y ffydd, ac a'u gwanasant eu hunain â llawer o ofidiau," 1 Tim. vi. 10. Ië, y mae y pechod hwn o garu y byd presenol i ormodedd, wedi gwneyd drwg mawr i'r da sydd yn y byd. Y mae Martha yn annghofio y rhan dda, "wrth drafferthu yn nghylch llawer o bethau." Y mae dysgleirdeb aur wedi dallu llygaid llawer o'r saint ar brydiau; yr edau melyn hwn wedi ymddyrysu am yr ysbryd, nes gwanychu gweithrediadau y grasusau, a chryfhau llygredigaeth y galon. Y mae y byd yn ysbeilio amser ein cymundeb â Duw, yn cau y dramwyfa i fyny, ac yn ei gwneyd yn anhawdd i ymwthio i'w bresenoldeb, gan gymaint yw y dorf o fwyniant a gofalon. Caledwaith ofnadwy yw tori trwy yr holl bethau hyn at orsedd gras. Y mae yn ofynol cael Samson mewn gras, ar ol diwrnod o elw mewn masnach, neu gysuron mawr mewn pethau gweledig, i ddyfod â'r holl galon at Dduw yn y nos. Llâwer sydd, wrth lwyddo yn y cnawd, yn colli yn yr ysbryd; enill llawer yn dymhorol, ac eto yn aflwyddo yn druenus yn yr ysbrydol. Y mae cyfoeth yn tlodi yr ysbryd; y mae miloedd yn cael eu tlodi bob dydd yn ysbrydol a thragywyddol gan gyfoeth y byd hwn: y mae haul llwyddiant tymhorol yn gŵyro ac yn diffrwytho tyfiant ysbrydol. Y mae yn taflu ymaith wisgoedd cyfiawnder, y rhai mewn adfyd ac aflwyddiant sydd yn glynu yn agosach. Y cyfryw yn unig sydd yn wir gyfoethog, nad yw eu grasusau yn cael eu rhwystro gan gyfoeth y byd. Y mae gweled merch Tyrus yn dyfod â rhodd, sef y cyfoethog, yn

mhlith pobl Dduw, yn beth lled ryfedd ac anaml. Ond dewch chwi, daw hyny yn beth cyffredin yn y mil blynyddoedd; ac yr wyf yn meddwl nad yw yr amser hwnw ddim yn mhell iawn, er mor dywyll y mae yn edrych yn awr. Bendigedig! y mae yn dechreu goleuo yn awr yn mhôn y gwynt; y mae y gwlaw bron a phasio, y mae y gauaf ar fyned heibio, y mae peth arwyddion haf yn ymddangos eisoes; y mae y blodau ar y ddaear; y mae yr adar yn dechreu canu yn y perthi; y mae llais y durtur yn y wlad. Gogoniant! "Merch Tyrus hefyd fydd yno ag anrhegion; a chyfoethogion y bobl a ymbiliant â'th wyneb. Dy feibion fydd yn lle dy dadau, y rhai a wnei yn dywysogion yn yr holl dir. Paraf gofio dy enw yn mhob cenedlaeth ac oes; am hyny y bobl a'th folianant byth ac yn dragywydd," Sal. xl. 12—27. Yr wyf yn cofio darllen am ryw frenin a wrthododd drysori aur, rhag iddo gwympo i gariad ag ef, a thrwy hyny syrthio islaw mawrhydi breninol. Yr oedd Julian yn dywedyd, yn rhagrithiol a dirmygus, mai yr achos ei fod yn ysbeilio y Cristionogion oedd i'w gwneyd yn barotach i fyned i mewn i deyrnas Dduw. Er nad oedd yn credu y peth ei hunan, y mae llawer o wir yn y dywediad. Cam-arfer y byd yn druenus y mae dynion, wrth feddwl nad ydyw wedi ei greu at un pwrpas ond i chwilio am aur ac arian. Y mae trysorau i'w cael yn y byd hwn sydd yn fwy gwerthfawr nag ef ei hunan; ïe, "yn well na miloedd o aur ac arian." O ynfydrwydd! O gamwedd! yw gwneuthur y byd hwn yn wrthddrych addoliad.

(3.) Y mae dynion yn cam-arfer y byd wrth ei ddefnyddio i borthi balchder. Y maent yn hyn nid yn gwneyd duw o'r byd, ond yn defnyddio y byd i wneyd eu *hunain* yn dduwiau. Y maent yn annghofio mai dynion ydynt yn addoli eu hunain, ac am i bawb eraill blygu iddynt hefyd. Annghofiodd Herod mai dyn ydoedd, yn swn y dyhirwyr a'r ffyliaid hyny yn gwaeddi, "Llais Duw ydyw;" ond fe ddysgodd yr Arglwydd iddo yn fuan mai dyn ydoedd, a dyn gwael hefyd; ac fe'ch dysg chwithau cyn hir, er eich gwae, os na ddysgwch trwy yr efengyl er eich cysur. Gellid meddwl fod llawer o bobl yn ystyried eu hunain uwchlaw dynion, o ran eu defnyddiau; bod ynddynt rhyw fetel mwy rhagorol na dynoliaeth. Nid pridd ydynt; y maent bron yn methu gosod eu traed ar bridd. O ynfydrwydd ofnadwy! Y mae llwyddiant yn beryglus; ychydig o ddynion all ei fwynhau heb fyned yn annuwiol, ac yn ffyliaid. "Cadw arnat rhag annghofio yr Arglwydd dy

Dduw, heb gadw ei orchymynion a'i farnedigaethau, a'i ddeddfau ef, y rhai yr ydwyf fi yn eu gorchymyn i ti heddyw; rhag wedi i ti fwyta, a'th ddigoni, ac adeiladu tai teg a thrigo ynddynt; a lluosogi o'th wartheg a'th ddefaid di, ac amlhau o'r hyn oll sydd genyt; yna ymddyrchafu o'th galon, ac annghofio o honot yr Arglwydd dy Dduw, yr hwn a'th ddyg di allan o wlad yr Aipht o dŷ y caethiwed," Deut. viii. 11, 14. O mor dueddol ydym i ymddyrchafu mewn balchder gyda llwyddiant! Y mae y byd yn suddo y meddwl i lawr mewn cybydd-dod, ac yn ei godi i fyny mewn balchder; yn gwneyd ffwl o'r dyn yn mhob rhyw fodd. Gweled dyn yn fawr yn y byd hwn, ac yn isel a gostyngedig o ysbryd sydd yn olwg rasol iawn. Eto y mae llawer, er nad ydynt yn meddianu ond ychydig neu ddim o'r byd, mor falch a Lucifer. O bechadurusrwydd, O ffolineb dyn! yn cam-arfer y pethau greodd Duw; yn eu troi o'u cwrs, ac yn groes i'w dyben. Y pethau hyn ddylai dy wneyd yn ymostyngar a diolchgar, trwy eu cam-arfer yn dy ddyrchafu i'r gwynt, a pheri i ti feddwl nad oes neb ar y ddaear, nac yn y nefoedd ychwaith, yn well ac yn uwch na thi dy hunan. O galon druenus, yn tynu gwenwyn allan o bob blodeuyn, ïe, yn troi gras pur i drythyllwch, a rhoddion goreu Duw mewn natur yn borthiant i lygredigaeth.

(4.) Yr ydys yn cam-arfer y byd mewn gwastraff ac afradlonrwydd. Y mae dynion yn gwneyd cam â'r byd yn eu hymwisgo, yn eu bwyta, ac yn eu hyfed. Y mae pethau y byd, trugareddau, cofiwch, yn cael eu gwneyd yn arfau annghyfiawnder. yn y cam-arferiad. Dystrywir yn *wholesale* pan nad yw yr amgylchiadau yn caniatau y fath beth; y bobl yn ehedfan uwchlaw eu sefyllfaoedd, o ganlyniad yn methu talu eu dyledion, a chyflawni a'u gofynwyr; y mae hyn yn gam-arferiad, ac yn groes i grefydd a dynoliaeth. "Na fyddwch yn nyled neb o ddim." Nis gellwch arfer trugaredd os byddwch yn bwyta, yn yfed, a gwisgo y cwbl eich hunain, a thros ben. Yr ydych yn gwneyd yn annheg â'r byd hwn; yr ydych yn lladrata rhan yr angenus, y weddw, a'r amddifaid. Gwnewch chwareu teg â'r byd; y mae y tlodion i gael peth o hono, a'r brain, a'r cwningod; ond yr ydych chwi am wastraffu y cwbl sydd genych, a chwaneg hefyd, heb feddwl am wneyd trugaredd a neb. Iawn-arfer y byd yw arbed, fel y byddo genych beth i'w gyfranu. Y mae miloedd yn awr mewn eisiau dirfawr o angenrheidiau y bywyd

hwn, fu yn gwastraffu yn ddiarbed, mewn gwisgo, bwyta, yfed, yn nghyda phob oferedd. O y meddwi dychrynllyd sydd yn awr yn ein gwlad! Y mae Cymru, a Lloegr hefyd am hyny, yn domen o feddwdod. Y mae yn syndod na bai Gweithiau Mynwy a Morganwg yn cael eu llosgi fel Sodom a Gomorrah â thân o'r nefoedd. Y Sabbath fel wythnos, y dydd fel y nos, y mae y tafarndai yn llawn o feddwon, a phob llygredigaeth yn eu nerth mewn cyflawn ymarferiad. "O Arglwydd, beth fydd diwedd y pethau hyn?" Gwrandewch; y mae Duw yn dyfod i'ch sobri yn fuan; y mae yr amser yn dechreu troi eisoes; byddwch mewn caledi yn fuan, yn methu cael angenrheidiau y bywyd hwn, chwaithach ymdroi mewn glythineb a meddwdod. Y wlad fwyaf wastraffus dan y nefoedd yw ein gwlad ni; a chwi gewch amser i ddarllen y pechod mewn llythyrenau mawrion yn y gosp sydd yn canlyn yn fuan iawn. Gwastraff yw y pechod; eisiau fydd y gosp. Y mae ein llawnder wedi achosi llawer o ddrwg; y mae Ynys Prydain wedi bod y cyfoethocaf yn y byd, a'r mwyaf pechadurus yn y byd hefyd. Y mae fel Sodom, yn feithrinfa pob llygredigaeth. "Ymenyn gwartheg, a llaeth defaid, yn nghyda brasder ŵyn, a hyrddod o rywogaeth Basan, a bychod, yn nghyda brasder grawn gwenith, a phur-waed y grawnwin a yfaist. A'r union a aeth yn fras, ac a wingodd; braseaist, tewychaist, pwyntiaist; yna efe a wrthododd Dduw, yr hwn a'i gwnaeth, ac a ddiystyrodd Graig ei iachawdwriaeth. Aberthasant i gythreuliaid, nid i Dduw," Deut. xxxii. 14—17. Hen arfer dynion yw troi trugareddau Duw i addurno temlau y diafol. Defnyddiodd Israel degwch Duw i borthi balchder calon lygredig, ac i ymdroi mewn ffieidd-dra. "Ti a ymddiriedaist i'th degwch, a phuteiniaist o herwydd dy enw, a thywelltaist dy buteindra ar bob cyniweirydd; eiddo ef ydoedd. Cymeraist o'th ddillad, a gwnaethost i ti uchelfeydd brithion, a phuteiniaist arnynt: y fath ni ddaw, ac ni bydd felly. A chymeraist dy harddwch o'm haur ac o'm harian, y rhai a roddaswn i ti, a gwnaethost i ti ddelwau gwŷr, a phuteiniaist gyda hwynt. Cymeraist hefyd dy wisgoedd o waith edau a nodwydd, ac a'u gwisgaist hwynt. Fy olew hefyd a'm harogl-darth a roddaist o'u blaen hwynt. Felly fy mwyd yr hwn a roddaswn i ti, yn beilliaid, ac yn olew, ac yn fêl, â'r rhai y'th borthaswn di, rhoddaist hyny hefyd o'u blaen hwynt, yn arogl peraidd. Fel hyn y bu, medd yr Arglwydd Dduw. Wele, hyn oedd anwiredd dy

chwaer Sodoma: balchder, digonedd bara, ac amlder o seguryd oedd ganddi, ac yn ei merched; ac ni chryfhaodd hi law yr angenog a'r tlawd. A hwy a ymddyrchafasant, ac a wnaethant ffieidd-dra o'u blaen; am hyny y symudais hwynt fel y gwelais yn dda," Ezec. xvi. 15—50. Fe wna Duw gospi balchder â darostyngiad; gwastraff ac afradlonrwydd ag eisiau. "Yn y dydd hwnw y tyn yr Arglwydd ymaith addurn yr esgidiau, y rhwydwaith hefyd, a'r lloerawg wisgoedd, y cadwynau, a'r breichledau, a'r moledau. Y penguwch, ac addurn y coesau, a'r ysnodenau, a'r dwyfronegau, a'r clust-dlysau; y modrwyau, ac addurn y trwyn, y gwisgoedd symudliw, a'r mentyll, a'r misyrnau, a'r crych-nodwyddau, y drychau hefyd, a'r lliain mein-wych, a'r cycyllau, a'r gynau. A bydd yn lle per-arogl, ddrewi; bydd hefyd yn lle gwregys, rwygiad; ac yn lle iawn-drefn gwallt, foelni; ac yn lle dwyfroneg, gwregys o sachliain; a llosgfa yn lle prydferthwch. Dy wŷr a syrthiant gan y cleddyf, a'th gadernid trwy ryfel," Esay iii. 18—25.

(5). Cam-arferir y byd wrth ei gymhwyso at gynaliaeth gwagedd. Y mae llawer o gynyrch ein teyrnas ni yn myned i gynal chwareuyddiaethau, dawnsio, rhedegfeydd dynion a cheffylau, a'r cyffelyb. Y mae dynion wrth y miloedd yn chwareu, a dawnsio eu hunain i uffern, bob blwyddyn. Yr ydych yn ymladd yn erbyn Duw â'i arfau ei hun; yr ydych yn sathru ei gyfreithiau, yn tori ei Sabbathau, yn cablu ei enw, dan bwyso ar ei drugareddau; yn derbyn bendithion oddiwrtho, a'u troi yn bicellau i'w saethu yn ol at orsedd yr Hollalluog. Yr ydych yn cilio dros berthi a chloddiau oddiwrth ddyledswyddau, ar gefn trugareddau; yn defnyddio ei fendithion i'w felldithio.

(6.) Cam-arferir y byd pan defnyddir ef i gyflawni gweithredoedd o greulonder tuag at y greadigaeth anrhesymol. Creulonder ofnadwy yw yr *horse-races*—rhedegfeydd ceffylau—*dog-fights*—roddi cwn i ymladd, a cheiliogod. Y mae yr ynys hon yn gruddfan ac yn crynu y fynyd hon o dan y llwyth trwm o greulonderau at y greadigaeth anrhesymol. Y mae y gwŷr mawr yn euog, ïe, *pob gradd* yn euog, yn wreng a boneddig. Nid oes man cyfan o'r pen i'r traed; pechodau porphoraidd yw pechodau ein gwlad ni. "Canys y creadur sydd wedi ei ddarostwng i oferedd; nid o'i fodd, eithr oblegyd yr hwn a'i darostyngodd," Rhuf. viii. 20.

(7.) Cam-arferir y byd trwy chwareuyddiaeth. Nid at

*gamblo* y mae Duw yn cynal y byd hwn; nid i ti chwareu ystranciau y gwnaethpwyd ef. Pen ffordd i ddinystr tymhorol a thragywyddol yw y cardiau, y *billiards*, chwareu pêl, bando, pel-droed, a phob peth o gyffelyb natur. Nid chwareu-fwrdd at *horse-races*, ymladdau, cardiau, *billiards*, a ffeiriau gwagedd yw creadigaeth Duw; cam-arferiad o honi ydyw yr holl bethau hyn. *Platform* i ddangos Duw yn ngwaed y groes yn cymodi y byd ag ef ei hun, ydyw; lle i chwi weled rhagorol fawredd ei ras tuag atom ni.

(8.) Cam-arferir y byd yn ei ddefnyddiad at annghyfiawnder a thrais. "Yn cysylltu tŷ at dŷ, ac yn cydio maes wrth faes, hyd oni byddo eisiau lle, ac y trigont hwy yn unig yn nghanol y tir," Esay v. 8. Y maent yn troi allan eu cymydogion tlodion, y rhai nis gallant amddiffyn eu hunain; yn chwenychu y winllan, ac yn ei mynu hi trwy rym. Y maent yn defnyddio eu cyfoeth yn arfau annghyfiawnder i bechod; i ddarostwng, i wasgu, i ymddial, nes trywanu y gorthrymedig â llawer o ofidiau, ac yn gwneyd gofidiau gwaeth iddynt eu hunain gyda llaw, erbyn rhyw ddydd. Fe wna Duw eu cospi yn eu *coin* eu hunain am hyn; nis diangant rhag barn y Goruchaf. "Y rhai sydd yn ewyllysio ymgyfoethogi, sydd yn syrthio i brofedigaeth a magl, a llawer o chwantau ynfyd a niweidiol, y rhai sydd yn boddi dynion i ddinystr a cholledigaeth," 1 Tim. vi. 9.

(9.) Canlyniad naturiol i gam-arferiad o'r byd hwn, yw gofidiau presenol a dyfodol. Fe ddybena y llawenydd cnawdol mewn gofid; fe dry y pleser yn boen, y gwledda yn ymprydio, llawnder yn angen, chwareu yn wylofain, a rhincian danedd. Och! y mae miloedd yn ymyl y gawod dragywyddol o dân a brwmstan, mor ddifeddwl am angau a barn a'r anifeiliaid; y maent fel pe byddent i fyw byth yn y byd hwn. Y maent yn ceisio troi amser yn barhad tragywyddol yn y byd hwn, a dyddimu tragywyddoldeb mewn byd dyfodol. Ond dyma larwm yn y testun. Clywch: "Y mae yr amser yn fyr; y mae dull y byd hwn yn myned heibio." Y mae y dull presenol i gyfnewid a myned heibio. Y mae y chwareuyddiaeth, y digrifwch cnawdol, yr *horse-races*, y *plays*, y cwn hela, y dawnsiau, y ffeiriau gwagedd, a'r *masquerades*, i ddybenu am byth yn angau. Chwi gewch weled y bydd y ffasiynau wedi newid yn uffern. "Cyflog pechod yw marwolaeth." Diwedd y pethau hyn yw angau tragywyddol.

Marwolaeth, ac wedi hyny barn, ac wed'yn uffern; dyma actiau olaf y *play* hyn. Mewn *plays* eraill yn gyffredin, *tragedy* yw y cyntaf, *comedy* wed'yn. Ond yma chwareu pechod, *comedy*, yn gyntaf; *tragedy*, angau a chosp tragywyddol, yn olaf. O Dduw, pa beth a ddywedaf wrth y bobl yma? Gwrandewch! y mae y *play* olaf yn yr ymyl; yr ydych yn chwareu ar drothwy Gehena yr awr hon; yr ydych yn dawnsio ar *drap door* uffern, bydd wedi agor a'ch llyncu yn fyw i'r pwll diwaelod yn fuan, os na symudwch oddiyno. Ciliwch, y mae yr amser yn fyr; y mae dull y byd hwn yn myned heibio. Foneddigion, y mae yr *horse-race* olaf bron ar ben, y mae yr amser yn fyr; y mae dull y byd hwn yn myned heibio. Os ydwyf yn dweyd yn nghlyw rhyw rai sydd yn ymfalchio mewn dillad gwychion, ystyriwch y peth yn ddifrifol; y mae y *suit* olaf yn agos; y bedd, y pryfed, llygredigaeth, a thywyllwch fel y fagddu. Y mae yr amser yn fyr; y mae dull y byd hwn yn myned heibio. Y mae y weithred ddiweddaf o annhrugarogrwydd ac annghyfiawnder yn agos; y mae yr amser yn fyr; y mae dull y byd hwn yn myned heibio. Dafarnwyr, y mae yn bryd i chwi atal y *tap;* y mae yr amser yn fyr. Gyfreithwyr, gwnewch frys i orphen *conveyance* y *freehold estate*, onide bydd dull y gyfraith wedi newid, fel na fydd yn werth dim. Y mae yr amser yn fyr; y mae dull y byd hwn yn myned heibio. Y rhai sydd yn planu, gwnewch frys, onide nis bwytewch y ffrwyth; y mae yr amser yn fyr, y mae dull y byd hwn yn myned heibio. Y rhai sydd yn adeiladu, gwnewch ymdrech i orphen, onide ni chewch gyfaneddu; y mae yr amser yn fyr, y mae dull y byd hwn yn myned heibio. Fy nghyfeillion, mae y ffasiwn yn mron newid. Annuwiolion, cewch ffasiwn newydd yn y man; wylo yn lle crechwen, rhincian danedd yn lle chwerthin, tywyllwch yn lle goleu, tân yn lle dwr, mwg tân yn lle awyr iachus, tragwyddoldeb maith yn lle amser byr. Y mae dull y byd hwn yn myned heibio, a dull y byd a ddaw i barhau byth. Y mae cyfoeth y byd hwn yn rhydu yn awr, am nad yw yn cael ei gymhwyso yn briodol at achos yr Arglwydd. Y mae llawer yn gwneyd ewyllys grefyddol iawn, pan y gwelir nad oes dim arall i fod ond gadael y byd hwn, er byw yn gybyddlyd at grefydd a phob achos daionus wrth fyned drwyddo. Ceisio gwneyd iawn yw hyn am fywyd cybyddlyd, ag ewyllys haelionus wrth farw. Nid oes gan Dduw ddiolch am y fath aberth.

Bellach, fy nghyfeillion, rhaid i ni sylwi ychydig pa fodd i ddefnyddio y byd hwn heb ei gam-arfer.

(1.) Yr ydym yn ei arfer heb ei gam-arfer pan yr ydym yn ei ddefnyddio i rodio gyda Duw, a'i wasanaethu fel y dyben penaf. Yn defnyddio y trugareddau fel cynifer o ffyn, i wneyd ysgol i ddringo i'r nefoedd; a chynorthwyo eraill i ddringo hefyd. Yn eu gwneyd yn ddrychau i weled wyneb Duw, yn *loadstone* i'w dynu yn nes atom. Y mae y dyn yn gweled trwy drugareddau y bywyd hwn ddaioni y Rhoddwr Anfeidrol, nes y mae yn tynu at Dduw, a Duw ato yntau. Myfi, yr hwn nad wyf yn haeddu dim, yn cael cymaint; myfi, sydd yn haeddu bod yn uffern, yn cael byw ar y ddaear, a chenyf obaith byw byth yn y nefoedd. O diolch; y mae y teimlad hwn yn gwneyd fy enaid yn hwylus i ganmol, ac yn peri i mi blygu ger ei fron yn ddiorchest. Y mae pethau amser, pan yr arferir hwynt yn briodol, yn "gweithredu tragywyddol bwys gogoniant i ni."

(2.) Arferir y byd hwn heb ei gam-arfer, pan yr arferir ef o dan yr ystyriaeth mai yr Arglwydd yw Llywodraethwr a Threfnwr y cwbl. "Holl drigolion y ddaear a gyfrifir megys yn ddyddim: ac yn ol ei ewyllys ei hun y mae yn gwneuthur â llu y nefoedd, ac â thrigolion y ddaear; ac nid oes a atalio ei law ef, neu a ddywed wrtho, Beth yr wyt yn ei wneuthur?" Dan. iv. 35. Y mae gan y crochenydd allu i ffurfio y clai yn ol ei ewyllys, ac i ateb ei ddybenion. "Pwy wyt ti yr hwn a ddadleui yn erbyn Duw? A ddywed y peth ffurfiedig wrth yr hwn a'i ffurfiodd, Paham y'm gwnaethost fel hyn? Onid oes awdurdod i'r crochenydd ar y pridd-gist, i wneuthur o'r un telpyn pridd un llestr i barch, ac arall i anmharch?" Rhuf. ix. 20, 21. Trugareddau Duw yw pob peth y byd hwn, a dylid eu defnyddio i'w ogoniant: ac fel y mae y cwbl yn rhoddion rhydd, bydd rhaid i ni eu rhoddi i fyny yn ewyllysgar pan y gelwir arnom. Benthyg ydynt i ni, Duw sydd â gwir ditl iddynt. Y meddiant sydd genym yn awr mewn bywyd, iechyd, cyfeillion, a phob peth oll, sydd raid i ni roddi i fyny yn fuan; ond defnyddiwn hwynt, tra y maent yn cael eu parhau, at ogoneddu ei enw, a phan y gelwir am danynt, ymostyngwn i'w benarglwyddiaeth. Pan y mae yr Arglwydd yn rhoddi, y mae Job yn bendithio, a phan y mae yn cymeryd ymaith, y mae yn melldithio; nac ydyw, y mae yn bendithio pan y mae yn cymeryd ymaith hefyd. Canys y mae yn cydnabod nad ydyw efe yn cymeryd ymaith

ddim ond yr eiddo ei hun. Dyma gyfoeth, iechyd, perthynasau, a chysuron; cânt eu cymhwyso oll at wasanaeth yr Arglwydd; ïe, a llawer ychwaneg; caiff bywyd ei aberthu ar allor y nefoedd os bydd galwad. Nid wyf fi ond *tenant at will*, yr Arglwydd yw y gwir berchenog; am hyny dylai gael ei wasanaethu â'r holl dda. Y mae y galon rasol yn gwybod fod yn anmhosibl gwneyd cymaint o elw o'r byd hwn a thrwy ei roddi i fyny yn ewyllysgar wrth alwad Duw. Yr oedd yn anmhosibl i Mair *ffeindio* cystal marchnad i'w henaint a'i arllwys yn rhwydd ar ben yr Iesu.

(3.) Yr ydym yn arfer y byd heb ei gam-arfer, pan y mae yn ail-beth, a phethau enaid a byd tragywyddol yn flaenaf. Nid i'r dyben o gasglu cyfoeth y daethom i'r byd hwn, ond i enill cyfoeth ysbrydol a thragywyddol. "Eithr yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg. Llafuriwch, nid am y bwyd a dderfydd, eithr am y bwyd a bery i fywyd tragywyddol, yr hwn a ddyry Mab y dyn i chwi. O herwydd paham yn hytrach, frodyr, byddwch ddiwyd i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr: canys tra fyddoch yn gwneuthur y pethau hyn, ni lithrwch chwi ddim byth," Mat. vi. 33; Ioan vi. 27; 2 Pedr i. 10. Bywyd tragywyddol yn gyntaf, y bywyd hwn wedi hyny.

(4.) Yr ydym yn arfer y byd heb ei gam-arfer pan nad ydym yn ymddiried ynddo. Pan nad ydym yn ymddiried ynddo yr ydym yn cael y mwynhad helaethaf o hono. Ymddiriedwch yn hollol ac yn gyfangwbl yn Nuw, fe ddaw y creadur; ond os ymddiriedwch yn y creadur ni ddaw Duw, eithr cilia oddiwrthych. Yr oedd gan Asa fyddin o ddim llai na phump cant a phedwar ugain o filoedd, eto yr ydoedd yn edrych arnynt fel dim, heb Dduw gydag ef. Mae yn ymddiried yn Nuw yn gwbl yn mhresenoldeb y cryfder daearol mwyaf. "Ac Asa a waeddodd ar yr Arglwydd ei Dduw, ac a ddywedodd, O Arglwydd, nid yw ddim i ti gynorthwyo, pa un bynag ai gyda llawer ai gyda'r rhai nad oes ganddynt gryfder: cynorthwya di ni, O Arglwydd ein Duw; canys pwyso yr ydym ni arnat ti," 2 Cron. xiv. 11. Y mae Jehosaphat hefyd yn pwyso ar Dduw, nid arno ei hun, ac yn myned allan yn ei nerth ef, ac nid yn nerth ei fyddinoedd. "O ein Duw ni, oni ferni di hwynt?" eb efe; "canys nid oes genym ni nerth i sefyll o flaen y dyrfa fawr hyn sydd yn dyfod i'n herbyn; ac ni wyddom ni beth a wnawn; ond arnat ti y mae

ein llygaid," 2 Cron. xx. 12. Y mae yn anhawdd ymddiried yn Nuw mewn eisiau a chyfyngderau mawrion, ond y mae yn llawer mwy anhawdd mewn llawnder a llwyddiant. Gweithred ddewr o eiddo ffydd oedd yn Job, pan dywedodd, "Pe lladdai efe fi, mi a ymddiriedaf ynddo;" ond mwy ffydd yw gallu ymddiried yn nghanol bywyd pan y mae cwpan pleser yn mron llifo trosodd; ymddiried yn Nuw ac nid yn y cwpan. Pan y byddo yr hwyliau yn llawn o'r *trade wind* ac yn nghanol y môr mawr, nid ydyw y morwyr yn meddwl llawer am *bilot;* a phan y mae genym ninau bob peth y byd hwn o'n cwmpas, y mae yn gamp i edrych arnynt fel pethau annigonol, ac ymddiried yn Nuw yn hollol, a phwyso arno yn gyfangwbl. Gwneyd hyn yw *actio* ffydd yn y radd uchaf. Pan y bydd creaduriaid yn amlhau, cyfoeth yn cynyddu, cysuron yn lluosogi, eto, yn nghanol y cwbl, pwyso ar Dduw yn unig, efe oll yn oll, a phob peth arall yn ddim, sydd orchwyl teilwng o ffydd Abraham.

(5.) Yr ydym yn arfer y byd heb ei gam-arfer pan yr ydym yn ei fwynhau yn ei berthynas a'r Creawdwr. Yr ydym yn profi cysuron y bywyd *hwn* yn felus; eithr y mae Duw, y ffynonell fendigedig, yn anfeidrol felusach. Am hyny pa fwyaf o flas y ffynon fyddo ar y ffrydiau, goreu oll ydynt. Y mae ychydig o flas Creawdwr ar y creadur, blas y nefoedd ar y ddaear, yn gwella y cwbl yn annhraethol. Nid yw creadur heb flas Creawdwr arno yn werth dim; y mae yn poeni yn fwy na chysuro. Cymaint o flas Duw yr ydych yn ei gael yn y creadur sydd o wir gysur ynddo. Y mae un Duw yn well na'r holl greaduriaid sydd yn deilliaw o hono. Y mae yn wir fod y pethau a welir yn arwyddion ei ddaioni; ond beth ydynt ato ef ei hun? At wedd ei wyneb grasol nid ydynt ond megys cregin. Llewyrch ei wyneb yn tywynu ar achos tragywyddol dyn sydd fywyd o feirw. Gogoniant! dyma y perl diddiwedd. Gall Esau dywedyd fod ganddo ddigon o bethau y bywyd hwn; eithr rhoddwch Dduw i mi, a gwaeddaf yn fuddugoliaethus gyda Jacob, "Y mae genyf fi bob peth," er na fyddai genyf ddim o'r bywyd hwn. Fy enaid, paid a sychedu llawer am roddion ei law aswy, eithr pethau ei ddeheulaw. Llawn-digonir fi â brasder dy dŷ, ac ag afon dy hyfrydwch dioda fi, Sal. xxxvi. 8. Gall pethau y byd hwn eich trosglwyddo at y pethau tragywyddol; nid ydynt yn wrthddrychau i chwi bwyso arnynt, ynddynt eu hunain, ond defnyddiwch hwynt i'ch trosglwyddo i'r creigydd

yr ochr draw. Y mae y byd hwn fel y pysgodyn hwnw, yn y brys mwyaf i daflu Jonah i dir sych. Ni orphwysodd nes ei gael i ddyogelwch. Y mae y byd yn was da, ond yn feistr gwael. Efe a'ch gwasanaetha ond i chwi wasanaethu Duw; efe a'ch cynorthwya at y Creawdwr; ymddiriedwch yn Nuw, chwi gewch *bassage* ato trwy y byd yma yn rhyw fodd. Os bydd yn arw, peidiwch a gofalu llawer am hyny, canys y mae dyogelwch yn sicr; cewch gyrhaedd yr hafan ddymunol heb fyned yn ddrylliau; y mae yr Arglwydd wrth y llyw, ac efe sydd yn llywodraethu y gwynt a'r môr.

Yr wyf yn cofio darllen am un dyn yr hwn a syrthiodd dros y bwrdd i'r môr mawr pan oedd y llong mewn ystorm enbyd; ond yn rhagluniaethol yn lle suddo i waelod y môr, disgynodd ar gefn *dolphin*. Yn ddisymwth, dyma y *dolphin* yn nofio ymaith hyd y gallai mewn syndod a braw, y mae yn ddigon tebyg, ac ar ol rhyw gymaint o amser cyrhaeddodd dir, dadlwythwyd ef o'i faich, ac achubwyd bywyd y dyn. Cafodd y dyn hwn ddiangfa trwy ddisgyn ar gefn y *dolphin;* achubwyd Jonah trwy i'r pysgodyn ei lyncu; eithr y mae yr un dyben yn cael ei gyrhaeddyd trwy wahanol ffyrdd,—achub y bywyd. *Outside passenger* oedd y dyn ar gefn y *dolphin; inside passenger* oedd Jonah. Ond pa wahaniaeth, fy nghyfeillion, pa un ai *outside passenger* neu *inside passenger?* cyrhaedd yr hafan yw y pwnc: *safe ashore* am dragywyddoldeb. Bendigedig, y mae ffordd i deyrnas Dduw, er trwy "lawer o orthrymderau." Y mae y byd yn burion i fod yn *bassage*, eithr y mae yn rhaid cael Duw i fod yn drigfan tragywyddol; yr hwn yn unig all lanw ein holl raid ni, a'n "cyflawni oll yn oll." "A'th gynghor y'm harweini; ac wedi hyny y'm cymeri i ogoniant," Sal. lxxiii. 24.

(6.) Yr ydym yn ei arfer heb ei gam-arfer, pan yr ydym yn gallu tynu ein cysuron o'r Arglwydd yn yr amddifadrwydd o hono. Pan y mae y pydew yn sych yn gallu tynu dwfr o'r ffynon; fel Job, yn ngwyneb fod pob peth yn marw, yn llawenhau a gorfoleddu mewn Prynwr byw. Byddwch feirw i gyd; yr holl ddefaid, camelod, asynod, a phob peth arall; ond i mi gael cadw fy Mhrynwr yn fyw, byddaf finau byw yn oes oesoedd heb neb o honoch. Gogoniant! Nid *speculation* penboeth yw hyn, cofiwch, ond gwirionedd sylweddol ac ymarferol. Y mae "cwmwl o dystion" ar y pwnc hwn wedi ei "osod o'n hamgylch; y rhai trwy ffydd a oresgynasant deyrnasoedd, a wnaethant gyfiawnder, a gawsant addewidion,

a gauasant safnau llewod, a ddiffoddasant angerdd y tân, a ddiangasant rhag min y cleddyf; a nerthwyd o wendid, a wnaethpwyd yn gryfion mewn rhyfel, a yrasant fyddinoedd yr estroniaid i gilio," Heb. xi. 34, 35. Nid oedd ganddynt ddim i ymddiried a rhoddi eu pwys arno ond Duw; ac yr oedd efe yn ddigon heb ddim arall, chwi welwch. Habacuc, y mae y ffigysbren heb flodeuo eleni; "ni bydd ffrwyth ar y gwinwydd, gwaith yr olewydd a balla, a'r maesydd ni roddant fwyd; torir ymaith y praidd o'r gorlan, ac ni bydd eidion yn y beudai;" dyma ddiwrnod y cewch chwi ei weled yn fuan; y coedydd heb ffrwyth, wedi crino i chwi am byth; y beudai heb eidionau, y corlanau heb ddefaid, ïe, pob peth y byd hwn yn sych, pob cell yn wag, pob ffynon yn ddiddwfr. Y mae rhyw olwg felly ar bethau yn fynych wrth fyned trwy y byd hwn, cyn yr amser y byddwch o angenrheidrwydd yn ffarwelio â'r cwbl. A ellwch chwi yn wyneb yr amgylchiadau hyn fyw ar Dduw heb y byd hwn? a ellwch chwi dynu dwfr o'r ffynon pan y mae y ffrydiau yn sychu? a ellwch dynu ffrwyth oddiar bren y bywyd pan y mae yr olewydd yn pallu? a ellwch orfoleddu fel Habacuc yn yr Arglwydd, a bod yn hyfryd yn Nuw eich iachawdwriaeth? Hab. iii. 17, 18. Eled y byd yn ddrylliau; canys yr wyf yn credu mai y diwrnod y collaf y cwbl o hono y caf feddianu "pob peth."

(7.) Yr ydym yn arfer y byd hwn heb ei gam-arfer, pan yr ydym yn cymedroli ein hunain ynddo. Meddienwch eich eneidiau mewn amynedd, yn nghanol terfysgiadau y bywyd hwn; bydd wedi myned heibio yn fuan bellach. Edrychwn ar y byd fel pe na byddai; ein perthynasau megys pe na byddont; mewn cystuddiau trymion, megys heb wylo; mewn llwyddiant, megys heb lawenhau; yn meddu llawer, ac megys heb feddianu dim. Nid bod heb geffylau, gwartheg, a defaid, wedi i chwi eu prynu; eithr cymedrolwch eich serchiadau tuag atynt. Yn dlawd, ac yn meddianu pob peth; yn gyfoethog, ac megys heb ddim genych. Edrychwch ar y byd gyda dibrisdod santaidd; defnyddiwch hwynt, ond peidiwch a'u caru. "Minau braidd na lithrodd fy nhraed: prin na thripiodd fy ngherddeddiad. Canys cenfigenais wrth y rhai ynfyd, pan welais lwyddiant y rhai annuwiol. Canys nid oes rhwymau yn eu marwolaeth; a'u cryfder sydd heini. Nid ydynt mewn blinder fel dynion eraill; ac ni ddialeddir arnynt hwy gyda dynion eraill. Am hyny y cadwynodd balchder hwynt, ac y gwisg trawsder am danynt fel dilledyn. Eu

llygaid a saif allan gan frasder; aethant dros feddwl calon o gyfoeth. Y maent wedi llygru, yn chwedleua yn ddrygionus am drawsder, yn dywedyd yn uchel. Mor ynfyd oeddwn, ac heb wybod. Hyd onid aethum i gysegr Duw: yna y deallais eu diwedd hwynt. Minau nesâu at Dduw sydd dda i mi," Sal. lxxiii. Meddienwch faint a fynoch o'r byd hwn, eithr peidiwch a gadael i'r byd eich meddianu chwi. Yr ydych yn gwneyd rhy fach mewn pethau nefol, a gormod mewn pethau daearol; newidiwch y ffasiwn, gwnewch mwy yn y nefol, a llai yn y daearol. Y mae y byd hwn i'w arfer, nid yn unig yn ddynol, ond hefyd yn Gristionogol. Y mae llawer yn ei arfer yn ddieflig, rhai yn ddynol, ambell un yn Gristionogol. Gristionogion, y mae yn rhaid i chwi fod yn Gristionogol yn eich arferiad a'r byd hwn, onide nid ydych yn Gristionogion mewn dim. Nid ydyw yn ddigon i ddianc rhag ei lygredigaeth, yn yr arferiad satanaidd o hono, ac nid yw yn ddigon ei ddefnyddio yn unig fwyd, a diod, a dillad, yr arfer anifeilaidd o hono; canys nid ydych yn well na cheffylau, os nad ydych yn gwneyd rhyw beth heblaw hyn: y maent hwy yn ei ddefnyddio felly. Rhaid i chwi ymgodi uwchlaw diafol, uwchlaw yr anifail, uwchlaw y dyn bydol, ac actio y sant, yr angel, a'r seraph yn eich trafodaeth â'r byd presenol. Amcenwch, fy nghyfeillion, trwy ymarferiad nefol â'r byd, i droi yr anialwch hwn yn baradwys, yr uffern uchod hyn, yn nefoedd isod; yr hen nefoedd a daear i nefoedd a daear newydd, yn lle i gyfiawnder gartrefu. Gweddiwch, cyfrenwch, argraffwch Fiblau, cyneliwch y weinidogaeth, danfonwch genadon i bedwar chwarter y byd, adeiledwch gapelau, trowch *mosques* y Mahometaniaid, eglwysdai y Pabyddion, a holl demlau yr eilunod, yn un deml fawr i'r gwir a'r bywiol Dduw. Defnyddiwch eich arian at ddychwelyd y werin o fod yn anifeiliaid, yn ddynion; ïe, o fod yn gythreuliaid i fod fel saint ac angylion. Defnyddiwch bethau y byd hwn i wneyd cadwynau i rwymo satan: plethwch y copr, yr arian, a'r aur yn nghyd, a ffurfiwch gadwyn dair-cainc i glymu diafol wrth y *post.* Defnyddiwch ef fel picish (*pick-axe*, cyfegydd) i fyned o dan sylfaen Rhufain, Paganiaeth, a Mahometaniaeth; i daro y delwau i lawr, dychwelyd yr hen genedl trwy dynu y muriau tewion yn ganddryll. Arferwch y byd i droi y cleddyfau yn sychau, i ddwyn cyflawnder y cenedloedd i mewn, i guro pechod a thrueni allan o'r greadigaeth, a gwneyd y ddaear oll yn un Eden gyffredinol. Arferwch y byd i droi pob peth

allan o lywodraeth ynddo, ac adferwch ef yn ol i'w wir Berchenog, "fel y byddo Duw oll yn oll." Bendigedig! y mae gobaith cael gweled y byd hwn wedi ei droi wyneb i waered. Cymanfaoedd yn lle gŵyl mabsantau, salmau a hymnau yn lle maswedd, capelau yn lle tafarndai, sain cân a moliant yn mhyrth merch Sïon yn lle gwaeddi yn yr *horse-races*, ac ar ol cwn-hela. Yn awr, gadewch i ni ystyried y pethau canlynol, heb ba rai nis gallwn arfer y byd hwn yn grefyddol.

1. Rhaid gwneuthur gair Duw yn unig ffynon ein holl gysuron. Y mae fy holl ffynonau ynot ti, ac y mae fy holl ffrydiau yn dylifo o honot ti. "Pob rhoddiad daionus a phob rhodd berffaith oddiuchod y mae, yn disgyn oddiwrth Dad y goleuni, gyda'r hwn nid oes gyfnewidiad na chysgod troedigaeth," Iago i. 17. Oddiuchod y mae pob rhodd sydd yn dyfod i'r byd hwn; nid yn unig rhoddion ysbrydol, gras a gogoniant, ond hefyd rhoddion tymhorol, bywyd, iechyd, cysuron o bob natur. Nid oes genym ddim ond a dderbyniasom, ac ni dderbyniasom ddim o un man ond oddiuchod. "Yr hwn sydd yn helaeth yn rhoddi i ni bob peth i'w mwynhau." "Yr Arglwydd a roddodd," ebe Job; efe roddodd y cwbl; y plant, y cyfoeth, a'r anrhydedd; ïe pob peth oll. Nid o'r dwyrain, na'r gorllewin, y gogledd, na'r deheu; oddiyma nac oddiyna, oddiwrth y dyn hyn neu y dyn arall, trwy deilyngdod y naill na'r llall y mae trugareddau yn dyfod, eithr Duw o'i drugaredd sydd yn rhoddi y cwbl. Cofiwch, os ydych yn llwyddo yn eich masnach, mai Duw sydd yn bendithio; nid eich sel chwi eich hunain sydd yn ei achosi. "Nid oedd penaeth y carchardy yn edrych ar ddim oll a'r a oedd dan law Joseph, am fod yr Arglwydd gydag ef; a'r hyn a wnai efe yr Arglwydd a'i llwyddai," Gen. xxxix. 23. Gall y dysgyblion bysgota trwy y nos, eithr nid ydynt yn dal dim nes y mae Crist yn dyfod atynt: "Bendith yr Arglwydd sydd yn cyfoethogi." Nid gwiw i ni ymffrostio fel pe baem heb dderbyn. Canmoled eraill eu talentau, eu doethineb, a'u diwydrwydd; ond mi a ymddiriedaf yn yr Arglwydd, myfi a glodforaf ei enw bendigedig am ei holl ddoniau i mi. Cynghorwyd hen ffermwr unwaith i roddi diolch i Dduw am gynyrch rhyfeddol y flwyddyn hono; ond dywedodd, Y mae yn well genyf ddiolch i'r *cart* gariodd y trwsiad. Fel y ffermwr y mae y rhan fwyaf yn byw, gan feddwl nad oes dim fyno Duw â dim yn y byd hwn. Y mae yn rhaid i'r Cristion beidio dywedyd yn ei galon, "Fy nerth fy hun, a chryfder fy

law, a barodd i mi y cyfoeth hwn. Ond cofia yr Arglwydd dy Dduw; oblegyd efe yw yr hwn sydd yn rhoddi nerth i ti i beri cyfoeth." "Llefarodd y brenin a dywedodd, Onid hon yw Babilon fawr, yr hon a adeiledais i yn frenindy yn nghryfder fy nerth, ac er gogoniant fy mawrhydi? A'r gair eto yn ngenau y brenin, syrthiodd llef o'r nefoedd yn dywedyd, Wrthyt ti frenin Nebuchodonosor y dywedir, Aeth y freniniaeth oddiwrthyt; a thi a yrir oddiwrth ddynion; a'th drigfa fydd gyda bwystfilod y maes: â gwellt y'th borthant fel eidionau, a chyfnewidir saith amser arnat, hyd oni wypech mai y Goruchaf sydd yn llywodraethu yn mhreniniaeth dynion, ac yn ei rhoddi i'r neb y myno." "Pwy sydd yn gwneuthur rhagor rhyngot ti ac arall? a pha beth sydd genyt a'r nas derbyniaist? ac os derbyniaist, paham yr wyt ti yn gorfoleddu, megys pe bait heb dderbyn?" Deut. viii. 17, 18; Dan. iv. 30—32; 1 Cor. iv. 7.

2. Gan fod y cwbl o Dduw, cam-arferiad fydd os na ddefnyddir y cwbl erddo. Y pethau y mae efe yn eu troi yn gysuron atom ni, a ddylent gael eu dychwelyd yn ol yn ogoniant iddo ef. Efe yw y cyntaf, ac efe gaiff fod y diweddaf; efe yw yr Alpha yn ei roddion, efe hefyd gaiff fod yn Omega yn ein mawl; efe yw ffynonell fy nhrugareddau, efe gaiff fod yn ganolbwynt a dyben fy ngwasanaeth; ac fe gaiff trysorau y ddaear eu defnyddio genyf i gyrhaedd y dybenion goruchel hyn. Yr ydym yn arfer y byd yn briodol pan yr ydym yn ei droi i ogoniant y Creawdwr. Y mae efe wedi gwneyd pob peth er ei fwyn ei hun, ac er datgan ei ogoniant. Dylem ninau ymgyrhaedd yn ein holl ffyrdd at yr un dyben, sef rhoddi gogoniant iddo. Dylem yn ein bwyta, yfed, gwisgo, gweithio, masnachu, ymgais at gyfeirio y cwbl yn ogoniant i Dduw. Yr ydych i'w ogoneddu yn eich llawenydd, yn eich gofidiau, yn eich prynu, ac yn eich gwerthu. "Canys er gwerth y prynwyd chwi: am hyny gogoneddwch Dduw yn eich corph, ac yn eich ysbryd, y rhai sydd eiddo Duw," 1 Cor. vi. 20. Yr ydych i weithio i Dduw wrth drin y byd, a'i wasanaethu â'r byd hwn. Y mae yn rhaid i chwi fod yn weithgar ac ymroddgar mewn masnach, fel y galloch drwy hyny ogoneddu yr Arglwydd. Nid yn ddiog mewn masnach; nid yn ddiogyn yn ymlusgo, yn rhy bwdr i ddim, yn warth i Gristionogaeth, yn lle bod yn gogoneddu Duw yn eich cyrph, ac yn eich ysbryd. Yr oedd Adda i fod yn llafurus a diwyd yn Mharadwys; yr oedd wedi ei greu yn arddwr. Y

mae diwydrwydd gyda'r byd yn angenrheidiol fel y gallom gynal ein teuluoedd yn anrhydeddus, i ogoniant yr Arglwydd; oblegyd yr hwn nid yw yn "darbod dros yr eiddo, ac yn enwedig ei deulu, efe a wadodd y ffydd, a gwaeth yw na'r di-ffydd," 1 Tim. v. 8. Felly ein dyledswydd yw prynu, gwerthu, gweithio â'n dwylaw neu ein penau, fel y byddom yn anrhydedd i Dduw yn nygiad ein teuluoedd i fyny.

Yr ydym yn ddeiliaid dau fyd, yn weithwyr yn hwn, ac yn etifeddion o'r hwn a ddaw; felly y mae yn rhaid i ni gael angenrheidiau i fyned trwy hwn i'r etifeddiaeth dragywyddol. Y mae diwydrwydd yn angenrheidiol hefyd fel y gallom fod yn gyfiawn tuag at ein gofynwyr, ac yn drugarog tuag at yr angenus. Y mae llawer yn rhodio yn rhodresgar, yn segurwyr, heb allu bod yn gyfiawn na thrugarog; ac felly yn dianrhydeddu yr efengyl a'i Hawdwr. Rhaid i chwi ogoneddu Duw trwy arfer cyfiawnder a thrugaredd; a chwi wyddoch fod yn anmhosibl gwneyd hyny heb fod yn gysurus yn eich amgylchiadau bydol. Y mae masnachwyr yn dyoddef, y mae pawb yn dyoddef o eisiau ymgadw o fewn cylch cymedrol, a pheidio gwastraffu trugareddau dwyfol. Y mae yn rhaid i chwi "gymeryd poen, gan weithio â'ch dwylaw yr hyn sydd dda, fel y byddo genych beth i'w gyfranu i'r hwn y mae angen arno," Eph. iv. 28. "Mi a ddangosais i chwi bob peth," ebe yr apostol, "mai wrth lafurio felly y mae yn rhaid cynorthwyo y gweiniaid, a chofio geiriau yr Arglwydd Iesu, ddywedyd o hono ef, Mai dedwydd yw rhoddi yn hytrach na derbyn," Act. xx. 35. "Llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion, fel y gwelont eich gweithredoedd da chwi, ac y gogoneddont eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd," Mat. v. 16. Llewyrched eich goleuni trwy yr ymarferiad â'r byd, fel y gwelo dynion Dduw yn eich cyfiawnder, onestrwydd, a chymwynasgarwch; ac y gogoneddant ei enw. "Gwnewch i chwi gyfeillion o'r mammon anghyfiawn." Gwnewch weithredoedd o drugaredd er cysuro y cefnau noethion, y cylla gweigion; a gwnewch napcyn o'r byd hwn i sychu dagrau y weddw a'r amddifaid. "Gwnewch dda i bawb, yn enwedig i deulu y ffydd." Dylem fod yn gynil iawn, yn enwedig yn yr amseroedd tlodion hyn, mewn gwisgo ac mewn bwyta, fel y gallom gynorthwyo ychydig ar y tlodion. Yr wyf yn cofio clywed am un dyn roddodd heibio un pryd o fwyd yn y dydd i'r dyben o'i roddi i'w gymydogion tlodion. Gall y rhan fwyaf o honom sefyll llawer trwy amryw ffyrdd; a phe

baech yn ymprydio ychydig weithiau gwnelai les mawr i'ch cyrph a'ch eneidiau. Cofiwch hefyd, fy nghyfeillion, fod gan Dduw achos ar y ddaear, yr hwn sydd wedi ei ymddiried i chwi i'w gynal. Y mae eisiau bwyd a dillad ar Iesu Grist tra yn y byd hwn, am hyny trowch y ddaear at wasanaeth y nefoedd. Gwnewch *steam* o hono i weithio peiriant y nefoedd. Rhaid i'r dynion sydd yn aflonyddu y byd gael eu cynal, onide hwy a lewygant. Yr ydym wedi myned i lawer o ddyled i wneyd magnelau, i ymladd â'r Ffrancod, y Chineaid, a'r Aiphtiaid; eithr y mae yn rhaid defnyddio yr arian bellach i well pwrpas; sef darpar arfau ysbrydol i'w lladd i bechod, a'u bywhau i gyfiawnder. Cymerwch gleddyf yr Ysbryd, gair Duw yn eich llaw, i ymladd â Satan; trowch ei brif arf ei hun, y byd hwn, yn ei erbyn, ac ysigwch ei ben â'i law-ffon ei hun. Trowch yr holl fagnelau ag sydd wedi bod yn meddiant y tywyllwch er ys llawer dydd yn erbyn y deyrnas hon, er ei dinystrio. Y mae y byd hwn wedi bod yn rhy hir yn gwasanaethu a chynorthwyo *horse-races*, *plays*, *cock-fightings*, a'r holl bethau hyn; tynwch ef odditan deyrnas y diafol, a gosodwch ef yn golofn o dan deyrnas Mab Duw. Y mae miloedd o grefyddwyr yn gybyddlyd yn eu dydd at achos crefydd, ar yr un pryd yn pentyru cyfoeth i'w roddi i berthynasau annuwiol, ydynt yn cynal i fyny deyrnas Satan â hwynt: y mae hyn yn gam-arfer y byd hwn. Y mae llawer fel hyn wedi pentyru cyfoeth, yr hwn sydd yn felldith i'r byd am oesau wedi iddynt hwy farw. Yr oedd achos Iesu Grist mewn angen, eithr nid oedd dim i'w gael oddiwrthynt hwy. Yr oedd gormod eisoes gan y perthynasau hyny, ag oedd yn etifeddion i'r cyfoeth; yr oeddynt yn carlamu i ddystryw yn gyflym o'r blaen; maent yn myned yn gyflymach yn awr. Yr oedd gormod o wynt yn y *sails*, a rhy fach o *falast* yn y llong o'r blaen, mae chwaneg yn awr; y maent yn cael eu gyru yn anwrthwynebol i ddinystr a cholledigaeth. Yr wyf yn credu yn ddiamheu fod llawer yn uffern y fynyd hon yn rhegu eu perthynasau, am roddi iddynt bethau y gallasent wybod fuasai yn cyflymu eu dinystr tragywyddol. Duw'n helpio i fod yn oruchwylwyr cyfiawn yn y byd hwn. Arferwch y byd heb ei gam-arfer, canys y mae yr amser yn fyr; y mae dull y byd hwn yn myned heibio. Cedwch eich golwg ar y dyben tragywyddol, a pheidiwch ymrwystro gyda phethau bach a phethau byr. Nid yw y gwahaniaeth yn fawr pa un ai uchel neu isel, tlawd ai cyfoethog, gwych neu

anrhydeddus, y byddoch yn y byd hwn, canys y mae yr amser yn fyr. Yr wyf yn cofio clywed am long, wedi cychwyn ryw gymaint i'r *voyage*, bu farw y cadben, a chododd ymryson anferth yn mhlith y dwylaw pa un fyddai yn gadben, a pha un fyddai yn *fate;* ond tra yr oedd yr ymrafael yn myned yn y blaen dan y *deck*, dyma un o'r morwyr yn gwaeddi oddiar lan, "Y mae y tir yn y golwg—*all hands upon deck;* nid yw yn werth i chwi gadw ystwr pwy fydd yn hyn neu arall; y mae y *voyage* bron ar ben." Fy nghyfeillion, peidiwch ag ymrafaelio yn nghylch pwy fydd fwyaf, neu pwy fydd leiaf; y mae y fordaith bron ar ben. "Y mae yr amser yn fyr." Chwychwi sydd yn wylo, cymerwch gysur, y mae y *voyage* bron yn darfod; chwychwi sydd â gwragedd genych, peidiwch a rhoddi eich calon arnynt, y mae yr undeb yn mron datod; chwychwi sydd â llawer o'r byd hwn, nac ymddiriedwch ynddo, canys y mae yr amser yn fyr; y mae dull y byd hwn yn myned heibio. Bendigedig! yn nghanol cyfnewidiadau y llawr, y mae rhywbeth gan fy enaid nad yw yn cyfnewid yn dragywyddol. "Iesu Grist, yr un ddoe, a heddyw, ac yn dragywydd."

## PREGETH II.

### DUW YN DWYN PETHAU MAWRION ALLAN O BETHAU BYCHAIN.

"A thithau, Bethlehem Ephrata, er dy fod yn fechan yn mhlith miloedd Judah, eto o honot ti y daw allan i mi wr i fod yn Llywydd yn Israel; yr hwn yr oedd ei fynediad allan o'r dechreuad, er dyddiau tragywyddoldeb," Micah v. 2.

Y PROPHWYD Esay gafodd yr anrhydedd o gael ei goffâu gyntaf yn y Testament Newydd. "Am hyny," ebe Esay, "yr Arglwydd ei hun a ddyry i chwi arwydd. Wele, morwyn a fydd feichiog, ac a esgor ar fab, ac a eilw ei enw ef Immanuel," Esay vii. 14. "A hyn oll a wnaethpwyd," ebe yr efengylwr, "fel y cyflawnid yr hyn a ddywedwyd trwy y prophwyd, gan ddywedyd, Wele morwyn a fydd feichiog, ac a esgor ar fab, a hwy a alwant ei enw ef Immanuel; yr hyn o'i gyfieithu yw, Duw gyda ni," Mat. i. 22, 23. Micah oedd yr ail brophwyd a goffawyd yn y Testament Newydd. "Canys felly yr ysgrifenwyd trwy y prophwydi; a thithau, Bethlehem, tir Judah, nid lleiaf wyt yn mhlith tywysogion Judah: canys o honot ti y daw Tywysog, yr hwn a fugeilia fy mhobl Israel," Mat. ii. 6. Y mae yr efengylwyr a'r prophwydi yn dylyn eu gilydd yn rhagorol fel olwyn mewn olwyn; eithr y mae yn amlwg fod rhyw un uwchben yn llywodraethu yr holl olwynion, onide byddent wedi eu dryllio, a chwalu eu gilydd yn yfflon. Y mae un yn dywedyd am ei enedigaeth, a'r llall am ei le genedigol. Esay yn dywedyd, "Morwyn a fydd feichiog;" Micah yn dywedyd am y lle i esgor arno, "Bethlehem Ephrata." "Immanuel, Duw gyda ni," ebe Esay; "ein Llywydd," medd Micah. Yn nechreu y testun y mae efe gyda ni, yn Bethlehem; nyni gydag ef yn nhragywyddoldeb yn y diwedd. Y mae prophwydoliaethau am y ddau mewn cyflawniad perffaith yn Nghrist; felly Crist yw swm a sylwedd yr Hen Destament a'r Newydd. Y mae prophwydi ac efengylwyr yn cyd-gyfarfod ynddo ef.

1. Gwelwn fod yr Iuddewon yn euog o annghrediniaeth wirfoddol yn eu gwrthodiad o'r Arglwydd Iesu. Nid oes neb ond ei hunan yn ateb yn gyflawn i'w prophwydoliaethau hwynt. Yr ydych yn gweled fod y ddau Destament yn cytuno yn Nghrist, am le ei enedigaeth, a phob peth arall. Os

byddant am annghytuno yn nghylch *morwyn* Esay, nis gallant annghydweled yn nghylch Bethlehem Micah. Penderfynodd y *synod* a alwyd gan Herod i edrych i mewn i'r cwestiwn hwn, mai Bethlehem oedd lle genedigol y Messiah, ac yn dyfod ag adnod ein testun yn brawf. "Ond pan glybu Herod frenin, efe a gyffrowyd, a holl Jerusalem gydag ef. Ac wedi dwyn yn nghyd yr holl arch-offeiriaid ac ysgrifenyddion y bobl, efe a ymofynodd â hwynt pa le y genid Crist. A hwy a ddywedasant wrtho, Yn Bethlehem Judea: canys felly yr ysgrifenwyd trwy y prophwyd," Mat. ii. 4, 5. Yr oedd nid yn unig y dysgedigion ond y bobl gyffredin hefyd yn gwybod hyn, canys yr oeddynt yn dadleu y peth hwn â'u gilydd yn fynych. "Am hyny llawer o'r bobl, wedi clywed yr ymadrodd hwn, a ddywedasant, Hwn yw y Crist. Eraill a ddywedasant, Ai o Galilea y daw Crist? Oni ddywedodd yr ysgrythyr, Mai o had Dafydd y mae Crist yn dyfod?" Ioan vii. 40. Yr oeddynt yn dadleu â'u gilydd mai nid efe oedd y Crist oblegyd mai o Bethlehem y deuai efe, ond fod hwn o Galilea. Yr oedd yr Arglwydd Iesu wedi ei ddwyn i fyny yn Galilea, eithr yn Bethlehem Judah y ganwyd ef. Felly ni a welwn fod yr offeiriaid a'r bobl yn deall, yn ol y prophwydoliaethau, mai Bethlehem oedd lle genedigol Crist. Y mae y seren, fel tyst mawr a goleu o'r nefoedd, yn dyfod yn uniongyrchol i Bethlehem. Ni safodd nes dyfod yno, a sefyll yn union uwchben y lle. Yr oedd fel pe estynai ei bys, ac yn dywedyd, Wele, dacw y fan lle y mae y Ceidwad wedi ei eni. Y mae pawb yn dwyn tystiolaeth i'w enedigaeth; efengylwyr, prophwydi, offeiriaid, a phobl; Iuddewon a Christionogion, nefoedd a daear, y cwbl yr un ochr. Y mae pawb yn cytuno fod y testun hwn yn cyfeirio at enedigaeth yr Arglwydd Iesu yn Bethlehem, ac nid neb arall. Y mae perffaith gydgordiad am y lle a'r amser, y rhai ydynt arwyddion cryfion er cadarnhau dyfodiad Crist yn y cnawd, ac mai efe yw Mab y Duw Goruchaf. Fe ddaeth yn amser Cesar, a Herod frenin, i'r lle y dywedwyd trwy y prophwydi, sef Bethlehem Judah. Eithr gadewch i ni fyned at sylweddau, at y peth ei hun. Oddiwrth y lle at yr enedigaeth, ac oddiwrth yr enedigaeth at y person a anwyd.

2. Sylwch, nid yn unig fod Crist yn wir Fessiah, yr hyn sydd yn erbyn Iuddewaeth; ond hefyd fod y Messiah yn wir Dduw, yr hyn sydd yn erbyn Sosiniaeth. Daeth allan yn ei ddwy natur; un o ddyddiau tragywyddoldeb, a'r llall o Beth-

lehem. Dynoliaeth o Bethlehem, Duwdod o dragywyddoldeb. Neu y mae genym bedwar peth yn y testun i sylwi arnynt. 1. Y lle. 2. Y person. 3. Y naturiaeth. 4. Y swydd. Eithr gadawn y pethau hyn am ychydig i sylwi yn gyntaf—

Ar ddull yr ymadrodd yn y testun. Nid oes yr un cysylltiad rhwng y testun a dim a lefarwyd o'r blaen. Hanes gwarchae Jerusalem yw y cyd-destynau, ac y mae y prophwyd yn gadael hyny yn fyr ac yn ddirybydd, gan redeg yn union tua Bethlehem, heb ddyweyd gair wrth neb. Pan y mae natur yn cerdded yn drwm, dywedir mai y peth goreu yw cyfnewid y gorchwyl, a throi y sylw at rywbeth arall. Y mae y prophwyd yma yn gadael byddinoedd a gwarchae Jerusalem ar unwaith, megys o ganol y tân, ac yn rhedeg yn uniongyrchol i Bethlehem, gan ddywedyd wrthym am blentyn rhyfeddol oedd i gael ei eni yno. Yr oedd yn rhaid i hyn ddwyn sylw mawr ar y pryd. A'r peth sydd yn ei wneyd yn rhyfeddach byth, ac yn fwy effeithiol, nid araeth am Fethlehem Judah ydyw, ond *wrth* Fethlehem. "A thithau Bethlehem Ephrata, nid lleiaf wyt yn mhlith miloedd Judah." Y mae Esay yn traethu *am* forwyn yn esgor ar Immanuel; nid yn dywedyd *wrthi*, ond am *dani*, mewn prophwydoliaeth. Y mae fel pe bai mwy o fywyd a grym yn ein testun. "Tithau Bethlehem;" y mae yn dywedyd wrth bethau meirwon, sef ceryg a choed y pentref; "o honot ti y daw un i fod yn Llywydd yn Israel." Pe buasai dafodau gan goed a cheryg buasent yn bloeddio canu yn y man. Ceidwad yn dyfod allan o bentref Bethlehem, yn fendith i Judah, Jerusalem, a'r holl fyd; yr oedd hyn yn ddigon i gyffroi coed a cheryg.

Yn awr, fy nghyfeillion, gadewch i ni edrych dipyn i'r lle y ganwyd y Ceidwad. Bethlehem Ephrata. Dyma y lle y ganwyd Arglwydd y bywyd. "Pa le (ebe y doethion) y mae yr hwn a anwyd yn Frenin yr Iuddewon, canys gwelsom ei seren ef yn y dwyrain, a daethom i'w addoli ef," Mat. ii. 2. Dylynwch y seren, ac yna nid oes eisiau arnoch ofyn i neb. Y mae y prophwydoliaethau mor eglur a'r seren; fy mrodyr, dylynwch hwynt, ânt â chwi yn union i Bethlehem. *This is the straight road to Bethlehem.* Yr oedd dau Bethlehem, un yn llwyth Zabulon (Josuah xix. 15), a'r llall yn llwyth Judah. Bethlehem Judah yw lle genedigol Crist; Ephrata, medd y testun. Yn Bethlehem Judah y claddodd Jacob ei anwyl Rachel. "A Rachel a fu farw, ac a gladdwyd yn y ffordd i Ephrath; hon yw Bethlehem," Gen. xv. 19. Y mae

yn anmhosibl fod un camsyniad am y lle, canys y mae Moses yn dywedyd yn eglur wrthym am Ephrath, y lle y claddwyd Rachel, mai hono yw Bethlehem, Gen. xlviii. 7.

Yn awr, wedi i ni wneyd y lle allan, ymofynwn, Pa fath le ydyw? Pentref ydyw, bychan a thlawd, heb ddim i ddenu sylw, na theilyngu siarad. Y mae yn rhywbeth dyeithr i glywed y prophwyd yn son am Bethlehem, o ganol son am Jerusalem, yn yr adnod flaenorol. Nid oedd un tebygolrwydd oddiwrth y lle, y buasai person mor fawr ag un i fod yn Llywydd yn Israel yn dyfod o hono. Y fath enedigaeth oruchel yn y fath gornel tywyll a distadl—y mae y fath beth yn rhy fawr i'w ddysgwyl yn y fath le. Y mae cig a gwaed yn wastad yn rhagfarnllyd yn erbyn rhyw ddosbarth o bersonau a lleoedd. A ydyw yn bosibl i ddim mawr ddyfod oddiyno? Beth! person mor fawr yn dyfod o Fethlehem a Galilea? *Nonsense!* Os ydyw yn berson mor fawr, y mae yn debygol y deuai o Jerusalem, Damascus, Cesarea, neu ryw ddinas fawr ac enwog; dyma hen iaith calon naturiol. O Bethlehem Ephrata, y lleiaf yn mhlith miloedd Judah, mewn ystyr ddynol, ond nid y lleiaf mewn ystyr ddwyfol, y daw un i fod yn Llywydd ar Israel, ïe, yn Llywydd ar yr holl fyd. Bethlehem, er dy fod di yn fychan, nid person bychan ddaw allan o honot. Y mae y lle yn fach, ond y person sydd yn dyfod allan yn fawr; y lle yn un o fil mewn bychandra, er hyny y mae yr hwn sydd yn dyfod allan, i lywodraethu miloedd Judah. Er yn fychan, yn ffrwythlon. Ni chynyrchodd un pren ffrwyth mor doreithiog; canys y mae pren y bywyd yn tyfu yn nghanol Bethlehem, yn "dwyn deuddeg rhyw ffrwyth, bob mis yn rhoddi ei ffrwyth: a dail y pren sydd yn iachau y cenedloedd."

Nid oes y gwrthddywediad lleiaf rhwng y prophwyd a'r efengylwr, deallwch; er fod un yn dywedyd "y lleiaf" wyt, a'r llall yn dywedyd "nid y lleiaf wyt." Y mae Micah, pan yn dywedyd "er dy fod yn fechan," yn cyfeirio at y lle yn wladol, yn mhlith miloedd Judah. Yn wael o ran tai, masnach, a dynion. Nid oedd yn alluog i roddi llety cysurus i Joseph a Mair; felly yn fechan a dibwys yn mhlith miloedd Judah. Y mae Matthew yn dywedyd "nid lleiaf wyt" gyda golwg ar beth arall, yr hyn sydd yn pwyso mawredd y byd hwn i lawr. Dyma y lle y bu genedigaeth ryfeddol, genedigaeth y Messiah bendigedig; y mae hyn yn ddigon i droi y byd yn dom ac yn golled. Yr oedd dyfodiad un mor fawr allan o'r pentref hwn, yn ddigon i wneyd y *lleiaf* y

*mwyaf* o holl breswylfeydd Jacob; y mwyaf yn holl dir Israel; ie, y mwyaf yn holl diroedd y byd. Os yw y lle yn lleiaf, y mae y person sydd yn dyfod allan yn fawr, ïe, y mwyaf. Yn awr, beth a wnawn â hyn? Dim ond y peth sydd yn dyfod yn naturiol o hono ei hun, heb un ymorchestiad. Dywedodd ryw bagan, "Y mae Duw yn ymhyfrydu dyfod â phethau mawrion allan o bethau bychain." Wel, dyma arfer Duw: a dyma Grist mawr wedi dyfod allan o Bethlehem fach. Y mae hyn i'w ganfod ynddo fel Duw natur. Pwy fuasai yn meddwl wrth weled y fesen fach, y tyfai derwen mor fawr a chadarn o honi? Gronyn o had mwstard, y lleiaf o'r holl hadau, fel Bethlehem, yn dyfod y mwyaf o'r holl lysiau; yn bren mawr mewn amser bach; ïe, ychydig o fisoedd, a lle i holl adar y nefoedd nythu yn ei gangenau ef. Y mae yr Arglwydd wedi codi ymerodraethau cryfion o ddechreuad bychan. Daeth Moses, llywodraethwr cyntaf Israel, allan o gawell brwyn, fel pe buasai yn ddygwyddiadol, pan yn nofio ar yr afon Nilus. Gwnawd Saul yn frenin ar Israel pan yn chwilio am asynod ei dad, ac yntau heb fod yn berchen asyn ei hunan. Codwyd Dafydd i'r freniniaeth oddiwrth y defaid, a llawer eraill ellid enwi, a ddaethant yn uchel yn llaw Duw, o fanau isel iawn. Y mae teyrnas yr Immanuel, sef yr eglwys ar y ddaear, fel yn codi allan o fadau pysgota. Pysgotwyr oedd y pregethwyr; hwy lwyddodd Duw i fwrw cestyll i'r llawr, a chodi ei eglwys i fyny, yr hon a saif i dragywyddoldeb. Cuddiodd y pethau hyn rhag y doethion a'r rhai deallus, a datguddiodd hwynt i'r rhai bychain, canys felly y rhyngodd bodd iddo, Mat. xi. 26. Hyfrydwch Duw yw gweithio fel hyn, ac y mae am ein dysgu ninau i beidio "diystyru dydd y pethau bychain." Y mae yn ein harwain i Bethlehem i'n dysgu yn y wers hon. Os ydynt yn fach yn ngolwg dynion, peidiwch a digaloni; os ydynt o Dduw y maent yn sicr o fyned yn fawr. Os diystyrwch bethau bychain chwi ddiystyrwch Bethlehem ei hunan; yr Arglwydd Iesu a'r cwbl. Ni oddef Duw i chwi ddiystyru pethau bychain. Gall dinas fechan Zoar gadw y corph rhag y tân, a phentref bychan Bethlehem gadw yr enaid. Na rwystrwch un o'r rhai bychain hyn; na ddiystyrwch ddydd y pethau bychain, Zech. iv. 10; Mat. xviii. 6. Cofiwch y cwmwl bychan, megys cledr llaw gwr, a guddiodd yr holl nefoedd nes gwlawio ar yr holl dir. Felly dydd y Pentecost; ychydig oedd wedi ymgynull yn y boreu; eto miloedd wedi eu hachub y prydnawn: yr oedd cynhauaf mawr mewn ychydig o oriau. Os

diystyrwch bethau o ddechreuad bychan, y mae Bethlehem Ephrata yn codi yn eich erbyn. Yn awr, y mae rhyw briodoldeb mawr yn Bethlehem i fod yn lle genedigol Crist.

1. Am fod Bethlehem yn ddinas Dafydd, ac yntau yn fab Dafydd, ac yn Arglwydd Dafydd.

2. I gyflawni y prophwydoliaethau. Rhywbeth mewn rhagluniaeth oedd wedi galw Joseph a Mair i Bethlehem; nid oedd ganddynt un dyben eu hunain. Myned i fyny i gael eu trethu a wnaethant; nid yno yr oeddynt yn byw. Yr oedd Duw yn gwasgu ar Augustus Cesar, ac yntau yn gorchymyn i'w swyddogion, a'r swyddogion yn gorchymyn i'r bobl, a'r bobl yn gorfod ufuddhau; a'r cwbl i gael Joseph a Mair i Bethlehem. "A Joseph hefyd a aeth i fyny o Galilea, o ddinas Nazareth, i Judea, i ddinas Dafydd, yr hwn a elwir Bethlehem, am ei fod o dŷ a thylwyth Dafydd," Luc ii. 4.

3. Yn Bethlehem y cawd y newydd gyntaf am y deml, ac yno y mae y newydd cyntaf am Arglwydd y deml. Yr oedd y deml yn gysgod o'r eglwys; Crist yw pen yr eglwys; ac onid oedd yn briodol i Grist a'r eglwys, y Pen a'r aelodau, i gyfarfod yn yr un man? "Wele, clywsom am dani yn Ephrata; cawsom hi yn maesydd y coed," Sal. cxxxii. 6.

4. Tŷ bara yw Bethlehem. *Beth*, tŷ; *lehem*, bara: efe yw bara y bywyd. *Ephrata*, digon o fara. Yn y tŷ ffrwythlon hwn y mae genedigaeth ffrwythlon. Yr oedd ffynon o ddwfr yn Bethlehem, y goreu yn yr holl wlad. Hiraethodd y brenin Dafydd ryw dro am ddracht o honi. "A blysiodd Dafydd, a dywedodd, Pwy a'm dioda i â dwfr o bydew Bethlehem?" Dymunwch chwithau ddrachtio, nid o ffynon y brenin Dafydd wrth y porth, ond y ffynon sydd yn Arglwydd yn y *stabl*. Bendigedig! dyma ddigon o ddwfr, a bara hefyd, am dragywyddoldeb. Lle bynag y mae Crist, nid oes eisiau dim. Bethlehem yw enw ei dŷ byth, a thŷ bara ydyw o hyd; a digon o fara. Gweddiaf gyda y dysgyblion, "O Arglwydd, dyro i ni y bara hwn yn wastadol." Y mae ymadawiad Elimelech a Bethlehem i fyned tua gwlad Moab, yn dangos gwrthgiliad dyn oddiwrth ddigon at ddim, oddiwrth gyflawnder at eisiau a newyn. Cyfarfyddodd yntau yn nhir Moab ag eisiau a newyn, a bu dda iddo feddwl am Bethlehem, a throi ei wyneb yn ol drachefn.

5. Yr oedd geni Crist yn Bethlehem yn cyfateb i'w amgylchiadau isel ar y pryd. Yr oedd iselder y lle a'r sefyllfa

yn cydweddu a'u gilydd. Nid oedd neb mor isel ag ef yn ei sefyllfa o ddarostyngiad. Nid oedd Bethlehem mor wael yn mhlith dinasoedd Judah ag oedd Crist yn mhlith meibion dynion. Gallwn gyda phriodoldeb ddywedyd, Tydi y Bethlehemiad, yr hwn ydwyt iselaf yn mhlith meibion dynion. Yr oedd pob peth yn fychan yn ymddangosiad Crist. Y gauaf ydoedd, pan oedd y dydd yn fyr; hanodd hefyd o bobl o radd isel a thlawd. "Pwy a gyfyd Jacob? canys bychan yw," Amos vii. 5. Ni bu erioed mor isel ag yn amser ei ddyfodiad. Y teulu breninol wedi myned yn fychan; fel ag yr oedd y tad a'r fam yn wir dlawd. Yr oedd Israel mewn caethiwed o dan yr iau Rhufeinig; un o blant Babilon yn sathru Jerusalem dan draed, ac yn dywedyd, "Dynoethwch, dynoethwch hi, hyd ei sylfaen," Sal. cxxxvii. 7. Gwnaeth hyn i Rachel wylo yn ei bedd, yr hwn oedd gerllaw. A galarodd wedi hyny am lofruddiaeth ei phlant. Felly chwi welwch fod y cwbl yn fychan ac yn ddistadl ar yr amser hwn; y lle, yr amser, y bobl, a'r cwbl: ac efe ei hun yn llai ac islaw iddynt oll. Y mae Micah yn dywedyd fod y lle yn fychan yn mhlith miloedd Judah, ond gellir ychwanegu, y mae Crist yn llai, islaw, yn fwy dirmygedig fil o weithiau na'r lle. Y mae Luc yn dywedyd yn helaethach na'r prophwyd; sef i Grist ddyfod, nid yn unig o'r pentref bychan hwnw, ond hefyd o'r lle iselaf oedd o'i fewn. O'r preseb, o'r ystabl yn Bethlehem y daeth un allan i fod yn Llywydd yn Israel. Y mae Bethlehem yn isel, ond y mae ystabl yn Bethlehem y man iselaf mewn lle isel. Ond, fy nghyfeillion, nid yw hyn yn ddim i'w gydmaru â'i daith drwy y byd; na'i lwybr trwy y byd yn nemawr at ei fynediad allan o'r byd. Efe a gafodd ystabl yn ei enedigaeth, eithr yn ei fywyd ni chafodd le i roddi ei ben i lawr. Cafodd breseb yn ei enedigaeth; yn ei farwolaeth, croes, hoelion, fflangellau, drain, wermod. Yn awr gwnawn ychydig gasgliadau.

1. Gwelwn mai arweinydd drwg yw rheswm cnawdol mewn crefydd. Yr oedd yn rhaid i'r doethion gael myned i Jerusalem i chwilio am y Mab bychan, y lle yr oedd yn fwyaf rhesymol i ddysgwyl genedigaeth brenin. Siomwyd hwynt wrth ddylyn rheswm; gorfu iddynt ddyfod yn ol at ddatguddiad, ac yna cawsant yr hwn a ddywedwyd am dano gan Moses a'r prophwydi. Pa le mor debyg a'r brif-ddinas i ffeindio brenin yr Iuddewon? Y mae twyll mawr yn fynych mewn pethau ag sydd yn ymddangos yn debygolrwydd i

reswm cnawdol, yn enwedig mewn pethau crefydd. Y mae Duw yn myned yn ei ffordd ei hun, nid yn ol ein meddyliau a'n ffyrdd ni. Nid ein meddyliau ni yw ei feddyliau ef, ac nid ein ffyrdd ni yw ei ffyrdd ef. Lle marwolaeth Crist oedd Jerusalem; Bethlehem oedd lle ei enedigaeth. Bethlehem oedd lle ei ymgnawdoliad, Jerusalem lle ei ddyoddefiadau. Yn Bethlehem y mae Haul cyfiawnder yn codi, yn agos i Jerusalem y mae yn machlud. Bendigedig fyddo Duw am Fethlehem, Jerusalem, a Chalfaria; rhwng y cwbl ni gawn ein bywydau yn oes oesoedd. Crist yn cael ei eni yn Bethlehem, Crist yn dyoddef yn Jerusalem, Crist yn marw ar Galfaria; dyma ddigon i drigolion Bethlehem, Jerusalem, a'r holl ddaear. Bendigedig!

2. Y mae Crist yn cael ei eni yn Bethlehem yn ffynon cysur i dlodion. Cerddwch tua Bethlehem yn eich carpiau, fe'ch derbynir fel boneddigion. Gellwch gyffwrdd ag ymyl ei wisg. Nid palas, cofiwch, eithr ystabl, preseb; gall y *stable-boy*, a'r *milk-maid*, a'r *cow-man*, gymdeithasu ag ef foreu a hwyr. Nis gellwch chwi alw yn yr *inn*, eithr gellwch fod yn eon i alw yn yr ystabl gyda'r Iesu.

3. Y mae genedigaeth Crist yn Bethlehem yn wers o syndod a rhyfeddod. Dylem edrych ar ei ddarostyngiad annhraethol gyda syndod a diolchgarwch. Yr hwn oedd mor uchel yn ymddarostwng mor isel; yr hwn a'n gwnaeth yn cymeryd ei wneyd mor fach er ein mwyn. Brenin wedi ei wisgo mewn cadachau; gallu mewn gwendid; Creawdydd nefoedd a daear mewn preseb; yr hwn sydd yn llywodraethu y bydoedd mewn ystabl; a fu erioed ostyngeiddrwydd fel hyn? Y Duw mawr wedi dyfod yn faban bach, yr Hen Ddihenydd yn blentyn gwan; yr hwn oedd mor fawr ag i lanw nefoedd a daear yn ymostwng i ddyfod yn ddyn bach, yn Bethlehem fach. Llywodraethwr y ser yn cael ei fagu ar fronau merch dlawd; yr hwn sydd yn dal creadigaeth ar gledr ei law, yn cael ei ddal ar luniau Mair. O ddyfnder y darostyngiad! O uchder y gras ag sydd yn y cwbl! Yn annhraethadwy!

4. Y mae yma wers i ymostyngiad. Y mae Bethlehem fach yn condemnio balchder miloedd a elwir yn Gristionogion. Bregethwyr, sydd yn sefyll yn lle Crist, dan yr enw o genadon drosto, y mae Bethlehem yn codi yn eich erbyn, yn eich condemnio, ac yn eich diarddel o'r berthynas. Beth yw y

bladrau, y chwydd, y gwynt o falchder sydd ynoch wrth bregethu Crist? Edrychwch ar Grist yn Bethlehem, fe allai y gwna hyny bricio y bladryn, a dyfod a'r chwydd gwyntog yna i lawr. Y mae yr olwg, yr ystum, y geiriau chwyddedig, yn fwy cydweddol â gwledd Belsassar, na Christ yn Bethlehem. Gellid meddwl wrth ambell ddyn yn y pwlpud, ei fod yn son am ryw dywysog ieuanc o Ninefe, ar fedr dyfod i Gymru mewn rhwysg a gogoniant, gyda holl fri llysoedd gwladol, ac nid am Grist cystuddedig, yn dyfod i Fethlehem yn dlawd yn ein hachos ni. Trowch eich wynebau tua Bethlehem, a deuwch i'r llwch. Y mae dyfodiad Crist i Fethlehem yn dangos fod ganddo hyfrydwch mewn preswylio gydag ysbrydoedd isel a gostyngedig. "Ar hwn yr edrychaf, sef y truan a'r cystuddiedig o ysbryd, sydd yn crynu wrth fy ngair." Y mae yn datguddio pethau mawrion i fabanod: a rhai bychain yn eu golwg eu hunain. Er mwyn Bethlehem cerwch, anrhydeddwch, ac ymarferwch ostyngeiddrwydd. Y mae y seren yn plygu uwchben y lle y mae y Ceidwad o'i fewn. Y mae mwy o ddaioni yn dyfod o'r lle bychan hwn na holl ddinasoedd mawrion y byd. Bethlehem yw y cam cyntaf i baradwys; hyny yw, plygu i'r Gwaredwr. Mynwch y gras hwn, fy nghyfeillion; bydd yn arbed llawer o drafferth i chwi; ni bydd eisiau i chwi deithio ar bererindodau yma a thraw, canys bydd Bethlehem yn mhob man y byddoch chwi. Y lle cyntaf i gyfarfod ydyw, i gael gweled a chyfarch Duw mewn cnawd. Yma y mae efe yn dechreu gyda ni, ac yma yr ydym ni yn dechreu gydag yntau. Ni ellwch ei gael o gwbl, os na chewch ef yn gyntaf yn Bethlehem. Yno y cafodd y doethion ef, wedi eu harwain gan seren; a'r bugeiliaid a arweiniwyd yno gan angylion; a'r angylion eu hunain a ddanfonwyd yno gan Dduw. Y mae Iuddewon a Chenedloedd, doethion ac annoethion, tywysogion a deiliaid, nef a daear, angylion a dynion, Duw a phechadur, i gyd yn cwrdd i ddechreu yn Bethlehem Ephrata. Os na ddechreuwch yn Bethlehem, yr ydych yn colli y cam cyntaf, o ganlyniad gellwch beidio a myned yn y blaen ar eich pererindod, canys ni ffeindiwch y nefoedd yn dragywydd heb ddechreu a chychwyn oddiyno. Y mae Paul, meddwch chwi, yn dysgu ffordd fyrach i'r nefoedd na myned oddiamgylch i geisio Bethlehem. "Eithr y mae y cyfiawnder sydd o ffydd yn dywedyd fel hyn, Na ddywed yn dy galon, Pwy a esgyn i'r nef? (hyny yw, dwyn Crist i waered oddiuchod.) Neu, Pwy a ddisgyn i'r

dyfnder? (hyny yw, dwyn Crist drachefn oddiwrth y meirw.) Eithr pa beth y mae yn dywedyd? Y mae y gair yn agos atat, yn dy enau, ac yn dy galon: hwn yw gair y ffydd, yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu," Rhuf. x. 6—8. Fy nghyfeillion, Bethlehem y rhinweddau yw gostyngeiddrwydd; y mae Crist yn aros yno o hyd; ac y mae i'w gael yno bob amser. Bethlehem yw dechreu ein testun, a thragywyddoldeb yw ei ddiwedd. Os dedwyddwch tragywyddol yw yr Omega, gostyngeiddrwydd yw yr Alpha. Y mae miloedd yn rhy fawr i fyned trwy Fethlehem, am hyny yn canu yn iach iddi, ac yn cymeryd eu taith trwy Babilon; eithr y maent yn canu yn iach i'r nefoedd yr un pryd. Os na ellwch fyned i mewn trwy y porth cyfyng, ni ellwch byth fyned i mewn i'r nefoedd. Os yw Bethlehem yn rhy fach i'r creadur balch, y mae y nefoedd yn rhy fach hefyd. Y mae y nefoedd yn rhy isel i'r Lusifferiaid.

5. Y mae yma anogaeth i ffrwythlondeb. Ephrata, er yn fychan, yn ffrwythlon. Yma y gwelwyd pren y bywyd yn tyfu; bara y bywyd yn cael ei barotoi, bara angylion, bara nefol, digon o ymborth i nefoedd a daear. Y mae Bethlehem yn Ephrata i'r eglwys; yn ffrwythlondeb i bob gras ysbrydol. Y mae Bethlehem fach yn llawn ffrwythlondeb. Y mae ffrwythlondeb wedi ei uno â gostyngeiddrwydd. Yn fechan, er hyny yn fawr, Bethlehem ac Ephrata wedi eu cysylltu sydd yn egluro digonoldeb a ffrwythlondeb. "Byddwch helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol." Y mae yn rhaid cysylltu Ephrata, wrth bob peth, fy nghyfeillion, wrth bob gras. Edifeirwch deddfol, a ffydd heb weithredoedd, nid ydynt werth dim. Y mae ffrwyth priodol i bob gras, ac os na fydd ffrwyth nid oes fywyd tragywyddol. Y mae yn rhaid i Ephrata fod ar ol y cwbl, onide nid yw y cwbl yn werth dim. Edifeirwch, Ephrata; ffydd, Ephrata; cariad, Ephrata. Y mae gwaith i ffydd a llafur i gariad. Ephrata yw *surname* yr holl rasau, nid yn unig *surname* gostyngeiddrwydd, ond pob un o honynt, canys o'r un y maent oll. Os na fydd Ephrata ar ol yr enw, nid yw yn wirioneddol; nid oes ffrwyth ar y pren, dim ond dail yn unig. Bethlehem Zabulon, Bethlehem dywodlyd, Bethlehem ddiffrwyth, oedd hono ar lan y môr; Bethlehem Judah, Bethlehem Ephrata, yw'n Bethlehem ni; Ephrata, yn llawn ffrwythlondeb. Nid yw ffrwythau bywyd tragywyddol yn gynwysedig mewn ychydig o eiriau teg; ond mewn trugaredd, tosturi, ymysgaroedd tru-

gareddau, mewn gweithred a gwirionedd. Fel y Philipiaid, yn llawn ffrwythau da, yn cofio am eu gweinidog yn ei gyfyngderau. "Nid o herwydd fy mod i yn ceisio rhodd, eithr yr ydwyf yn ceisio ffrwyth yn amlhau erbyn eich cyfrif chwi. Ond y mae genyf bob peth, ac y mae genyf helaethrwydd; mi a gyflawnwyd, wedi i mi dderbyn gan Epaphroditus y pethau a ddaethant oddiwrthych chwi, sef arogl peraidd, aberth cymeradwy, boddlon gan Dduw. A'm Duw i a gyflawna eich holl raid chwi, yn ol ei olud ef mewn gogoniant yn Nghrist Iesu," Phil. iv. 18, 19. Y maent yn dywedyd fod yr holl goed a ddefnyddiwyd at adeiladu y deml yn goed ffrwythlon; i ddangos y dylem fod yn ffrwythlon yn ein crefydd. Yn Ephrata y clywyd am y deml gyntaf; ac Ephrata ydyw gwasanaeth crefydd i fod hyd y diwedd. Eto, fy mrodyr, y mae miloedd yn nghanol yr holl ffrwythlondeb hyn yn crino i dân yn eu pechodau. Fe'n profir dydd y farn wrth ein ffrwythlondeb, sef ein gweithredoedd. "Yna yr etyb efe iddynt gan ddywedyd, Yn wir, meddaf i chwi, yn gymaint nas gwnaethoch i'r un o'r rhai lleiaf hyn, nis gwnaethoch i minau," Mat. xxv. 45. Edrychwn ar y cysylltiad sydd rhwng bychan a ffrwythlon—Bethlehem ac Ephrata. Os ydym yn ffrwythlon, ebe chwi, yr ydym gan hyny yn darfod a bod yn fychan. Yr ydych yn barod i freuddwydio am deilyngdod, a gwerth, os oes rhyw gymaint o rinweddau ynoch. Y mae dyn mewn perygl o fyned yn hunan-dybiol, os bydd yn ddefnyddiol; yr ydym yn myned o un eithafed i'r llall beunydd. Os ffrwythlon, yn falch; os isel, diffrwyth. Ychydig sydd yn ostyngedig, ac yn ffrwythlon; yn Bethlehem ac Ephrata. Dyma y gwir Fethlehem, lle y ganwyd Crist, a'r lle y mae yn hyfrydu preswylio. Bro gostyngeiddrwydd yw y fro ffrwythlonaf ar y ddaear. Y mae Iesu Grist yn caru "cerdded rhwng y myrtwydd yn y pant." Peidiwch a dirmygu Crist, bobl, trwy roddi gwaeth lle iddo nag ystabl. Os nad ydych yn rhoddi lle iddo yn eich calonau, nid ydych yn rhoi cystal ag ystabl iddo: yr oedd ystabl yn rhywbeth, ond ei wrthod o gwbl sydd yn ei droi allan o bob man. Agorwch eich calonau iddo, derbyniwch ef i mewn, i breswylio yn dragywydd ynddynt. Triged Crist trwy ffydd yn eich calonau, ac yn fuan cewch drigo gydag ef yn y nefoedd mewn gogoniant.

6. Y mae yma anogaeth i ddysgwyliad wrth yr Arglwydd yn wyneb tywyllwch ac annhebygolrwydd. Yr oedd gen-

edigaeth Crist yn Bethlehem yn wyrthiol, yn weithred o allu a phenarglwyddiaeth Duw. Nid oedd dim yn fwy annhebyg er ys ychydig yn ol, canys yr oedd Mair a Joseph yn byw yn Nazareth, tua phedwar ugain a dwy o filldiroedd o Fethlehem; yr oeddynt yn dlawd, ac yr oedd Mair yn agos i amser esgor, ac nid oedd ganddynt feddwl am gymeryd y fath daith. Yr oedd pob tebygolrwydd mai yn Nazareth y buasai Crist yn cael ei eni. Ond beth am yr hen brophwydoliaethau? beth am ein testun? beth fuasai yn dyfod o'r holl ysgrythyrau? Buasai y cwbl yn llongddrylliad tragywyddol. Eithr gadewch rhwng y Duw sydd wedi dyweyd a'r cwbl o'r *concern*. Ië, y mae amser Mair o fewn ychydig wythnosau; y mae y ffordd yn mhell, y maent hwythau yn dlawd, ac y mae bron yn beryglus i symud y forwyn o gartref, pe byddai yn bwriadu hyny; ond nid ydyw Joseph na hithau yn meddwl am y fath beth.

Ow! y mae yr arfaeth, y prophwydi, yr angel hysbysodd ei enedigaeth yn syrthio am draws eu gilydd yn benbleth i ddinystr! Gan bwyll, peidiwch â rhedeg yn rhy wyllt; y mae ychydig ddiwrnodau eto cyn syrthio i dywyllwch yn hollol; a chwi wyddoch y medr ein Duw ni greu bydoedd yn hyny o amser. Yn sydyn, dyma orchymyn yn dyfod allan oddiwrth Augustus Cesar i "drethu yr holl fyd; ac i bawb fyned i'w dinasoedd eu hunain i gael eu trethu." Oddiwrth Cesar y daeth y gorchymyn, eithr yr oedd Ymerawdwr arall y tu cefn i Cesar, yn cario allan ei amcanion. Nid oes neb erioed wedi gallu deall beth oedd y rheswm am y cofrestriad hwn. Nid oedd cofrestriad byth yn cael ei wneyd heb ryw reswm mawr, canys yr oedd y fath beth yn gostus iawn i'r llywodraeth. Yr oedd yn amser o heddwch cyffredinol ar y pryd, yr oedd teml Janus* yn gauedig, nid oedd eisiau na dynion nag arian ar y pryd, ac ni ddefnyddiwyd erioed y cofrestriad hwn. Llywodraethwr y byd oedd wedi ei osod yn nghalon yr ymerawdwr, rhagluniaeth ddwyfol yn cyflawni

* Mewn hanesyddiaeth chwedlaidd, Janus oedd y brenin cyntaf yn Itali, ac yn cydoesi a Saturn, ac yn teyrnasu yn Latinun. Yr ydoedd yn ol rhai yn fab yr haul, ac efe yw drysor y nefoedd; y mae efe yn agor y flwyddyn; y mae y mis cyntaf wedi ei enwi ar ei enw. Y mae yn llywodraethu ar y tymhorau, ac y mae yn cael ei ddangos fel â phedwar pen, ac adeiladwyd ei demlau â phedair ochr yn gyfartal. Yr oedd ei demlau yn aml yn Rhufain. Yn amser rhyfel yr oedd pyrth y prif deml, sef Janus Quirinus, yn wastad yn agored, ac yn amser heddwch yr oeddynt yn gauedig, i gadw y rhyfeloedd i mewn.

bwriadau a rhagddywediadau y nef. Y mae gorchymyn Rhufain yn gosod y natur ddynol mewn cyffro, a'r cwbl yn cael ei weithio gan fwriad dirgelaidd Duw Israel er mwyn cael Joseph a Mair i Bethlehem, fel y byddai Crist i gael ei eni yn ol yr ysgrythyrau. Iuddewon a Chenedloedd, dewch yn awr i gydmaru cofnodau mewn perthynas i enedigaeth yr Iesu yn Bethlehem.

Genedloedd, pa fodd y daethoch chwi i wybod am le ac amser genedigaeth Crist? "Ni a welsom ei seren ef yn y dwyrain;" hi a aeth o'n blaen, gan sefyll uwchben y lle yr oedd y "mab bychan." Iuddewon, dewch yn y blaen; *come to compare notes*. Beth sydd gyda chwi? Gyda ni, medd yr Iuddewon, y mae Moses a'r prophwydi, oll yn dwyn tystiolaeth, ac yn cyd-dystiolaethu mai yn Bethlehem y mae Crist i gael ei eni. Dyma Iuddewon a Chenedloedd yn cwrdd yn yr un Crist; un yn cael ei arwain gan y prophwydoliaethau, a'r llall gan y seren, a phawb yn cyfarfod yn Bethlehem Ephrata. Y mae y naill yn cadarnhau y llall. Y mae Iuddewon a Chenedloedd yn cydymddyddan yn felus: y mae yr Iuddewon yn dywedyd, Ganwyd y Messiah yn Bethlehem yn unol â geiriau ein prophwydi ni. O do, ebe y Cenedloedd, canys yno yr arweiniodd ein seren ninau y doethion. Os eich prophwydi chwi, ein seren ni. O ïe, ebe yr angylion a'r bugeiliaid, ond Crist Duw ydyw; plygwch bawb iddo, Iuddewon a Chenedloedd hefyd. Y mae trueni adnod gyntaf y benod hon yn cael ei wrthbwyso gan fendithion y testun. Y mae y barnau sydd yn Jerusalem yn fawr, eithr y mae y bendithion sydd yn dyfod o Jerusalem yn annhraethol fwy. Bendigedig, y mae yn well byw yn Bethlehem fach na Jerusalem fawr. Os bydd yn dywyll arnoch, fy mrodyr, edrychwch i dywyllwch Nazareth a Bethlehem cyn i'r haul godi, ac ymddiriedwch yn yr Arglwydd, "yr hwn sydd yn troi y nos yn ddydd, cysgod angau yn foreu-ddydd;" ac yn dyfod â phethau oddiamgylch ag sydd yn anmhosibl gyda dynion.

# PREGETH III.

## BRENINIAETH CRIST.

"Yr Iesu a atebodd, Fy mreniniaeth i nid yw o'r byd hwn. Pe o'r byd hwn y byddai fy mreniniaeth i, fy ngweision i a ymdrechent, fel na'm rhoddid i'r Iuddewon: ond yr awr hon nid yw fy mreniniaeth i oddiyma," Ioan xviii. 36.

Y MAE Crist yn frenin, ac y mae ganddo deyrnas; ond fel y dywed y testun, "nid o'r byd hwn." Y mae yr holl swyddau yn terfynu ynddo ef; efe yw y cwbl ei hun, ynddo ei hun; canys efe yw y "cyntaf a'r diweddaf, y dechreu a'r diwedd." Y mae efe yn Brophwyd, yn Offeiriad, ac yn Frenin. Yr oedd Melchisedec yn frenin ac yn offeiriad; Samuel yn brophwyd ac yn offeiriad; Dafydd yn frenin ac yn brophwyd; eithr Crist yn bob un o'r tri. Fel offeiriad, y mae yn gwasanaethu yn y nefoedd *dros* ddynion ger bron Duw; fel brenin a phrophwyd, y mae yn gweithredu ar y ddaear gyda dynion dros Dduw; fel offeiriad, yn prynu, trwy roddi aberth difai i Dduw. Fel prophwyd y mae yn egluro a datguddio y brynedigaeth i ddynion, ac fel brenin yn darostwng dynion i'w derbyn. Fel offeiriad y mae yn gwaredu yr eglwys, fel prophwyd y mae yn ei dysgu, ac fel brenin y mae yn ei llywodraethu. Y mae y tri eneiniad ag oedd gynt yn yr eglwys Iuddewig, sef prophwyd, offeiriad, a brenin, wedi eu sylweddoli mewn un Cyfryngwr. Y mae efe wedi derbyn tri o ddoniau penodol er addasrwydd i'w swydd, sef doethineb, santeiddrwydd, a gallu. Y mae doethineb yn gymhwysder at y swydd brophwydoliaethol, santeiddrwydd at y swydd offeiriadol, a gallu at y swydd freninol. Y mae y tri pheth uchod yn Nghrist yn cyfateb yn hollol i dri pheth ag sydd yn nhruenusrwydd ein sefyllfa. Euogrwydd, yr hyn sydd yn ein gwneyd yn agored i ddigofaint; gwrthryfelgarwch, trwy yr hyn yr ydym yn profi ein gelyniaeth at Dduw; a'n hanwybodaeth o beryglon, yr hyn sydd yn ein gwneyd yn agored i ddinystr tragywyddol. Y mae yn symud ein heuogrwydd, fel offeiriad, wrth farw trosom, a chymhwyso ei waed atom; y mae yn symud ein gwrthryfelgarwch, fel brenin, trwy ein plygu a'n darostwng i'w ewyllys; ac y mae yn cymeryd ymaith ein hanwybodaeth, fel Prophwyd, trwy ein goleuo a'n dysgu yn ffordd iachawdwriaeth. Bendigedig byth! dyma dri pheth yn Nghrist yn maeddu y tri pheth

gwaethaf sydd ynom ni, ïe, yn gwella ein holl ddrwg ni am dragywyddoldeb. Fel offeiriad, y mae yn gwneyd ei waith trwy aberthu ac eiriol; fel prophwyd a brenin, yn gweithio trwy ei air a goruchwyliaeth ei Ysbryd. Y mae fel brenin yn gorchymyn, ac fel prophwyd yn dysgu y gorchymynion i ddynion, a'u dysgu hwythau i'w cadw. Y mae fel prophwyd yn ein dysgu i ddeall y gwirionedd, ac fel brenin yn ein plygu a'n hystwytho i ufuddhau. Y mae gwaith Crist fel prophwyd yn dal perthynas a'r ddaear, er y bydd yn dysgu yn y nefoedd hefyd. Fel offeiriad, y mae yn gwasanaethu yn y nefoedd ac ar y ddaear; fel brenin, y mae yn llywodraethu ar y ddaear, yn y nefoedd, ac yn uffern. Y mae ei freniniaeth yn fwy cyffredinol na'r swyddau eraill. Fel brenin, y mae yn arglwyddiaethu ar ddynion, cythreuliaid, saint, angylion, haul, lleuad, ser, gwynt, dwr, tân, ïe, pob peth, yn mhob man. Y mae Crist yn offeiriad a phrophwyd i'r eglwys, eithr y mae yn frenin yn mhob man, ac ar bawb. Y mae holl waith yr iachawdwriaeth wedi ei gwblhau trwy deilyngdod, gwybodaeth, a choncwest, gan ein Hoffeiriad, ein Prophwyd, a'n Brenin. Sylwn ar dri pheth oddiwrth y testun.

I. Fod Crist yn frenin.

II. Fod ganddo deyrnas.

III. Fod ei deyrnas yn ysbrydol. Nid yw o'r byd hwn; y mae uwchlaw hwn, am hyny yn rhagorach na theyrnasoedd y ddaear hon.

I. Y mae Crist yn frenin. Mae gan freninoedd eu teyrnasoedd, eu coronau, eu palasau, eu gorseddfeinciau, eu llysoedd, eu gwisgoedd breninol—*royal robes*—eu teyrnwiail, eu cleddyfau, eu titlau, eu *guards*, eu banerau, eu cerbydau, a rhyw rai yn gwaeddi o'u blaen, *God save the King:* fel hyn yr oedd ar goroniad y brenin George er ys ychydig yn ol. Ond, fy nghyfeillion, y mae y pethau hyn, a mil mwy, gan ein Brenin ni. Y mae fy enaid wrth ddechreu bron mewn hwyl i waeddi, Byw fyddo y Brenin Iesu yn oes oesoedd. Nid oes arnom ni eisiau un brenin ond Iesu.

1. Y mae ganddo ditl a braint brenin. Mae yn cael ei alw yn "Dywysog breninoedd y ddaear;" "Brenin y breninoedd, ac Arglwydd yr arglwyddi."

2. Nid yn unig y mae yn frenin o herwydd titl, ond hefyd gwir hawl. *He is the King in his own right.* "Mi a fynegaf dy gyfiawnder a'th weithredoedd," Esay lvii. 12. Y mae ganddo ditl gyfiawn i'r freniniaeth—

(1.) Oddiwrth yr undeb personol a naturiol rhyngddo a'r Tad a'r Ysbryd. Mae ganddo hawl gyfartal gyda hwy yn y llywodraeth yn naturiol. Nid dyn yn unig yw Crist, fel y dywed y Sosiniaid, ond hefyd yn wir Dduw. Dylem ei barchu fel deiliaid ei lywodraeth: y mae breninoedd yn cael eu parchu gan eu deiliaid, a phaham na chaiff Grist, y Brenin tragywyddol, ei barchu? Os na phlygwch o'ch bodd, chwi blygwch o'ch anfodd yn y diwedd; canys y mae yn rhaid i bob glin blygu, o'r nefolion, a'r daearolion, a than-ddaearolion bethau; cyffesa "pob tafod fod Iesu Grist yn Arglwydd, er gogoniant Duw Dad," Phil. ii. 10, 11.

(2.) Mae yn frenin yn etifeddiaethol. Mab Duw ydyw. Mae y Tad yn Arglwydd pâwb oll, a phob peth oll. Os ydyw yn Fab, y mae yn etifedd hefyd. Yr unig ddadl a ellir godi yn ei erbyn yw tybio fod gan ei Dad chwaneg o feibion; ac wedi hyny y mae yn amheus pa un ai efe ynte un o'r lleill yw yr etifedd. Crist yw y Mab hynaf, ïe, yr unig-anedig Fab. "A thrachefn, pan yw yn dwyn y cyntaf-anedig i'r byd y mae yn dywedyd, Ac addoled holl angylion Duw ef," Heb. i. 6.

(3.) Y mae ei ditl yn dda fel dyn. O had Dafydd yn ol y cnawd. O'r teulu breninol mewn cysylltiad a thad a mam.

(4.) Y mae ganddo hawl i lywodraethu y greadigaeth fel ei Chreawdwr. Yn gymaint a'i fod wedi gwneyd y cwbl, y mae ei hawl yn gyflawn a hollol i'r arglwyddiaeth. "Hwn oedd yn y dechreuad gyda Duw. Trwyddo ef y gwnaethpwyd pob peth; ac hebddo ni wnaethpwyd dim a'r a wnaethpwyd." "Canys trwyddo ef y crewyd pob dim a'r sydd yn y nefoedd, ac sydd ar y ddaear, yn weledig ac yn anweledig, pa un bynag ai thronau, ai arglwyddiaethau, ai tywysogaethau, ai meddianau; pob dim a grewyd trwyddo ef, ac erddo ef," Ioan i. 2, 3. Col. i. 16.

(5.) Y mae ganddo hawl mewn prynedigaeth. Trwy ei deilyngdod boddlonodd y nefoedd am ein troseddau yn erbyn gorsedd ei Dad. Talodd ein dyled i'r goron trwy ei ufudddod gweithredol a dyoddefol, nes haeddu yn llawn goron a gorsedd. Pwrcasodd yr eglwys â'i briod waed, Act. xx. 28.

(6.) Y mae ganddo hawl trwy goncwest. Y mae wedi gwaredu ei ddeiliaid nid yn unig oddiwrth euogrwydd pechod, ond hefyd oddiwrth gaethiwed a llywodraeth pechod. Os darostyngwyd ni o dan lywodraeth Satan trwy bechod, y mae Crist yn *pledio* hawl ynom yn awr, o herwydd iddo

goncro diafol, a'i lwyr ddarostwng. Gan fod Crist wedi ein gwaredu trwy ei allu, a thrwy daliad llawn, y mae ganddo fwy o hawl i fod yn frenin arnom na neb arall. "Gan wybod nad â phethau llygredig, megys arian neu aur, y'ch prynwyd oddiwrth eich ofer ymarweddiad, yr hwn a gawsoch trwy draddodiad y tadau; eithr â gwerthfawr waed Crist, megys Oen difeius a difrycheulyd," 1 Pedr i. 18, 19.

(7.) Y mae wedi derbyn hawl gyfreithlon oddiwrth y Tad. Mae y Tad wedi rhoddi pob peth yn ei law. "Gwael yw dy fod yn was i mi, i gyfodi llwythau Jacob, ac i adferu rhai cadwedig Israel: mi a'th roddaf hefyd yn oleuni i'r cenedloedd, fel y byddych yn iachawdwriaeth i mi hyd eithaf y ddaear," Esay xlix. 6. "Rhoddaf derfynau y ddaear i'th feddiant," Sal. ii. 8. Mae genym yr addewid mewn cyflawniad yn nghodiad Crist o'r bedd, pryd y mae yn cymeryd yr holl awdurdod i'w law. "Rhoddwyd i mi bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear," Mat. xxviii. 19. Mae y Tad wedi ei *wneyd* yn Arglwydd. "Am hyny gwybydded holl dŷ Israel yn ddyogel, ddarfod i Dduw wneuthur yn Arglwydd ac yn Grist yr Iesu hwn a groeshoeliasoch chwi," Act. ii. 36. Y mae y Tad wedi rhoddi pob peth iddo, fel y byddai yn Arglwydd ar y cwbl. "Mi a eglurais dy enw i'r dynion a roddaist i mi allan o'r byd: eiddot ti oeddynt; a thi a'u rhoddaist hwynt i mi," Ioan xvii. 6. "Ac a ddarostyngodd bob peth dan ei draed, ac a'i rhoddes ef yn ben uwchlaw pob peth i'r eglwys," Eph. i. 22. Cynygiodd diafol holl deyrnasoedd y byd a'u gogoniant iddo, eithr ei *impudence* ef oedd hyny; nid oedd ganddo un titl i deyrnasoedd y byd, nid efe oedd eu perchen; traws-feddianydd annghyfiawn ydoedd. Duw biau y cwbl, ac y mae yn rhoddi y cwbl i Grist. Pa mor gryf bynag yw titlau breninoedd y ddaear i'w gorseddau, y mae *magna charta* Duw yn gwneyd titl Iesu Grist yn gryfach na hwynt oll. Bendigedig! coronau lawer fyddo ar ben Brenin Sïon. Yr oedd y bobl wedi bod rai gweithiau yn ceisio gwneyd Crist yn frenin, eithr efe a giliai; ni chymerai ei wneyd gan ddynion; yr oedd ei ditl i'r freniniaeth yn uwch na'r byd hwn. Mae y Tad yn ei alw, "Fy Mrenin," Sal. ii. 6. Mae y tywysogion daearol yn cydnabod fod eu gosodiad o Dduw, mai gweision ydynt hwy i'r Goruchaf. "*George, by the grace of God king of England, Scotland, and Ireland.*" Y mae yr Arglwydd Iesu wedi rhoddi rhyw ychydig o dan ddwylaw hwn a'r llall, i'w drin o dano. Nid

*king of England, Scotland, and Ireland*, eithr *King of all lands* yw Brenin Sïon. "O fôr i fôr, ac o'r afon hyd derfynau y ddaear." Y mae y Tad wedi ymddiried y cwbl iddo hyd eithaf y ddaear.

(8.) Y mae ganddo hawl i'r freniniaeth o herwydd dewisiad gwirfoddol y deiliaid. Mae holl angylion y nefoedd wedi cymeryd llw o ffyddlondeb i'w lywodraeth. *The oath of allegiance is taken in heaven.* Y mae yr holl saint ar y ddaear hefyd "yn ewyllysgar yn nydd ei nerth;" ac yn swper yr Arglwydd y maent yn cymeryd llw i ufuddhau iddo yn dragywydd. Maent yn cymeryd yr arian, ac yn *listio* o dan ei faner yn ngalwad yr efengyl, yn gwisgo *livery* y Brenin; yn taflu ymaith yr hen ddillad, ac yn gwisgo *ornament* y llys; yn ysgrifenu â'u llaw, Eiddo Brenin Sïon ydwyf fi byth. Pa le y mae ei elynion sydd yn ceisio gwadu ei hawl i'r freniniaeth? Dewch yn y blaen, chwi Ddeistiaid a Sosiniaid; y mae genyf chwaneg o *ditle deeds* er dangos ei hawl i'w deyrnas.

(1.) Prophwydoliaethau. "Nid ymedy y deyrnwialen o Judah, na deddfwr oddi rhwng ei draed ef, hyd oni ddel y Siloh; ac ato ef y bydd cynulliad pobloedd," Gen. xlix. 10. Nid oes deyrnwialen na deddfwr yn Judah, ar y ddaear, oddiar pan y daeth Crist. Y mae y deyrnwialen, y deddfwr, y goron, yr orseddfainc, y llys, Jerusalem, a'r cwbl yn awr yn y nefoedd, "o'r lle yr ydym yn dysgwyl yr Iachawdwr."

(2.) Braint-ysgrif, hen *charter* y nef. Llyfr yr addewidion "mawr iawn a gwerthfawr." "Canys bachgen a aned i ni, mab a roddwyd i ni, a bydd y llywodraeth ar ei ysgwydd ef; a gelwir ei enw ef, Rhyfeddol, Cynghorwr, y Duw cadarn, Tad tragywyddoldeb, Tywysog tangnefedd. Ar helaethrwydd ei lywodraeth a'i dangnefedd ni bydd diwedd; ar orseddfa Dafydd, ac ar ei freniniaeth ef, i'w threfnu hi, ac i'w chadarnhau â barn ac â chyfiawnder, o'r pryd hyn a hyd byth," Esay ix. 6, 7. "Bydd lawen iawn, ti ferch Sïon; a chrechwena, ha ferch Jerusalem. Wele dy frenin yn dyfod atat; cyfiawn ac achubydd yw efe; y mae efe yn llariaidd, ac yn marchogaeth ar asyn, ac ar ebol llwdn asyn," Zec. ix 9. "A thithau Bethlehem Ephrata, er dy fod yn fechan yn mhlith miloedd Judah, eto o honot ti y daw allan i mi un i fod yn Llywydd yn Israel, yr hwn yr oedd ei fynediad allan o'r dechreuad, er dyddiau tragywyddoldeb," Micah v. 2. Dywedodd yr angel wrth Mair cyn ymddwyn y plentyn yn y

bru, mai brenin oedd i gael ei eni o honi. "Hwn fydd mawr, ac a elwir yn Fab y Goruchaf; ac iddo y rhydd yr Arglwydd Dduw orseddfa ei dad Dafydd. Ac efe a deyrnasa ar dŷ Dafydd yn dragywydd; ac ar ei freniniaeth ni bydd diwedd," Luc i. 32, 33.

4. Y mae Crist yn frenin trwy gydsyniad cyfeillion a gelynion. Cydnabyddwyd ef yn frenin gan y byd, gan uffern, gan ddynion, gan gythreuliaid, gan saint, gan bechaduriaid, gan y doethion; hwy a ddaethant o'r dwyrain i'w addoli dan y cymeriad o frenin yr Iuddewon. Y mae Pilat, o dan oruwchlywodraethiad y nefoedd, yn ei gyhoeddi yn frenin. "A Philat a ysgrifenodd ditl, ac a'i dododd ar y groes. A'r ysgrifen oedd, Iesu o Nazareth, Brenin yr Iuddewon. Y titl hwn gan hyny a ddarllenodd llawer o'r Iuddewon: oblegyd agos i'r ddinas oedd y fan lle y croeshoeliwyd yr Iesu; ac yr oedd wedi ei ysgrifenu yn Hebraeg, Groeg, a Lladin. Yna arch-offeiriaid yr Iuddewon a ddywedasant wrth Pilat, Na ysgrifena Brenin yr Iuddewon; eithr dywedyd o hono ef, Brenin yr Iuddewon ydwyf fi. Pilat a atebodd, Yr hyn a ysgrifenais, a ysgrifenais," Ioan xix. 19—21. Y mae mwy nag awdurdod Pilat am beidio newid yr ysgrifen; y mae Duw yn y nefoedd yn goruwch-lywodraethu. Y mae yr holl efengylwyr yn crybwyll am y titl hwn, yr hyn sydd yn dangos eu bod yn gweled rhyw fawredd a dirgelwch ynddo. Nid yw y geiriau yn cynwys achos ei gondemniad, ac achwyniadau yr Iuddewon, eithr yn cynwys cyhoeddiad eglur o'i ogoniant yn ei freniniaeth. Iesu o Nazareth, Brenin yr Iuddewon. Felly rhoddwyd y titl hwn iddo gan y nefoedd, trwy ddwylaw Pilat, er egluro fod Crist yn frenin pan yn marw ar y groes. "Yna milwyr y rhaglaw a gymerasant yr Iesu i'r dadleudy, ac a gynullasant ato yr holl fyddin. A hwy a'i dyosgasant ef, ac a roisant am dano fantell o ysgarlad. Ac wedi iddynt blethu coron o ddrain, hwy a'i gosodasant ar ei ben ef, a chorsen yn ei law ddeheu, ac a blygasant eu gliniau ger ei fron ef, ac a'i gwatwarasant, gan ddywedyd, Henffych well, Brenin yr Iuddewon," Mat. xxvii. 27—29. Chwi welwch, fy nghyfeillion, y milwyr yn ei goroni, yn ei wisgo mewn *royal robes*, yn rhoddi teyrnwialen yn ei law, ac yn plygu glin iddo. Cellwair, y mae yn debyg, oedd y peth ganddynt hwy; eithr yr oedd y nefoedd uwchben yn *serious*, ac yn peri i fawrhydi breninol ei Fab gael ei gydnabod gan ddynion mewn tywyllwch. Ni ddaeth Crist yn y cnawd i'r

dyben uniongyrchol o egluro ei fawredd breninol; nid i fod yn farnwr, eithr yn Iachawdwr. Y mae natur ei swyddogaeth yn argraffedig yn ei enw, ac wedi ei esbonio gan angel. "Ti a elwi ei enw ef Iesu; oblegyd efe a wared ei bobl oddiwrth eu pechodau." Er hyny, llewyrchodd allan ychydig o belydrau ei ogoniant breninol yn ei ddarostyngiad iselaf. Yn ei enedigaeth yr oedd lluaws o lu nefol yn cyhoeddi fod Ceidwad wedi ei eni, ac mai Crist yr Arglwydd oedd hwnw. Y seren yn arwain y doethion o'r dwyrain i dalu cydnabyddiaeth breninol iddo. "A phan ddaethant i'r tŷ, hwy a welsant y mab bychan gyda Mair ei fam; a hwy a syrthiasant i lawr, ac a'i haddolasant ef; ac wedi agoryd eu trysorau, a offrymasant iddo anrhegion; aur, thus, a myr," Mat. ii. 11. Rhoddodd ychydig amlygiadau o'i fawredd breninol i'w ddysgyblion yn ei fywyd, yr hyn oedd yn eu gorfodi i ddywedyd gyda Nathanael, "Tydi yw Mab Duw; tydi yw Brenin Israel," Ioan i. 49. Gorchymynai gyda y fath awdurdod y gwynt a'r môr yn ddystaw a llonydd, nes oedd pawb yn gwaeddi allan mewn syndod, "Pa ryw un yw hwn, gan fod y gwyntoedd hefyd a'r môr yn ufuddhau iddo?" Yr oedd y gwynt a'r môr, pe buasent hwy yn deall, yn arfer ufuddhau iddo; yr oeddynt yn adnabod yn burion pwy ydoedd. Efe oedd yr hwn a gauodd y môr â dorau, pan ruthrodd efe allan megys pe deuai allan o'r groth; gan ddywedyd, Hyd yma y deui, ac nid yn mhellach; ac yma yr atelir ymchwydd dy donau di, Job xxxviii. 11. Y mae efe yn danfon am yr asen heb ofyn cenad y perchenog, gan ddywedyd, "Ewch i'r pentref sydd ar eich cyfer, ac yn y man chwi a gewch asyn yn rhwym, ac ebol gyda hi: gollyngwch hwynt, a dygwch ataf fi. Ac os dywed neb ddim wrthych, dywedwch, Y mae yn rhaid i'r Arglwydd wrthynt; ac yn y man efe a'u denfyn hwynt. A hyn oll a wnaethpwyd, fel y cyflawnid yr hyn a ddywedasid trwy y prophwydi, yn dywedyd, Dywedwch i ferch Sïon, Wele dy Frenin yn dyfod i ti yn addfwyn, ac yn eistedd ar asyn, ac ebol llwdn asen arferol â'r iau," Mat. xxi. 2—5. Y Brenin Iesu biau y ddaear a'i chyflawnder, am hyny dywedwch, os gofyn neb, fod yn rhaid iddo gael yr eiddo ei hun. Rhoddodd eglurhad o'i fawrhydi breninol pan yn marchogaeth tua Jerusalem ar yr asen. Yr oedd y ddaear bron yn neidio o dano; y coed a'r ceryg bron yn gwaeddi allan. "A thyrfa ddirfawr a daenasant eu dillad ar y ffordd; eraill a dorasant gangau o'r gwydd, ac a'u taenasant ar hyd y ffordd. A'r torfeydd, y rhai

oedd yn myned o'r blaen, a'r rhai oedd yn dyfod ar ol, a lefasant, gan ddywedyd, Hosanna i fab Dafydd: bendigedig yw yr hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd: Hosanna yn y goruchafion. Ac wedi ei ddyfod i mewn i Jerusalem, y ddinas oll a gynhyrfodd, gan ddywedyd, Pwy yw hwn? A'r torfeydd a ddywedasant, Hwn yw Iesu, y prophwyd o Nazareth yn Galilea," Mat. xxi. 8—11. Y mae yn cymeryd yr awdurdod i guro y marsiandwyr o'r deml, yr hyn fuasai yn berygl i ddyn cyffredin. Gwrthododd yr offeiriaid ef; "Eithr hwy a lefarasant, Ymaith ag ef; croeshoelier ef," Ioan xix. 15. Ond y bobl a'i harddelodd ac a'i cyhoeddodd yn frenin, gan ddywedyd, "Bendigedig yw y brenin sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd: tangnefedd yn y nef, a gogoniant yn y goruchaf," Luc xix. 38. Gogoniant, medd fy enaid tlawd inau hefyd. Caiff fy enaid inau ymuno â'r nefoedd a'r ddaear i'w goroni yn oes oesoedd. Bydded y Brenin Iesu byw yn dragywydd.

Yn awr, fy nghyfeillion, cewch ditl y Brenin hwn oddiwrth y gwynt a'r môr, angau a'r bedd. Dacw Lazarus yn dyfod allan i dystiolaethu i'r gwirionedd. Yr oedd clefydau ac angau yn ffoi o flaen ei orchymyn ef. Gofynwch i'r deillion, a hwy a waeddant allan, Nyni a gawsom ein llygaid ganddo; Hosanna i fab Dafydd. Gofynwch i'r byddariaid, a dywedant, Cawsom ein clustiau. Gofynwch i'r cloffion, hwythau a dystiolaethant iddynt gael traed ganddo. Gofynwch i'r cleifion, a dywedant, Cawsom iechyd yn rhad. Gofynwch i'r meirw, a dywedant, Cawsom ninau fywyd. Gofynwch i'r cythreuliaid, a dywedant, "Ni a'th adwaen di, pwy ydwyt, Iesu Fab Duw; beth sydd i ni a wnelom â thi? a ddaethost ti yma i'n poeni ni cyn yr amser? A'r cythreuliaid a ddeisyfasant arno, gan ddywedyd, Os bwri ni allan, caniata i ni fyned ymaith i'r genfaint foch. Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ewch," Mat. viii. 29—40. Gogoniant, y mae wedi ysigo pen y sarph, wedi dinystrio yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo; hyny yw, diafol," Heb. ii. 14. Y mae diafol yn cydnabod fod ei ben wedi ei ysigo; ni bu yr un fath byth wedi i Grist drengu ar y groes. Mae angau yn cydnabod hefyd fod ei golyn wedi ei dynu, a'r bedd yn dywedyd ei fod yntau wedi colli yr agoriadau.

5. Y mae Crist nid yn unig â hawl, ond y mae erbyn heddyw mewn cyflawn feddiant. Mae efe wedi ei ddyrchafu i'r orsedd. Ni chaf ddywedyd yn awr am ei eneiniad ag olew

santaidd i'w swydd, eithr am ei goroniad a'i ddyrchafiad i'r orsedd. Yr ydym yn darllen am y Tad yn ei eneinio ag olew gorfoledd tu hwnt i'w gyfeillion, Heb. i. 9. "Hwn a seliodd Duw Dad," Ioan vi. 27. Y mae Duw Dad yn ei goroni â gogoniant. "A gogoniant ac anrhydedd y coronaist ti ef, ac a'i gosodaist ef ar weithredoedd dy ddwylaw; ti a ddarostyngaist bob peth dan ei draed ef," Heb. ii. 7, 8. Mae ei fam hefyd, sef yr eglwys, yn ei goroni â choronau lawer. Mae y Brenin yn cael miloedd o goronau bob dydd oddiwrth y saint, y rhai a waredodd efe trwy ei waed. Ar ei ben bendigedig y byddo coronau diddiwedd o fawl, am iddo farw yn ein lle, a'n prynu i Dduw trwy ei waed. Coronwch ef, fy mrodyr, â moliant am hyn. Y mae fy enaid yn barod i'w goroni y fynyd hon. Gogoniant! ar ei ben y byddo y goron yn oes oesoedd. Ewch allan, ferched Sïon, ac edrychwch ar y brenin Solomon yn y goron â'r hon y coronodd ei fam ef yn ei ddydd dyweddi ef, ac yn nydd llawenydd ei galon ef, Can. iii. 11. Edrychwch arno yn ei ddyrchafiad a'i eisteddiad ar yr orsedd, a'r holl nefoedd yn plygu iddo. "Dyrchafodd Duw â llawen-floedd, yr Arglwydd â sain udgorn," Sal. xlvii. 5. "O byrth, dyrchefwch eich penau; ac ymddyrchefwch, ddrysau tragywyddol; a Brenin y gogoniant a ddaw i mewn," Sal. xxiv. 7. Y mae y geiriau hyn yn dangos llawenydd y nefoedd, pan y dychwelodd adref. Yr oedd yr holl drigfanau tragywyddol yn fawl drwyddynt oll. Dawnsiodd y brenin Dafydd pan dygwyd yr arch i Sïon; eithr y mae yr holl nefoedd yn dawnsio, yn canu, ac yn bloeddio, ac yn curo dwylaw pan y mae Brenin y gogoniant yn dychwelyd adref, ac yn cymeryd meddiant fel Cyfryngwr o'r trigfanau tragywyddol. "A mi a edrychais, ac a glywais lais angylion lawer yn nghylch yr orseddfainc, a'r anifeiliaid, a'r henuriaid: a'u rhifedi hwynt oedd fyrddiynau o fyrddiynau, a miloedd o filoedd: yn dywedyd â llef uchel, Teilwng yw yr Oen, yr hwn a laddwyd, i dderbyn gallu, a chyfoeth, doethineb, a chadernid, ac anrhydedd, a gogoniant, a bendith," Dat. v. 11, 12. Nid yn unig fe ddawnsiodd y brenin Dafydd o flaen yr arch, ond hefyd yr offeiriaid a chwythasant yn eu cyrn, a bloeddiodd y bobl ganu mewn llawenydd. Nid oedd gwaeddi a bloeddio mawr ar y ddaear pan esgynodd Mab Duw; yr oedd y llawenydd a'r gorfoledd y tu fewn i'r llen, yn mhlith yr angylion, y gwaredigion dan yr hen oruchwyliaeth, y patrieirch, y prophwydi, yr offeiriaid, a'r bobl o bob gradd. *They made heaven*

*ring with shouts that day.* Yr oedd bryniau tragywyddoldeb yn adsain gan eu caniadau; ac felly y byddant yn dragywyddol mwy. Yr oedd y Tad yntau yn gwaeddi, Tyred yn y blaen; "eistedd ar fy neheulaw;" y mae yn bryd i ti orphwys bellach, fy anwyl Fab. Y mae dagrau a gruddfanau y groes wedi eu sychu ymaith: yr oedd yma heb le i roddi ei ben i lawr, yn cael ei gyfrif gyda throseddwyr a chablwyr, a'i erlid i farwolaeth; eithr yn awr yn byw yn nghanol mawl y gwaredigion. Daw eto yn y man gyda "bloedd yr arch-angel, ac udgorn Duw." Ganwyd ef yn ein byd ni mewn ystabl, eithr yn awr y mae yn y lle uchaf yn y nefoedd; dyoddefodd y groes, ond yr awr hon y mae yn gwisgo y goron; cafodd gabledd oddiwrth ddynion yma, eithr yn bresenol y y mae yn derbyn Haleluia oddiwrth saint ac angylion.

6. Y mae yn awr wedi ei gadarnhau mewn cyflawn awdurdod breninol. Yr ydoedd wedi ei neillduo yn frenin yn nhragywyddoldeb, a chyhoeddwyd ef yn frenin yn Eden i ysigo pen y sarph; ymeglurodd ar Sinai yn rhoddiad y gyfraith danllyd, yn nghanol y mellt a tharanau, yn mhresenoldeb tyrfa fawr o bobl. Sefydlodd yr eglwys a'r wladwriaeth Iuddewig; ordeiniodd henuriaid, offeiriaid, arch-offeiriaid, prophwydi, a breninoedd o dano ei hun, i lywodraethu yn ol y cyfreithiau gosodedig, y rhai oeddynt gysgodau o lywodraeth well, ar ol ei adgyfodiad ef oddiwrth y meirw. Gorchymynwyd i holl lywodraeth Duw i ymostwng iddo yn ei balas newydd, ac yn ei ddillad newydd, yn y natur ddynol. Yr angylion a'i addolasant; ac, fel y dywedais o'r blaen, yr oedd ei ymddangosiad cyntaf yn eglurhad o'i swydd offeiriadol yn benaf, er fod ychydig o fawredd ei freniniaeth megys yn dianc yma a thraw; ond wedi ei adgyfodiad oddiwrth y meirw a'i esgyniad i'r nefoedd, y mae y llen yn cael ei rhwygo, a'r mawr rhagorol ogoniant yn dyfod yn hollol i'r golwg. Y mae mawredd ac awdurdod dwyfol yn egluredig yn nhywalltiad yr Ysbryd Glân ar ddydd y Pentecost, ac yn nghasgliad ei eglwys o blith y Cenedloedd, a'r Iuddewon hefyd. Y mae yn danfon cleddyf yr Ysbryd yn nwylaw y dysgyblion i bob gwlad, i holl deyrnasoedd a thywysogaethau y byd, heb genad neb o lywiawdwyr y ddaear, yr hyn sydd yn dywedyd ei fod yn uwch brenin na hwy, a bod holl natur o dan ei awdurdod. Rhoddodd ergyd marwol i annghrist yn y diwygiad Germanaidd; ac y mae yn parhau i ergydio ar ben Babilon, y butain fawr, nes y bydd wedi ei llwyr ddinystrio.

Y mae y gau-brophwyd Mahomet i syrthio o'i flaen; a dychweliad yr Iuddewon ato ei hun i gymeryd lle yn fuan; y mae cyflawnder y Cenedloedd i ddod i mewn, a Satan i gael ei rwymo, ac yna y teyrnasa yn fuddugoliaethus am fil o flynyddoedd. Y gareg fach, a dorwyd nid â llaw, a dreigla am draws y Pab, Mahomet, Paganiaeth, Iuddewaeth, anffyddiaeth, a Sosiniaeth, ac a â yn fynydd mawr, gan lenwi yr holl ddaear. "Holl deyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni, a'i Grist ef." "Rhaid iddo deyrnasu hyd oni osodo ei holl elynion yn droedfainc i'w draed." Henffych y boreu y bydd ein Brenin bendigedig uwchlaw pawb ar y ddaear, megys y mae yn y nefoedd.

7. I wneyd ei ditl yn fwy eglur byth, y mae ganddo yr holl arwyddnodau breninol. Coronwyd ef, fel y dywedasom, gan y Tad, nid â drain, ond â gogoniant ac anrhydedd. Y nefoedd yw ei orseddfainc, y ddaear yw lleithig ei draed. "Wrth y Mab, dy orseddfainc di, O Dduw, sydd yn oes oesoedd; teyrnwialen uniondeb yw teyrnwialen dy deyrnas di," Heb. i. 8. Teyrnwialen o aur i lywodraethu ei ddeiliaid, teyrnwialen haiarn i ddarostwng ei elynion, a'u dryllio hwy yn chwilfriw. Y mae cleddyf dau-finiog yn ei law, yn tori wyneb a chefn. "Gwregysa dy gleddyf ar dy glun, O gadarn, a'th ogoniant a'th harddwch. Ac yn dy harddwch marchog yn llwyddianus; o herwydd gwirionedd, a lledneisrwydd, a chyfiawnder: a'th ddeheulaw a ddysg i ti bethau ofnadwy. Pobl a syrthiant danat; o herwydd dy saethau llymion yn glynu yn nghalon gelynion y brenin," Sal. xlv. 3—5. *Coat of arms* ein brenin ni yw y Llew a'r Groes. Llew o lwyth Judah, yn gorchfygu ei elynion; a Christ ar y groes yn gwaredu ei bobl oddiwrth eu pechodau. Y mae fel brenin yn rhoddi cyfreithiau. Rhoddodd y ddeddf foesol ar Sinai, a deddf ffydd o Sïon. Y mae ganddo orseddfeinciau lawer; y mae yn gwneyd eich calonau yn orseddau, ac yn teyrnasu trwy ras i fywyd tragywyddol arnynt.

Y mae ei lys penaf yn y nefoedd, eithr y mae yn fynych yn cadw llysoedd yn y wlad, yn gystal a'r brifddinas. Pa le bynag y byddo dau neu dri wedi ymgynull yn ei enw, y mae yno lys gan y Brenin, ac y mae efe yn preswylio yn y canol, ac yn bendithio. Y mae ganddo bendefigaeth ardderchog. Seraphiaid, cerubiaid, a'r rhai rhagorol y ddaear; dyma *nobility* na fydd ddim cywilydd gan y nefoedd eu hanrhydeddu byth. Yr angylion yw ei gerbydau a'i *royal guard*. Yr oedd

ganddo ddeg mil o gerbydau yn ei *drain* ar ddydd ei goroniad; mil o filoedd o weision, wrth ddrws y palas, yn barod i'w dderbyn, a gwasanaethu arno. Weithiau y mae yn gwneyd y "cymylau yn gerbyd iddo, ac yn marchog ar adenydd y gwynt." "Ac y mae ganddo ar ei wisg, ac ar ei forddwyd, enw wedi ei ysgrifenu, Brenin y breninoedd, ac Arglwydd yr arglwyddi," Dat. xix. 16. Gwelodd Daniel ei wisg freninol, ac yr ydoedd cyn wyned a'r eira, Dan. vii. 9. Gwelodd Esay ef mewn gwisgoedd cochion, yn dychwelyd o faes y gwaed. Y mae ganddo hefyd swyddwyr lawer yn ei deyrnas. Apostolion, prophwydi, efengylwyr, dysgawdwyr, henuriaid, a diaconiaid. Y mae efe wedi ymddiried agoriadau y deyrnas iddynt, i gadw gwyliadwriaeth ar yr athrawiaeth a'r ddysgyblaeth. Cenadon y brenin yw gweinidogion y Testament Newydd, y rhai sydd yn negeseua rhwng y ddwy wlad. "Yr ydym ni yn genadau dros Grist, megys pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwyddom ni: yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymoder chwi â Duw," 2 Cor. v. 20. Y mae *champions* hefyd yn nheyrnas y Cyfryngwr. Yr oedd yr apostol Paul yn brif *champion* yn oes yr apostolion, a miloedd o ferthyron, yn ngwahanol oesau y byd yn ymladd hyd angau ar y maes gwaedlyd, o "blaid y ffydd a roddwyd unwaith i'r saint." Y mae ganddo luoedd hefyd. Y mae lluoedd o ser yn ymladd yn ei wasanaeth weithiau; yr haul a'r lleuad fel *commanders-in-chief* yn mhlith y llu; eithr y cwbl o dan gyfarwyddyd yr *home government*. Brenin Sïon y tu cefn i'r holl luoedd. Y mae y gwynt ystormus, y dwr, y gwlaw, yr eira, y cenllysg, y pläau, y clefydau, y daeargrynfäau, y llau, a'r llyffaint yn *army* ein brenin ni. Pob peth at ei wasanaeth. Aeth allan i ddarostwng yr Aipht â *regiment* o lyffaint, a daeth a'r hen Pharaoh yn fuan i'w synwyrau. Ymosododd ar Herod â byddin o lau, a threngodd yn yr ymosodiad cyntaf. Nid yn unig y mae yn cospi fel brenin, eithr y mae yn gwobrwyo hefyd fel brenin. Gwobrwyodd yr hen leidr â pharadwys, y gair cyntaf: "Heddyw y byddi gyda mi yn Mharadwys." Y mae ganddo awdurdod i gadw a cholli; i roddi bywyd, i faddeu pechodau, ac i gospi yr anedifeiriol â chospedigaeth dragywyddol. Uffern yw ei garchar; ac y mae yn carcharu, nid am saith mlynedd, ond am dragywyddoldeb. Nid yw Crist yn frenin trwy draws-feddiant, chwi welwch, eithr trwy roddiad y Tad, a thrwy ei deilyngdod ei hun; efe a brynodd ei ddeiliaid â'i briod-waed; efe a dywalltodd fôr o

waed, ac a nofiodd trwyddo i'r orseddfainc. Felly y mae yn awr yn eistedd ar orseddfa ei ogoniant, yn byw mewn bri a mawredd gogoneddus. Pe bai ond ymweled â ni y cyfarfod hwn, ni waeddem gyda y dyrfa pan oedd yn myned i Jerusalem, "Hosanna i Fab Dafydd; bendigedig yw yr hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd."

II. Y mae ei freniniaeth yn ysbrydol. "Nid yw o'r byd hwn." Nid yw yn dywedyd nad yw ei freniniaeth *yn* y byd hwn, eithr "nid yw o'r byd hwn."

1. Nid yw y Brenin o'r byd hwn. Nid oedd na rhwysg nac ardderchogrwydd o'i gwmpas ef, fel y gwelir mewn cysylltiad a breninoedd y ddaear; eithr yn hollol wrthwynebol; canys gostyngeiddrwydd a thlodi oedd yn weledig i bawb ynddo ef. "Wele dy frenin yn dyfod atat; y mae efe yn llariaidd, ac yn marchogaeth ar asyn, ac ar ebol llwdn asyn," Zec. ix. 9. "Y mae Mab y dyn heb le i roddi ei ben i lawr." Pan yr ewyllysiai y bobl ei gipio i'w wneyd yn frenin daearol y mae yn cilio rhagddynt; eithr pan ddaethant i'w ddal fel troseddwr ni chiliodd, ond cymerodd ei rwymo yn ewyllysgar, ei groeshoelio, a'i ladd. Felly, chwi welwch, yr ydoedd yn annhebyg i freninoedd y byd hwn. Y mae yr anffyddiwr yn barod i wneyd yn ysgafn o'r mater hwn, a dirmygu breniniaeth Crist o herwydd yr annhebygolrwydd sydd ynddi i bob peth cyffelyb yn y byd hwn. "Ah," eb efe, "brenin cyfrifol sydd gyda chwi; dyn grogwyd am ddwyn asyn; Brenin cyfrifol yn wir; pwy glywodd am freninoedd yn cael eu geni mewn ystablau? Mae gan freninoedd balasau i'w derbyn. A ydyw preseb yn gryd priodol i frenin? Ystablau ydynt leoedd i anifeiliaid; presebau ydynt yn perthyn i ychain. Bethlehem yn lle genedigol, Nazareth anenwog yn lle dygiad i fyny; am yr hwn le y gofynwyd, A ddichon dim da ddyfod o hono? Pw! y mae offer saer yn fwy gweddus iddo na theyrnwialen brenin. Y mae gan freninoedd goronau; a choronwyd yntau â drain o ddirmyg, am ei anturiaeth a'i ryfyg. Cafodd groes yn lle gorsedd, y mynydd yn lle llys, publicanod a phechaduriaid yn bendefigaeth; pysgotwyr Môr Galilea yn weinidogion; Pedr yn *champion*, yr hwn a orchfygwyd gan forwynig fechan, yr hon a wnaeth iddo ei wadu, dan dyngu a rhegu. Rhoddwyd gwisg borphor am dano, a phlygodd y milwyr o'i flaen gan ddywedyd, 'Henffych well, brenin yr Iuddewon;' a'r cwbl mewn dirmyg a gwawd. Dyma y fath frenin yr ydych yn son am dano," ebe yr an-

ffyddiwr. Mae rhai o'r pethau hyn yn wir, ac yn egluro mai fel twyllwr yr ymddygwyd ato pan yn y byd.

Aroswch, cymerwch bwyll hefyd; canys y mae y pethau yr ydych chwi yn eu dwyn yn y blaen i brofi nad yw Crist yn frenin o gwbl, yn bethau trwy ba rai yr wyf fi yn profi ei fod yn frenin, ond nad yw ei freniniaeth o'r byd hwn. Nid yw Atheistiaid a Deistiaid yn deall natur ysbrydol ei deyrnas ef; am hyny maent yn dywedyd nad yw yn frenin o gwbl. Mae y deyrnas yn ysbrydol; maent hwythau yn gnawdol, ac yn ddirmygwyr y nefoedd. Eithr pan daw efe i farnu y byw a'r meirw, byddant yn crynu o flaen ei fainc, ac efe a'u tery hwynt â gwialen haiarn i uffern. Nid *fel* y byd hwn yw yr Arglwydd Iesu mewn dim. Nid fel y mae y byd yn rhoddi y mae efe yn rhoddi, Ioan xiv. 27; ac nid fel y mae y byd yn llywodraethu y mae efe yn llywodraethu: y mae ei deyrnas yn ysbrydol. Yr oedd yr Iuddewon yn dysgwyl i'w Messiah fod yn frenin, eithr gwrthodasant Grist, am nad ymddangosodd mewn mawrhydi breninol. Yr oeddynt yn ei ddysgwyl fel Cesar, â choron ar ei ben, yn codi teyrnas weledig yn ngwlad Canaan, ac yn taflu Cesar yn bendramwnwgl o'r llywodraeth. Eithr yr oedd llywodraeth Brenin Sion nid yn erbyn breninoedd, ond uwchlaw breninoedd. Nid yw holl freninoedd y byd ond rhaglawiaid o dano ef; efe yw Brenin y breninoedd, ac Arglwydd yr arglwyddi. Nid oes arno eisiau ofni Herod, Cesar, na neb arall. Y mae yn wir fod y Brenin Iesu wedi ei eni; eithr y mae uwchlaw y byd hwn. Pe buasai o'r byd hwn cawsai well derbyniad iddo, a mwy o amddiffyniad ynddo nag a gafodd. "Pe o'r byd hwn y byddai fy mreniniaeth i, fy ngweision i a ymdrechent, fel na'm rhoddid i'r Iuddewon." Ni ddaeth i ddinystrio llywodraethau gwladol, ond i'w sefydlu ar dir cyfiawn, a phwrcasu teyrnas ysbrydol a thragywyddol iddo ei hun.

Nid yw teyrnas Crist fel teyrnasoedd y byd hwn mewn ymddangosiad allanol. Llewyrchu mewn gogoniant, mawredd, ac ardderchogrwydd allanol y mae teyrnasoedd y byd hwn. Yn yr allanol y mae y gogoniant i gyd. Gogoniant teyrnas Crist sydd yn dufewnol; nis gellir ei ganfod â llygad cnawdol. Gorsedd nefol, nid daearol, yw yr eiddo ef; ei lywodraeth yn y galon, trwy yr Ysbryd, er gwneyd ei holl ddeiliaid yn "ewyllysgar yn nydd ei nerth." Efe yw Arglwydd y gydwybod; nid oes drais yn ei lywodraeth; y mae yn tynu â thrugaredd, yn rhwymo y rhai ysig o galon, ac yn

cysuro y rhai galarus. Y mae gwaed a chreulondeb yn lliwio y rhan fwyaf o orseddau ein byd ni; y maent wedi eu sylfaenu mewn creulonder, ac yn cael eu dwyn yn y blaen mewn trais a gorthrymder. Bendigedig am deyrnas Immanuel, yr hon sydd yn seiliedig ar wirionedd, ac a ddygir yn y blaen mewn cyfiawnder. Y mae cyfreithiau Brenin Sion fel ei hunan, yn ddaionus a thrugarog. Nid deddfau anmherffaith y byd hwn ydynt, eithr "yn berffaith, ac yn troi yr enaid: tystiolaeth yr Arglwydd sydd sicr, ac yn gwneuthur y gwirion yn ddoeth. Deddfau yr Arglwydd sydd uniawn, yn llawenhau y galon; gorchymyn yr Arglwydd sydd bur, yn goleuo y llygad," Sal. xix. 7, 8. Ei gyfreithiau ydynt berffaith, yn cyrhaedd meddyliau y galon yn gystal a gweithrediadau y corph. Nid oes eisiau arfau cnawdol o fewn teyrnas Immanuel: gwnewch sychau â'r cleddyfau, a phladuriau â'r gwaywffyn.

Y mae deiliaid y deyrnas hon yn bobl ysbrydol, nid yn gnawdol a bydol; wedi eu geni oddiuchod, a'u "serch ar bethau sydd uchod, lle y mae Crist yn eistedd." Dylent fod ar wahan oddiwrth ddynion y byd hwn mewn tymher addfwyn, mewn cymwynasgarwch, a phob ymarweddiad nefol. "Nid ydynt o'r byd," medd Crist, "megys nad ydwyf finau o'r byd." Dirmygodd yr Arglwydd Iesu fawredd bydol trwy ymostwng o'i orseddfainc i dlodi a rhwymau.

Yr ydoedd yn esiampl o ostyngeiddrwydd; byddwch yn debyg iddo; peidiwch a sychedu am gyfoeth; edrychwch ar y Brenin heb le i roddi ei ben i lawr. "Trysorwch i chwi drysorau yn y nef, lle nid oes na gwyfyn na rhwd yn llygru, a lle nis cloddia lladron trwodd, ac nis lladratant," Mat. vi. 20. Os ydych yn ddynion cyfoethog ar y ddaear, byddwch drugarog wrth y tlawd.

Cymerwch esiampl oddiwrth eich brenin, i ymarfer cymedroldeb, cariad, a phurdeb. Gwneir hyn gyda phleser, os bydd yr un cariad ynom ag a ddaeth ag ef mor isel drosom ni. Pwy na ddymunai fod yn ddeiliad i'r Brenin hwn! Pwy na ddymunai wasanaethu y goreu o freninoedd, Brenin nef y nefoedd? Mae fy enaid yn falch i gael plygu iddo. Yn yr eneidiau yn benaf y mae y llywodraeth hon yn cael ei dwyn yn y blaen yn y byd hwn. "Teyrnas Dduw, o'ch mewn chwi y mae." Y mae efe yn ysgrifenu ei gyfraith yn y galon; ac yno y mae ef wedi ei orseddu, ac yn ysgwyd ei deyrnwialen yn y serchiadau. "Canys nid yw teyrnas

Dduw fwyd a diod; ond cyfiawnder, a thangnefedd, a llawenydd yn yr Ysbryd Glân," Rhuf. xiv. 17.

Dywedir fod swyddwyr y deyrnas hon, nad yw o'r byd hwn, yn ymdroi mewn mawredd bydol a gloddest; yn gwisgo titlau tywysogaidd, ac yn cysylltu y cwbl a'r byd hwn. Y maent yn gwisgo dillad esmwyth ac addurniadau gwychion, ac yn arfer pob gwastraff ar gefn y Gwr fu farw ar y groes. Y maent yn cael eu galw arglwyddi, yn *Lords spiritual*, yn *Right a Most Reverend Fathers in God*. Nid yw hyn yn ddim amgen na cheisio bydoli y deyrnas nad yw o'r byd hwn. O Arglwydd, y fath drueni fod gwir syniadau am deyrnas dy anwyl Fab bron wedi myned ar goll yn y genedlaeth hon! Y mae gwaith y deyrnas yn cael ei drin, nid yn Lambeth, Llandaf, a Thyddewi, ond yn nghalonau pechaduriaid. Y mae y deyrnas hon yn cael ei dwyn yn y blaen trwy orchfygu gelynion ysbrydol yn ein calonau. "Canys arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol, ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr. Gan fwrw dychymygion i'r llawr, a phob uchder ag sydd yn ymgodi yn erbyn gwybodaeth Duw, a chan gaethiwo pob meddwl i ufudd-dod Crist," 2 Cor. x. 4, 5. Er eu bod yn feddiant cyfiawn iddo trwy roddiad y Tad, a thrwy daliad ar y groes, eto y mae Satan mewn traws-feddiant o honynt, fel y mae yn rhaid eu cymeryd trwy goncwest. Y mae gyda Christ yn rhyw debyg fel ag yr ydoedd gydag Abraham: rhoddodd yr Arglwydd wlad Canaan i Abraham, mewn addewid a chyfamod, eithr yr oedd y Canaaneaid mewn meddiant o honi, fel ag yr oedd yn rhaid i had Abraham ymladd am dani, a'i henill wrth y fodfedd, cyn y gallasent ei mwynhau. Mae y tŷ lle y mae y cryf-arfog yn cyfaneddu wedi ei roddi i Grist gan y Tad, ac wedi ei brynu â gwaed ar y croesbren; eithr y mae diafol mewn *possession*, y mae y meddiant presenol yn ei law, a cheidw feddiant er pawb, nes y delo y gwir Berchenog, yr hwn sydd gryfach nag ef, arno a'i orchfygu, ei droi dros y drws, a chymeryd y lle trwy goncwest. Er fod Crist wedi marw, a phrynu yr enaid â'i waed, eto rhaid iddo ymladd ei ffordd i mewn iddo, a chymeryd meddiant fel buddugoliaethwr mawr. Mae ganddo hawl iddo, wedi ei brynu mor ddrud; er hyny mae yn gorfod arwain ei luoedd i ymosod arno a'i gymeryd. Danfonodd yr Arglwydd Iesu, wedi iddo adgyfodi o feirw, luoedd o apostolion, efengylwyr, a dysgawdwyr, o dan arweiniad yr Ysbryd Glân, wedi eu harfogi â chleddyf dau-finiog a chawodydd o

bicellau, i wneyd ymosodiad ar y gydwybod. Dacw frwydr fawr ar ddydd y Pentecost. "Hwythau wedi clywed hyn, a ddwysbigwyd yn eu calonau, ac a ddywedasant wrth Pedr a'r apostolion eraill, Ha wŷr frodyr, beth a wnawn?" Act. ii. 37. Yr oeddynt yn gwaeddi allan; a pha ryfedd, pan yr oedd y saethau llymion yn glynu yn nghalonau gelynion y brenin. Yr oeddynt yn syrthio o flaen magnelau Sinai, y rhai oeddynt yn curo i lawr eu gobaith twyllodrus, ac yn rhoddi y cwbl yn gydwastad a'r llawr. Felly y mae y castell yn cael ei gymeryd, y mae y dinasyddion yn agor y pyrth, ac yn dewis eu Llywodraethwr newydd, gan ddywedyd, "Tyred i mewn, fendigedig yr Arglwydd." Teyrnased yr Arglwydd Iesu, trwy ei Ysbryd, yn ein calonau; cydnabyddwn ef yn Frenin; plygwn iddo. Y mae pawb yn ei gydnabod ond gwallgofiaid. Mae Dafydd ei hun yn ei alw ef yn Arglwydd. Mae Pilat yn gofyn, "Ai ti yw Brenin yr Iuddewon? Yr wyt ti yn dywedyd," ebe Crist, Mat. xxvii. 11. Nid yw yn gwadu ei ditl, eithr yn ei gydnabod o flaen breninoedd. Y mae yn ateb yn fwy amlwg a chryf o flaen yr arch-offeiriad. "Drachefn yr arch-offeiriad a ofynodd iddo, Ai tydi yw Crist, Mab y Bendigedig? A'r Iesu a ddywedodd, Myfi yw: a chwi a gewch weled Mab y dyn yn eistedd ar ddeheulaw y gallu, ac yn dyfod yn nghymylau y nef," Marc xiv. 62. Mae tafodau dynion ac angylion yn ei gydnabod yn frenin; ie, y mae Duw ei hun wedi ei "osod yn frenin ar Sion, ei fynydd santaidd." O Arglwydd, y mae fy enaid tlawd inau yn ei gyffesu yn frenin yn dragywydd, a chaiff fy ngliniau egwan blygu iddo mwy. O Frenin Sion, bydd fyw byth. Amen.

## PREGETH IV.

### DYFODIAD MAB Y DYN.

"Am hyny byddwch chwithau barod: canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn," MAT. xxiv. 44.

Y MAE y benod hon yn bregeth. Arglwydd y pregethwyr yw y pregethwr. Prophwyd mawr yr eglwys. Cynwysiad y bregeth yw ei ail ddyfodiad i farnu y byd. Y mae y bregeth yn ddwy ran, sef eglurhad a chymhwysiad. Y rhan gyntaf sydd yn desgrifio arwyddion a rhyfeddodau ei ddyfodiad, o adn. 1 i 42. Ac o hyny i'r diwedd yn anogaeth i ddysgwyliad ac ymbarotoad i gyfarfod â dydd Iesu Grist. Y mae y testun a ddarllenasom yn y rhan ddiweddaf, a'r rhan fwyaf ymarferol o'r bregeth. Y mae ein Hiachawdwr yn defnyddio dwy gydmariaeth, un o ba rai sydd o flaen y testun, a'r llall ar ol, i'r dyben o roddi grym yn yr anogaeth at ymbarotoad. Y gydmariaeth gyntaf y cawn sylwi ychydig arni yw y ddiweddaf a ddefnyddir gan yr Arglwydd Iesu, sef ymddygiad gwas gyda golwg ar ddyfodiad ei arglwydd. Nis gallasai ein Hiachawdwr siarad am ddim yn fwy cydnabyddus i'r meddwl cyffredin, ac yn haws ei amgyffred.

Y mae yn gosod allan y perygl o esgeuluso dyledswyddau, a'r daioni ag sydd yn deilliaw oddiwrth fod yn wyliadwrus, yn nghyda gwneyd pob peth yn ei dymhor priodol. Y mae bron yn anmhosibl i neb beidio teimlo nerth yr ymresymiad. Yr oedd un cadfridog yn dywedyd, Fod y dyn nad oedd yn teimlo dim oddiwrth dda na drwg, ac nad oedd yn bosibl ei ddychrynu na'i ddenu, yn anargyhoeddedig, yn ddiberswad. Y mae Crist yn defnyddio y ddwy ffordd hon yn dra effeithiol. Mae yn dangos dedwyddwch a chysur y gwas ffyddlon yn nyfodiad ei arglwydd, ac yna yn egluro sefyllfa alaethus ac ofnadwy y gwas diog. Mae y gydmariaeth arall yn sobr a dychrynllyd, eto yn hynod o gymhwys, sef perchen tŷ a lleidr. Y mae Crist yn cymeryd arno y cymeriad o *leidr*, a'r dyn yn "berchen tŷ." Y mae y corph yn dŷ lle y mae enaid yn cyfaneddu, yr hwn sydd yn fwy gwerthfawr na deng mil o fydoedd. Dyma y trysor penaf ar y ddaear; y trysor y dylid gofalu am dano yn fwy na dim arall. Y meddyliau, y geiriau, y gweithredoedd, yw y teulu mawr, ag sydd yn rhaid bwrw golwg arnynt, a gofalu am danynt oll bob dydd. Y mae yr Arglwydd Iesu yn galw ei hun yn *lleidr*, eithr cofiwch,

nid yw hyn yn cynwys ei fod yn droseddwr fel lleidr; eithr cydmariaeth er egluro ei oruchwyliaethau. Y mae efe yn dyfod fel lleidr. Nid yw y gydmariaeth rhwng person a pherson, gwaith a gwaith, ond yn hytrach rhwng amser ac amser. Y mae yr apostol yn defnyddio yr un gydmariaeth pan yn dywedyd, "Y mae dydd yr Arglwydd yn dyfod fel lleidr yn y nos." Yn gymaint a bod dyfodiad lleidr yn y nos yn annysgwyliadwy, y mae y gydmariaeth yn cyfateb yn berffaith. Y mae gwr y tŷ yn cysgu heb feddwl dim drwg; felly y mae dyfodiad Crist at yr annuwiol.

Ond dichon y bydd rhai yn barod i godi gwrthresymiad, gan ddywedyd, Pa fodd y gellir cydmaru Crist i leidr, gan ei fod yn dywedyd ei hun nad yw efe yn dyfod fel lleidr? "Nid yw lleidr yn dyfod ond i ladrata, ac i ladd, ac i ddystrywio; myfi a ddaethum fel y caent fywyd, ac y caent ef yn helaethach," Ioan x. 10. Gwir; eithr y mae hyn yn cael ei lefaru am ei ddyfodiad cyntaf mewn gras a thrugaredd. Ië, ond y mae lleidr yn dyfod i ladd, a lladrata, ac i wneyd cam, a drygu y diniwed. Gwir; eithr y mae Crist yn wahanol i leidr yn yr ystyr hyn. Barnwr cyfiawn ydyw yn ei ddyfodiad, ac yn rhoddi i bob un yn ol ei weithredoedd. Efe a wobrwya y duwiol, ac a gospa yr annuwiol. Bydd ei ddyfodiad gyda golwg ar gyfiawnder, fel dyfodiad Barnwr; ond gyda golwg ar amser fel dyfodiad lleidr. "Am hyny Mab y dyn a ddaw fel lleidr yn y nos." Pan y daw, bydd yn ddisymwth, yn annysgwyliadwy, yn gryf ac anwrthwynebol. "Am hyny byddwch barod; canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn." Dyma'r casgliad oddiwrth yr ansicrwydd; dyma y rhybydd pwysig a difrifol yn cael ei daranu allan o'i enau dwyfol ei hun, i'n dihuno o'n cwsg ysbrydol i sefyllfa o ymbarotoad erbyn ei ddyfodiad. Yn y geiriau—

I. Ni a welwn ddyfodiad yn cael ei dybio yn y gair olaf o'r testun. "Yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn." Gan fod Mab y dyn yn dyfod amryw weithiau, ac i wahanol orchwylion, y mae yn angenrheidiol ymholi pa ddyfodiad yw hwn. Fe allai y gallwn gynwys pob dyfodiad o eiddo Mab y dyn mewn dau:

1. Ei ddyfodiad fel Ceidwad. 2. Fel Barnwr. Eto mae y ddau ddyfodiad hyn i'w hystyried yn weledig ac yn anweledig. Y mae dyfodiad Crist atom fel Ceidwad naill ai yn y cnawd neu yn yr ysbryd. Y dyfodiad cyntaf, sef ei ddyfodiad yn y cnawd, yw ei ddyfodiad i'r byd atom yn ein natur; ei ddy-

fodiad ysbrydol yw ei ddyfodiad beunyddiol yn ngoruchwyliaethau ei ysbryd i'n calonau. Yn ei ddyfodiad gweledig, daeth yn Fab dyn, fel y gallai yn ein natur bwrcasu iachawdwriaeth i ni. Ei ddyfodiad anweledig sydd trwy ei ysbryd, er ein gwneyd yn feibion i Dduw trwy gymhwysiad o'r iachawdwriaeth hono at ein calonau. Eithr nis gall yr un o'r rhai hyn gael ei olygu yma. Y mae ei ddyfodiad yn y cnawd wedi cymeryd lle; eithr yma y mae yn hysbysu dyfodiad i gymeryd lle mewn amser dyfodol.

2. Rhaid i ni fyned yn y blaen i sylwi ar ei ddyfodiad fel Barnwr; yr hyn sydd naill ai yn neillduol neu yn gyffredinol; yn bersonol ac effeithiol, yn weledig neu yn anweledig. Bydd dyfodiad gogoneddus Crist yn niwedd y byd hwn yn bersonol, i wneyd barn gyfiawn ar bob dyn yn ol ei weithredoedd. Eithr yn bresenol y mae yr Arglwydd Iesu yn dyfod trwy offerynau allanol, at bob dyn yn unigol; a rhai gweithiau at genedlaethau cyfain. Y mae efe yn dyfod yn bersonol, am bethau persenol, ac yn genedlaethol am bethau cenedlaethol. Gwelir teyrnasoedd yn cael eu dystrywio trwy newyn, pläau, a rhyfeloedd, yn fynych. Y mae personau unigol yn cyfarfod â damweiniau neu glefydau; dyfodiad Mab y dyn yw hyny. Gellir cymeryd i mewn y pethau hyn oll, wrth son am ddyfodiad Mab y dyn. Y dyfodiad a olygir yma yn llythyrenol ac yn uniongyrchol, yw ei ddyfodiad trwy Titus Vespasian yn erbyn Jerusalem, i'w dinystrio; ac felly dwyn digofaint ar yr Iuddewon am lofruddiaeth ofnadwy yr hwn a ddaeth i gynyg iachawdwriaeth iddynt. Er mai hyn yw y golygiad llythyrenol, eto y mae llawer o bethau yn y benod hon ag sydd yn rhy fawr i'r amgylchiadau hyny, er cymaint oeddynt, ac yn cyfeirio yn uniongyrchol at y dydd diweddaf, sef dyfodiad olaf Mab y dyn. Gallwn edrych ar ddinystr Jerusalem fel arwyddlun y farn ddiweddaf. Ond y mae yn rhaid i ni ddyfod yn agosach at yr amgylchiad presenol, ac edrych ar y rhan ddiweddaf o'r benod hon, yn nghyda'r adnod dan sylw, fel yn ddesgrifiad o ddyfodiad neillduol Crist, yn ngoruchwyliaeth angau, yn galw dynion ger ei fron.

(1.) Edrychwn ar y person sydd yn dyfod—"Mab y dyn." Y mae ein Harglwydd bendigedig yn cymeryd yr enw hwn arno ei hun yn dra mynych. Y mae trwy hyn yn gosod o'n blaen esiampl o ostyngeiddrwydd. Dylem ddylyn ei ôl mewn tybio yn briodol am danom ein hunain; ac arfer iaith wyl-

aidd mewn perthynas i ni ein hunain. Gallasai wneyd defnydd o'r titlau mwyaf gogoneddus, a galw ei hun yn dragywyddol Fab, Mab Duw, Mab y Goruchaf, Mab y Bendigedig; eithr y mae yn hoffi siarad yn wylaidd â'r byd, fel Mab y dyn.

(2.) Y mae efe trwy hyn yn profi gwirionedd ei ddynoliaeth. Mae rhai wedi codi yn y byd i wadu ei ddynoliaeth, a rhyw rai eraill i wadu ei ddwyfoliaeth, a rhwng y ddau *heretic* hyn y mae yn drugaredd annhraethol fod genym Grist cyfan i gynyg i chwi, fy nghyfeillion, yn Geidwad digonol i'ch achub byth. Y mae Crist yn fab Duw; y mae hyn yn profi ei ddwyfoldeb; y mae hefyd yn Fab y dyn, yr hyn sydd yn profi ei ddynoliaeth: am hyny y mae ein Ceidwad yn un person yn meddu dwy natur, dwyfol a dynol; yn "un Cyfryngwr rhwng Duw â dynion, y dyn Crist Iesu." "Immanuel, Duw gyda ni." Duw yn ein natur ni, Duw o'n plaid ni, Duw yn bob peth i ni. Bendigedig mewn gwaed oer; y mae genym Grist cyfan i'w gynyg i'r byd, er gwaethaf pawb.

(3.) Y mae yn galw ei hun yn "Fab y dyn," i nodi allan y cariad cryf oedd ganddo at ein natur. Er fod ein natur yn wael, mewn rhyw ystyr, hoffodd Mab Duw hi yn ei hiselradd, "o herwydd bod ei drugaredd yn dragywydd." Yr oedd o dragywyddoldeb "yn llawenychu yn nghyfaneddle y ddaear, a'i hyfrydwch oedd gyda meibion dynion," Diar. viii. 31. Y mae rhai wedi myned mor bell a dywedyd ei fod wedi cwympo cymaint mewn cariad a'n natur ni, y buasai yn ymgnawdoli pe buasai dyn heb syrthio, ac heb angenrheidrwydd am Geidwad. Nid wyf yn gwybod dim am hyn, ac nid oes arnaf eisiau gwybod; am hyny awn yn y blaen.

(4.) Paham y mae yn ymgymeryd â thitl mor isel pan yn siarad am ddyfodfa mor ogoneddus? Os trowch i adn. 42, cewch ef yno yn defnyddio y titl gogoneddus o Arglwydd. "Gwyliwch, gan hyny, am na wyddoch pa awr y daw eich Arglwydd." Y mae yr enw hwn yn briodol i'w natur, ac yn cyfateb i fawredd a rhwysg ei ddyfodiad. Yma y gwelir ef yn ymegluro yn ei fawredd, yn dyfod i waredu ei bobl, a chyda gallu ac awdurdod i gospi y troseddwyr, a'u darostwng o dan ei draed. Fe allai ei fod yn arfer y cymeriad Mab y dyn mewn cysylltiad a'i ddyfodiad, i beidio tramgwyddo yr Iuddewon, eithr eu henill a'u denu. Yr oedd golwg wael yr Arglwydd Iesu yn y byd yn peri i'r Iuddewon ei ddirmygu; a phe buasai yn arfer siarad am dano ei hun bob amser yn

fawreddus, byddai hyny yn tueddu i gynhyrfu eu digofaint yn fwy. Yr oedd yr Iuddewon yn barod i ddywedyd, Pa eisiau sydd arnom ni ofni bygythion mab y saer? Y mae Crist yn siarad â hwy yn araf a mwynaidd, gan ddywedyd, "Mab y dyn a ddaw." Er fy mod yn ymddangos yn wael ger eich bron yn awr, y mae y dydd gerllaw y byddaf yn dyfod mewn nerth a gallu tragywyddol i dalu y pwyth i'm gelynion.

II. Y mae amser ei ddyfodiad yn cael ei nodi. "Mewn awr nid yw efe yn dysgwyl:" "yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn." Y mae y dyfodiad yn gyflym ac yn annysgwyliadwy. Peidiwch a chyfrif wrth y flwyddyn, eithr wrth yr oriau, fy nghyfeillion. "Mewn awr nad yw efe yn meddwl." Nid ydych yn gwybod pa awr; mae angau yn cerdded yn ddystaw atoch; y mae yn eich ymyl pan nad ydych yn meddwl ei fod gerllaw. O Arglwydd, mor annysgwyliadwy yw angau i'r rhan fwyaf o ddynion! Argyhoedda y byd o'r peryglon ofnadwy sydd yn yr ymyl.

III. Y cymhwysiad. "Am hyny byddwch chwithau barod." Dylai yr ystyriaethau hyn weithio ymbarotoad yn y meddwl yn ddioed. Deliwch eich hunain mewn parodrwydd, am na wyddoch pa bryd y daw Mab y dyn. Mynwch bob peth mewn trefn cyn ei ddyfod, fel na fyddo arnoch eisiau gweddio am ras, pan y dylech ei arfer a'i ddefnyddio. Ni chaniata amser i ni fyned dros yr holl bethau hyn, am hyny cawn sylwi yn unig ar y ddau beth canlynol;—

1. Perygl yn cael ei ragddywedyd: "Yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn."

2. Cynghor i ddarpar i gyfarfod â'r perygl: "Am hyny byddwch chwithau barod."

Unwaith eto. Y ddau wirionedd pwysig sydd yn y geiriau hyn yw—

1. Dyfodiad annysgwyliadwy yr Arglwydd Iesu: "Yn yr awr ni thybioch."

2. Yr angenrheidrwydd i ymbarotoi; "Am hyny byddwch chwithau barod."

Yn awr, fy nghyfeillion, cyn yr elom yn mhellach, gadewch i ni atolygu ar i Fab y dyn ddyfod trwy ei Ysbryd, i'n cynorthwyo i bregethu ac i wrando. Ni gawn enwi bellach bedair o oriau ag y mae dynion yn bur ddifeddwl am angau, a dyfodiad Crist.

1. Awr pleserau cnawdol. 2. Awr llwyddiant bydol. 3. Awr iechyd corphorol. 4. Awr ieuenctyd.

1. Awr pleser cnawdol. Y mae yr awr hon yn gyfryw ag y mae meddwl am angau yn un o'r pethau mwyaf dyeithr iddi; braidd y mae meddwl am dano o gwbl. Pan y mae yr uchelfrydig yn dringo yn uchel, nid yw yn meddwl fawr am orfod suddo yn isel i'r bedd. Pan y mae y cybyddion yn trysori i fyny y clai tew, nid ydynt yn breuddwydio y cânt eu gwneyd yn sypyn o glai eu hunain yn y man. A thra y mae yr Epicuriaid trachwantus yn ymborthi ar eu danteithion, ac yn dawnsio gyda Dalilah, nid ydynt yn meddwl y byddant yn fwyd i bryfed yn llwch y ddaear yn fuan. Y mae ein Hiachawdwr yn rhybyddio ei ddysgyblion rhag syrthio i'r arferion hyn, pa rai ydynt yn ddinystr i feddyliau priodol am y diwedd. "Ac edrychwch arnoch eich hunain, rhag i'ch calonau un amser drymhau trwy lythineb a meddwdod, a gofalon y bywyd hwn, a dyfod y dydd hwnw arnoch yn ddisymwth," Luc xxii. 34. Mae miloedd yn y wlad yn byw fel hyn, ac felly yn cyfarfod â'r "dydd hwnw yn ddisymwth." Mae dynion yn suddo i mewn i ofalon a phleserau y bywyd hwn, ac yn nghanol hyny peth cyffredin yw i'r awr hono ddyfod. Och, mor ofnadwy ydyw pan y mae Mab y dyn yn tori i mewn yn nghanol yr awr hon, ac yn *arrestio* y pechadur rhyfygus. Mae Belsassar yn nghanol ei rwysg, gyda'i ordderchadon, ei gwpan, ei wledd fawr, ei gyfeillion llawen, pan y mae llaw dyn yn dyfod o ryw le, ac yn ysgrifenu dinystr iddo ef a'i deyrnas. Mae Herod yn yfed o gwpan anrhydedd a mawl dynol, yn malchder ei galon yn annghofio ei hun, ac yn annghofio Brenin y breninoedd; eto, pan yn nghanol yfed y cwpan melus hwn, Och, dacw bryfed yn ei ysu. "Ac allan o law y tarawodd angel yr Arglwydd ef, am na roisai y gogoniant i Dduw: a chan bryfed yn ei ysu, efe a drengodd," Act. xii. 23. Bydd dynion yn "treulio eu dyddiau mewn daioni, ac mewn moment y disgynant i'r bedd," Job xxi. 13. Fe ddaeth y diluw ar yr hen fyd mewn awr fel hyn. Pan oeddynt yn bwyta, yn yfed, yn priodi, yn rhoi i briodas, yn planu, yn adeiladu, ac yn nghanol pob difyrwch, dacw hwynt yn "cael eu cymeryd oll ymaith." Felly y bydd yn y dydd y datguddir Mab y dyn. Oh mor arswydus! Diangfa! O Arglwydd, beth ddaw o'r wlad annuwiol? Mae miloedd yn marw yn nghanol digrifwch,

anystyriaeth, a meithrin eu chwantau cnawdol. "Am hyny byddwch chwithau barod."

2. Awr llwyddiant bydol. Awr yw hon ag y mae dynion yn gyffredin yn lled ddifater a difeddwl yn nghylch dyfodiad Mab y dyn. Mewn adfyd ac aflwyddiant bydd y bobl yn gweddio, ac weithiau yn dymuno marw; eithr mewn mwyniant a llwyddiant braidd y byddant yn meddwl am y pethau hyn. Ni feddyliodd neb yn Sodom, pan oedd yr haul yn dysgleirio yn danbaid arni yn y boreu, y buasai ar dân cyn nos. Pan y mae y byd yn llifo fel ffrwd i mewn, y mae yn anhawdd iawn i'r dyn hwnw feithrin ryw lawer o feddyliau yn nghylch myned allan o hono. Os bydd y mynydd yn ymddangos yn gryf, y mae hyd y nod y salmydd yn dywedyd, "Ni'm syflir yn dragywydd," Sal. xxx. 6. A pha ryfedd ydyw am y rhyfygus? Babilon sydd yn eistedd yn y gadair dywysogaidd, ac yn dywedyd, "Yr wyf yn eistedd yn frenines, ac nid wyf weddw, ac ni welaf ofid;" ac eto yn fynych dyma yr awr y mae Mab y dyn yn dyfod. Y mae y drwg yn dyfod arni mewn moment, mewn un dydd. Ni welwn yr ynfytyn cyfoethog yn yr efengyl yn gorchymyn ei enaid i gymeryd bwyd a diod, ac esmwythdra, a byw llawer o flynyddoedd. Eithr y nos hono y gofynwyd ei enaid oddiarno. Collodd y byd a'i enaid yn sydyn gyda'u gilydd. Am hyny byddwch barod bob amser.

3. Awr iechyd corphorol. Awr iechyd a nerth corphorol, sydd awr ag y mae dynion mewn profedigaeth i daflu yr ystyriaeth o farw y tu ol i'w cefnau. Tra y mae lliw coch yn y gruddiau, ystwythder yn y cymalau, archwaeth dda at fwyd yn y cylla, a phob arwyddion iechyd yn y corph, mor anfynych y byddis yn coleddu meddyliau am angau, y bedd, a thragywyddoldeb. Cerddwch, meddant, a phregethwch eich pregethau ar farwoldeb i'r gwan, y cloff, y cystuddiedig, a'r rhai sydd yn trengu yn y darfodedigaeth; am danom ni, nid oes rhaid i ni flino ein hunain â'r fath feddyliau pruddglwyfus. Paham y dywedwch wrthym ni am farw, a phydru mewn beddau, tra y mae ein "hesgyrn yn iraidd gan fer?" Nid ydym eto yn teimlo un adfeiliad, am hyny nid ydym yn ofni marw. Fy nghyfeillion, yn y fath awr a hon y mae Crist yn dyfod yn fynych ac yn tori i lawr. "Y mae un yn marw yn ei lawn nerth, yn esmwyth arno; ei fronau yn llawn llaeth, a'i esgyrn yn iraidd gan fer." Pa gynifer o ddynion glew a chryf y mae angau wedi eu gosod i orwedd ar eu cefnau

mewn moment? Yr ydych wedi gweled lawer gwaith y deri cadarnaf wedi eu taflu i lawr mewn tarawiad gan wynt cryf; a llong odidog wedi suddo o'r golwg o herwydd agen fach. Felly y mae dynion yn cael eu cipio ymaith yn nghryfder eu nerth corphorol, a'u gosod yn ddystaw yn y llwch. "Am hyny byddwch chwithau barod; canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn."

4. Awr ieuenctyd. Y mae tymhor ieuenctyd yn adeg nad yw ond ychydig yn meddwl am farw. Y mae yn ddigon cynar, ebe dynion ieuainc, i feddwl am angau "yn y dydd y palla chwant," i edrych am fedd pan y "tywylla y rhai sydd yn edrych trwy y ffenestri;" ac i ofni agosâd marwolaeth pan y byddo "ceidwaid y tŷ yn crynu, ac y cryma y gwŷr cryfion." "Mae dillad y bedd yn rhy bruddaidd i ireidd-dra ein cnawd ni; yr ydym yn ieuainc, a gallwn weled llawer blwyddyn deg yn myned dros ein penau. Peidiwch a meddwl y gwnawn dreulio ein bywydau yn mhlith y beddau, fel y dyn ynfyd yn yr efengyl." Och, yn nghanol y dyogelwch hyn i gyd mor aml yr ydym yn gweled Mab y dyn yn dyfod, ac yn ysgwyd yr enaid allan o'r corph. Fy nghyfeillion ieuainc, y mae mwy o blant yn hanes wythnosol marwolaethau yn cael eu cofrestru na dynion oedranus. Y mae chwedl yn mhlith y beirdd fod henaint ac angau yn lletya yn yr un gwesty, y pryd y cyfnewidiasant eu saethau, ac oddiar hyny byth y mae hen ddynion yn aml yn sefyll, a dynion ieuainc yn syrthio. Nid yw angau yn ein gwysio yn ol oedran; y mae yn deifio y blaguryn yn gystal a gwywo y blodeuyn. Y bygythiad hwnw ag y mae yr Hollalluog yn ei gyhoeddi trwy y prophwyd, sydd yn fynych mewn ystyr foesol yn dyfod i ben. "Mi a baraf i'r haul fachlud ganol dydd;" ïe, nid yn unig canol dydd, ond yn y boreu yn fynych iawn. Gwna dy hun yn barod i farw, ddyn ieuanc, a phaid ag oedi. Y mae yn wir fod yn *rhaid* i'r hen farw, eto gall yr ieuangaf fyned yn gyntaf; "Am hyny byddwch chwithau barod." Gwnawn ychydig gasgliadau cyn dybenu—

1. Gwelwn drugaredd a thosturi Mab y dyn. Y mae yn danfon rhybydd o'i flaen, i'n gwneyd yn hysbys o'i ddyfodiad. Bendigedig fyddo ei enw yn dragywydd, nid yw yn cymeryd mantais arnom, a dyfod yn ddirybydd, yr hyn a haeddasom, a'r hyn y gallasai yntau wneyd yn gyfiawn. Nid yw yn gwneyd yn ol ein haeddiant, eithr y mae yn cofio trugaredd anhaeddianol yn nghanol barn haeddianol. Y mae yn dy-

wedyd wrthym ei fod yn dyfod, ac yn nodi allan ein dyledswyddau. Y mae wedi cadw awr ei ddyfodiad yn ddirgel, i'r dyben i ni gadw *a good look-out*. "Yr wyf yn dyfod," eb efe, "am hyny byddwch yn barod bob amser. Yr wyf yn dyfod, eithr yr wyf wedi danfon rhagredegwyr trugaredd i rybyddio, fel na byddo i chwi gael eich dychrynu yn ddisymwth." Mae efe wedi danfon larwm o'i flaen; mae yn ein rhybyddio trwy ei air, ei weision, ei ragluniaeth; trwy farwolaeth ein cyd-greaduriaid, trwy sain drom y gloch farw yn yr eglwysdai, a thrwy agoriad y bedd yn y fonwent. Trwy y pethau hyn y mae yn pregethu wrth ein clustiau a'n llygaid ein bod i farw; ac yn curo wrth ein drysau, ac yn dywedyd, "Byddwch chwithau barod." Mae y geiriau hyn, fy nghyfeillion, yn deilwng i gael Gabriel i'w pregethu, cwmwl yn bwlpud, ac udgorn Duw i'w cyhoeddi, fel y byddai ei swn yn cerdded fel taranau cryfion, nes clywo holl drigolion y ddaear. Duw a ysgydwo y ddaear hyd y sylfaen, nes ei hysgwyd o'i chwsg i sefyllfa ddarparedig i gyfarfod â'i Harglwydd.

2. Gwelwn sicrwydd ei ddyfodiad. Y mae ei ddyfodiad mor sicr ag iddo ddanfon rhybydd o'i flaen. Efe a ddaw. Ond pa le y bydd trigolion y Casnewydd, a thrigolion y byd, can mlynedd i heddyw? Byddant wedi eu hysgubo ymaith oll gan ddyfodiad Mab y dyn, yn barod neu yn anmharod. Dywedir am Ioan Fedyddiwr ei fod yn genad wedi ei anfon o flaen wyneb Crist. Gallasai Ioan ddywedyd, "Nid wyf ond ychydig o'i flaen ef; *I have only had the start of him;* y mae efe yn dyfod ar fy ol i; nid oes genyf amser ond i ddywedyd wrthych, 'Edifarhewch, parotowch ffordd yr Arglwydd;' fe ddaw i'r golwg bron yn union." Yr oedd Ioan yn llef Crist, yn rhedeg o flaen ei wyneb cyn ei ddyfod i'r byd, ac yn rhybyddio y byd o'i ddyfodiad. Mae ei weision eto yn genadon i'ch rhybyddio o'i ail ddyfodiad. Yr ydym ychydig o'i flaen ef, fel ag yr oedd Ioan; y mae yn dyfod ar ein hol ni; cewch weled ei wyneb yn fuan. O anwyl Arglwydd, beth ddaw o bobl y Casnewydd, ïe, a pha beth a ddaw o luaws o honom ninau ag sydd ar enw bod yn weision iddo? beth ddaw o lawer ag sydd yn proffesu ei enw? Ond bendigedig fyddo Duw; dyma alwad unwaith eto i ymbarotoi, dyma un cyfleusdra yn ychwaneg: os yn anmharod hyd yn hyn, y mae yn bosibl ein cyfnewid yr awr hon. Yr ydym i gyfarfod â Mab y dyn wrth y ddesc, wrth y *counter*, i gael gwneyd ein holl gyfrifon i fyny am dragywyddoldeb. Eithr

cyn y cymer yr ymgyfarfyddiad ofnadwy hyn le, y mae yn ein cymhell i ymbarotoi, ac yn ein rhybyddio i ffoi rhag y llid a fydd. "Byddwch barod; canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn."

3. Gweddiwch am iddo ddyfod trwy ei Ysbryd i gyfnewid eich cyflyrau, cyn y delo fel Barnwr i gyhoeddi dedryd marwolaeth. Gweddiwch am iddo ddyfod mewn trugaredd i'ch golchi, cyn dyfod i'ch dal a'ch rhwymo yn angau; gweddiwch am iddo ddyfod i'ch gwneyd yn barod, cyn dyfod i'ch galw i dragywyddoldeb. Gweddiwch am iddo gymhwyso rhinwedd a theilyngdod ei ddyfodiad cyntaf yn y cnawd at eich eneidiau, cyn iddo egluro ei fawredd ofnadwy yn ei ail-ddyfodiad yn angau, ac ar gymylau y nef yn y dydd diweddaf, pryd y rhydd orchymyn awdurdodol a difrifol, "Chwi feirwon, codwch, a deuwch ger bron eich Barnwr."

## PREGETH V.

### ANSICRWYDD AMSER DYFODIAD CRIST YN ANOGAETH I YMBAROTOI.

"Am hyny byddwch chwithau barod; canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn," Mat. xxiv. 44.

Y MAE y geiriau hyn yn dal yr un berthynas â ni yn awr ag oeddynt a'r dysgyblion gynt. "Byddwch chwithau hefyd barod;" chwychwi sydd yma, a phawb ag sydd yn clywed yr efengyl yn mhob man, yn ddiwahan. Y mae yr Arglwydd Iesu yn dyweyd mor gyfeiriol wrthych chwi yn awr a phe byddai yma yn y cnawd yn siarad â chwi. Chwi welwch fod y gwirionedd hwn yn cael ei ddirgymhell â'r geiriau "am hyny" yn nechreu y testun. Y mae Crist yn dyfod a'r gwirionedd adref at y gydwybod, yn ei hoelio yn y galon, yn rhwyddhau ei rediad i'r enaid trwy ddywedyd, Am hyny, gan fod Mab y dyn yn dyfod, yn gymaint a bod amser ei ddyfodiad yn anadnabyddus, "byddwch chwithau hefyd barod." Yn awr gwnawn ychydig o sylwadau cyffredinol ar ddyfodiad Mab y dyn; ac yna rhai casgliadau oddiwrth y cwbl.

1. Y mae Mab y dyn yn sicr o ddyfod ryw awr. Am hyny byddwch barod yn wastadol. Y rhan fynychaf yr ydym yn darpar gogyfer a phethau nad oes sicrwydd am danynt, ond tebygolrwydd yn unig. Y mae yr amaethwr yn aredig, yn trwsio, ac yn hau y tir erbyn y flwyddyn ddyfodol, er nad yw yn sicr y caiff fedi o ffrwyth ei lafur. Rhieni ydynt yn trysori cyfoeth, yn prynu tai a thiroedd i'w plant, er nad ydynt yn sicr y cânt eu mwynhau. A ddarparwn ni erbyn y dyfodol bethau fe allai na fydd eu heisiau byth, ac eto yn ddiofal am bethau y mae sicrwydd y bydd eu heisiau? Fe ddaw Mab y dyn fe allai. Nid oes fe allai yn y cwestiwn, eithr sicrwydd hollol. Y mae *yn* dyfod; "am hyny byddwch barod." Yn briodol iawn y galwyd y dyn cyfoethog hwnw yn yr efengyl "yn ynfyd," yn gymaint a'i fod yn cymeryd cymaint o ofal am adeiladu ysguboriau mawrion, a thrysori "da lawer" erbyn blynyddoedd ansicr bywyd, ac eto yn ddibris yn nghylch gwneyd ei hunan yn barod i farw, yr hyn oedd yn sicr, ac fel y gwelwyd yn fuan, mor agos. Pe buasai hwn mor ddiwyd mewn pethau ysbrydol a thragywyddol ag ydoedd yn nghylch pethau naturiol, buasai yn un o'r dynion callaf yn y wlad. O gweddiwch rhag i chwi gael eich nodi

â nod o annghrediniaeth ac anfeddwlgarwch, a syrthio o honoch i ddinystr fel y gwnaeth y cyfoethog tlawd hwn. Y mae Mab y dyn yn sicr o ddyfod, am hyny byddwch barod.

2. Er fod sicrwydd y daw, y mae ansicrwydd am yr awr, yr hyn sydd anogaeth cryfach i ymbarotoi. Y mae Mab y dyn yn *dyfod;* eithr pa bryd sydd yn guddiedig oddiwrthym ni, fel y byddom yn ei ddysgwyl bob amser. Pe bai gelyn yn dywedyd wrthyt, "Yr amser hyn a'r amser, yn y lle hyn a'r lle mi a'th gyfarfyddaf;" byddai hyny yn ddigon i dy osod ar dy wyliadwriaeth; a bod yn barod i'w gyfarfod yr amser hwnw os byddai bosibl. Eithr os dywed, "Pa le a pha bryd bynag y cyfarfyddaf â thi, mi a ymosodaf arnat;" byddai hyn yn peri i ti fod ar wyliadwriaeth gwastadol a chyson; yn arfog i'w gyfarfod pa bryd bynag y deuai. Felly, fy nghyfeillion, y mae daioni a doethineb ein Harglwydd bendigedig wedi ein rhybyddio â sicrwydd ei ddyfodiad, eithr yr amser yn ansicr. Am hyny, gan na wyddom yr amser, y mae efe yn dysgwyl i ni ymbarotoi bob amser, a bod yn wastad yn barod. Dywedir nad oedd Julius Cesar byth yn hysbysu i'r fyddin amser ei gychwyniad o un man, fel y byddai y bobl yn dysgu dal eu hunain mewn parodrwydd i gychwyn unrhyw amser, ac ar unrhyw achlysur. Felly y mae ymddygiadau doeth yr Arglwydd Iesu tuag atom ni, a hyny er ein daioni. Nid yw yn ein hysbysu am amser ein marwolaeth fel na byddom yn rhyfygus, ac mewn teimlad o ddyogelwch os byddai yn mhell; eithr yn wastad mewn teimlad parod o ran agwedd ein meddyliau. Sefwch ar eich dysgwylfa, edrychwch allan oddiar dŵr gwyliadwriaeth am ddyfodiad Mab y dyn. Fel cleddyfwr, yr hwn nid yw yn gwybod at ba ran o'r corph y bydd ei wrthwynebwr yn amcanu, ac yn amgylchu ei gorph ag arfau amddiffynol, gan ddal ei arf yn y fath fodd ag i fod yn barod i amddiffyn unrhyw ran, a phob rhan. Gadewch i ninau gymeryd gwers: gan nad ydym yn gwybod pa ddydd neu awr o'n bywyd y daw Crist, gweddiwn am barodrwydd ac addasrwydd i'w dderbyn, pa bryd bynag y delo.

3. Nid oes un awr o'ch bywydau y gellwch fod yn sicr na ddaw Mab y dyn. Am nad oes un man yn ddyogel rhag angau, fe allai y daw i'r capel atat; neu yn nghanol masnach a brys y siop; yn y cae yn gystal ag yn y gwely; yn y farchnad yn gystal ag yn y tŷ gartref. Felly hefyd nid oes un amser mwy na lle yn ddyogel rhag dyfodiad Mab y dyn. Yn y nos fel y dydd, mewn ieuenctyd fel canol oed, canol

oed fel henaint. Nid ydyw yn wybyddus pa bryd y denfyn Crist angau, hen frenin y dychryniadau, i ymaflyd yn dy war. Onid ydyw, gan hyny, yn angenrheidiol i ti fod yn barod yn mhob man a phob amser? Yr ydwyt yn addaw ymbarotoi ar ol myned yn hen; eithr beth os daw Crist pan wyt yn ieuanc? Yr wyt yn addaw ymbarotoi y fory; ond beth os byddi farw heddyw? Bydd yn ofalus rhag dy fod yn dyddio yr amser i wellhau yn mhellach hwnt na dyddiau dy fywyd. Y mae hanes am ryw ddyn wedi codi i fawredd yn y deyrnas y perthynai o herwydd ei weithredoedd twyllodrus a lladradaidd: efe a amgylchynodd y llywodraeth â lladron; a phan ymunodd ef a'i gyfeillion mewn gwledd fawr a rhyfygus, yn sydyn dyma ryw un yn dyfod â llythyr i mewn iddo, gyda dymuniad am iddo ei ddarllen yn union, gan ei fod o'r pwys mwyaf. Eithr ni wnaeth sylw, ond gosododd y llythyr o dan y gobenydd gan ddywedyd, "*Serious things to-morrow*"—pethau difrifol y fory. Ond daeth cynwys y llythyr hwnw arno y noson hono, cyn dyfodiad ei dymhor ef i'w ddarllen. Difeddianwyd ef o'i fywyd a'i anrhydedd ar unwaith. Fy nghyfeillion, rhyw sefyllfa alaethus yw taflu pethau difrifol o un diwrnod i'r llall, ac angau yn dyfod a chael y cwbl mewn annibendod. Och, dyma yw agwedd y rhan fwyaf o'r wlad er hyny. Y mae miloedd yn byw dan addaw bod yn ddifrifol ac yn dduwiol yn mhen ychydig, eithr y mae Mab y dyn wedi dyfod cyn eu hamser hwy. Bechadur, pe bait yn sicr o barhad bywyd am flwyddyn, mis, wythnos, ïe, diwrnod, byddai rhyw ychydig o resymoldeb ar dy ohiriad; eithr gan na wyddost beth fydd y fory, ïe, y fynyd nesaf, ynfydrwydd yw "oedi yr amser." Bechaduriaid, peidiwch a bod mor ynfyd, gwallgof, anifeilaidd, a byw diwrnod, awr, mynyd mewn sefyllfa y bydd yn ofidus genych farw ynddi. "Am hyny, byddwch barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn." Pan y mae y *crocodile* yn cysgu ac yn agor ei safn, y mae y llygoden Indiaidd yn myned i mewn i'w ymysgaroedd, ac yn ymborthi arnynt. Pan y bydd dynion yn ddyogel yn eu pechodau y mae angau yn fynych yn dyfod arnynt yn annysgwyliadwy. Y dydd ag yr ydwyt fwyaf difeddwl am dy ddiwedd fydd dydd dy angau, y mae yn bosibl.

4. Y mae yr holl amser sydd genyt cyn dyfodiad Crist yn ddigon bach at y gwaith mawr hwn o ymbarotoi. Am hyny gweddiwch am gymhorth i fod mewn llafur beunyddiol yn ymdrwsio i gyfarfod â'ch Arglwydd. Y mae un philosophydd

yn dywedyd, "Y mae ein hoes yn rhy fer i ddysgu byw yn iawn." Mae y duwinydd yn dywedyd, "Nid yw ein holl fywyd ond braidd yn ddigon i ddysgu y gamp o farw yn iawn." Pe byddai weddi fer, neu uchenaid brudd, megys, Duw a faddeuo i mi—Arglwydd, cymer drugaredd arnaf, yn ymbarotoad digonol erbyn dyfodiad Crist, byddai y gwaith drosodd mewn amser byr; gellid ei gwblhau mewn ychydig o amser. Ond "na thwyller chwi; ni watwarir Duw;" canys nid yw y gwaith mawr hwn mor hawdd a hyny. Gofynwch i weision Duw, y rhai ydynt wedi cymeryd poen mawr, a threulio llawer o flynyddoedd gyda'r gorchwyl hwn, a chewch eu clywed hwy yn cwyno nad ydynt hyd y dydd hwn, er eu holl weddiau, dagrau, ymprydiau, gwyliadwriaethau, ac ymorchestiadau, ond yn lled anmharod i gyfarfod â "brenin y dychryniadau." Ac onid ydyw yn rhyfyg truenus mewn un dyn i dybio y gall ymbarotoi i farw a wynebu byd tragywyddol mewn awr o rybydd? Dihunwch, bechaduriaid, i ystyriaeth o'ch diwedd, ac ymbarotowch.

5. Pan y daw Mab y dyn ni bydd cyfleusdra mwyach i wneyd y gwaith hwn. Mae yn debyg y bydd llawer, pan y delo angau, yn gweddio yn ddifrifol yn ngeiriau y salmydd, "Paid â mi, fel y cryfhawyf, cyn fy myned ac na byddaf mwy." Mae un yn ceisio mis, arall wythnos yn ychwaneg, eithr y cwbl yn ofer. Nis gellir caniatau eu dymuniadau iddynt; nid oes bosibl a gohirio yr amser. Mae St. Gregory yn adrodd am ddyn, yr hwn oedd mor llawn o bechodau ag ydoedd o gyfoeth y byd hwn; pan ddaeth angau ato yn bur sydyn ryw noson, efe a waeddodd allan, *Truce but till the morning*—gohiriad ddim ond hyd y boreu. O Mab y dyn, aros hyd boreu y fory. Eithr anadlodd ei anadl olaf gyda dywedyd, Gall fod Crist yn aros yn hir cyn dyfod, eithr wedi y delo, ni erys mwy. Dysgwch oddiwrth y morwynion ffol i fod yn gall. Pan ddaeth y Priod-fab, y maent hwy yn dechreu dihuno; ond Och, yr oeddynt wedi cysgu dydd gras allan cyn hyn. Yr oedd marchnad yr efengyl wedi darfod, cynhauaf iachawdwriaeth wedi myned heibio. Yr ychydig oedd yn barod cyn hyn a aethant i mewn gydag ef i'r briodas, a chauwyd y drws.

6. Ni bydd eich parotoad yn prysuro dyfodiad Mab y dyn. Mae llawer yn meddwl os gwnant feddwl am farw, ac ymbarotoi, y daw angau yn fuan atynt; ac ar y tir hwn y maent yn taflu yn mhell y meddwl o drefnu eu tai a'u heneidiau.

Ond paid a gadael i ofnau ofergoelus dy dwyllo; nid ydyw angau ddim agosach oblegyd dy fod yn meddwl am dano ac yn ymbarotoi i'w gyfarfod; eithr bydd yn felusach pan y delo; bydd yr ergyd yn dynerach, a goleu yn yr hwyr yn talu am bob tywyllwch yn y boreu. Am hyny, pe baech yn methu gwneyd dim arall, gwnewch eich hunain yn barod i'r siwrnai dragywyddol. Y mae y "gwr o berchen tŷ" yn ofalus bob nos i gau a bolltio ei ddrysau, i ddyogelu ei dda rhag y lladron; fe allai nad ydyw ef mewn perygl ond o golli ei arian a'i dlysau; eithr yr ydym ni mewn perygl o golli ein heneidiau gwerthfawr, y rhai ydynt fil fwy o werth na'r bydoedd, chwaithach tŷ. O fy mrodyr, os caiff Crist ni yn anmharod yn ei ddyfodiad, gwell fuasai i ni pe nas ganesid erioed; byddwn fel y morwynion ffol, yn erbyn pa rai yr oedd drws y nef wedi ei gau, ac ni allasai un taerineb lwyddo i gael agoriad. Ië, fel y dyn hwnw ddaeth i'r briodas heb y wisg briodas, yr hwn a rwymwyd draed a dwylaw, ac a fwriwyd i'r tywyllwch eithaf. Neu fel y gwas anfuddiol yn niwedd y benod hon, yr hwn a "wahanwyd pan ddaeth ei arglwydd; a gosodwyd ei ran ef gyda'r rhagrithwyr; yno y bydd wylofain a rhincian danedd." Ond i ddybenu.

(1.) Fe ddaw Mab y dyn yn fuan. Y mae rhagredegwyr ei fyddin wedi dyfod eisoes, ac y mae y rhai hyny yn dywedyd fod eu Harglwydd yn nesâu yn gyflym, ei fod yn agos, ei fod yn yr ymyl, y bydd wedi dyfod i'r golwg yn gynt nag ydych yn meddwl. Y mae wyneb ei fyddin yn gwneyd ei hymddangosiad—dyma'r *front* yn y golwg, yn llu banerog, ofnadwy, yn gryf ac yn rhwysgfawr; y mae yn nghanol ein gwlad, ac y mae yr ôl-fyddin yn dyfod i fyny gyda chyflymder a nerth. O Arglwydd, pwy a ddichon sefyll! Mae genym ddesgrifiad o'i fyddinoedd yn Dat. vi. Y gyntaf yw march gwyn yr efengyl; yr ail, march coch rhyfel; y drydedd yw march du newyn; y bedwaredd yw y march gwelw-las, "ac enw yr hwn oedd yn eistedd arno oedd, Marwolaeth; ac yr oedd uffern yn canlyn gydag ef. A rhoddwyd iddynt awdurdod ar y bedwaredd ran o'r ddaear, i ladd â chleddyf, ac â newyn, ac â marwolaeth, ac â bwystfilod y ddaear."

Y mae yr adran gyntaf o'r fyddin wedi dyfod i fyny i'n plith—y mae y march gwyn wedi dyfod i'r golwg, "a'r hwn sydd yn eistedd arno â bwa ganddo; a choron ar ei ben, ac y mae yn myned allan yn gorchfygu, ac i orchfygu." O Arglwydd, bydded iddo orchfygu rhyw rai yn y cyfarfod hwn,

a'u gwneyd yn ewyllysgar yn nydd dy nerth. Os nad ydych wedi eich gorchfygu a'ch dwyn i'r llwch, os nad ydych wedi eich clwyfo a'ch darostwng gan saethau argyhoeddiad, a'ch meddyginiaethu â balm trugaredd trwy yr efengyl, byddwch wedi eich gorchfygu yn llwyr am dragywyddoldeb yn fuan, gan saethau gwenwynig marwolaeth a cholledigaeth. Fe wna march gwelw-las marwolaeth eich sathru yn llaprau dan ei draed adamantaidd, ac ni bydd neb a'ch gwaredo. Bendigedig yn oes oesoedd, y mae march gwyn yr efengyl yn ein plith yn awr, y mae gyda ni heddyw. Bendigedig, y mae yn y golwg bob dydd; yr ydym yn ei weled yn gyson yn ei symudiadau yn ein tref ac yn ein hardaloedd; y mae yn marchogaeth yn ol ac yn mlaen ar hyd ystrydoedd Jerusalem, trwy ein heglwysi, ac yn cynyg tangnefedd i bell ac agos. Diolch am y Tywysog sydd yn eistedd ar y march gwyn; Tywysog tangnefedd ydyw, Tywysog digon cryf, ond llechu dan ei gysgod, i'ch cadw rhag y march coch, y march du, a'r march gwelw-las. Llechwch o dan ei gysgod. Y mae march coch rhyfel wedi ymweled â ni rai gweithiau, ac y mae march du newyn wedi bod yn ein gwlad, ac yn ein bygwth yn awr hefyd, os nad ydyw yn ein plith i ryw fesur. Ond fe allai y dylaswn ddywedyd hefyd am farch coch rhyfel, mai nid efe dalodd ymweliad â ni, eithr nyni a aethom i ymweled ag ef yn hytrach i Gyfandir Ewrop, pryd y sathrwyd miloedd ar filoedd o dan ei draed o'n brodyr, ein cyfeillion, a'n cydwladwyr. Eithr dyma y sylw yr oeddwn am dynu ato: Yr ydym wedi gweled tair rhan o'r fyddin ofnadwy hon yn symud gyda rhwysg mawr dros y llawr. Y gyntaf mewn trugaredd, yr ail a'r drydedd mewn barnedigaethau, yn dinystrio a difrodi pob rhan o'r greadigaeth. Yr wyf wedi camsyniad; aroswch: y mae yr ôl-fyddin wedi dyfod i fyny hefyd. Mae brenin y dychryniadau, mewn llawn arfogaeth, yn eistedd yn rhwysgfawr a buddugoliaethus ar y march gwelw-las, yn sathru o dan ei garnau haiarnaidd fach a mawr, hen ac ieuainc, rhieni a phlant, gwreng a boneddig. Bobl, beth a wnewch i'w gyfarfod? Mae yn tori i lawr yn ddidrugaredd, ac yn sathru y bobl o dan ei draed fel gwellt mewn tomen. Onid yw wedi tori i mewn i dai ein cymydogion? Onid yw wedi ymaflyd yn llawer o'n cyfeillion, a'u rhoddi i orwedd yn y bedd? Onid ydyw wedi taflu i lawr amryw o'n perthynasau agosaf ac anwylaf? Onid ydynt wedi eu rhoddi i orwedd yn ddystaw o dan y gwys? Edrychwch allan, ymbarotowch

i dderbyn ergyd marwol angau. Byddwch yn barod i gymeryd y saeth farwol oddiar fwa brenin y dychryniadau.

(2.) Cofiwch mai nid amddiffynfa gadarn yw eich sefyllfa. Bydd yn rhaid i chwi gwympo yn fuan o flaen y byddinoedd galluog hyn. Yr ydych yn "trigo mewn tai o glai," y mae eich sail mewn pridd, y rhai a falurir yn gynt na gwyfyn." Y bedd yw "tŷ ein hir gartref," y pryf yw ein "mam a'n chwaer." Cofiwch fod amser ein hymddatodiad a'n hymadawiad yn nesâu. Mae y *Lord of the manor* yr ydym yn perthyn iddi yn benderfynol o dynu i lawr ein hen dai, a symud ein lluestai. Bechaduriaid, y mae yn llawn bryd i chwi edrych allan am *lodgings* newydd, canys bydd angau wedi eich troi allan yn fuan o'ch preswylfeydd presenol; ac os na fydd un cysgod yn barod genych i droi i mewn, byddwch allan yn y stormydd tragywyddol yn oes oesoedd. Cofiwch, fy nghyfeillion, nid yw ein trigfeydd presenol yn *freehold*, na *copyhold*, na *leasehold*, eithr deiliaid wrth ewyllys—*tenants at will* ydym. Bydd ein Meistr mawr yn danfon *ejectment* gyda grym o *chancery* y nef, trwy law angau, i beri i ni ymadael â'r trigfanau hyn. Y mae pregethwyr tlawd yr efengyl wedi eu danfon â rhybydd i'r preswylwyr—*notice to quit*—er ys llawer dydd. Yr ydym dros Dduw yn eich rhybyddio fod yn rhaid i chwi ymadael, eithr pa bryd nis gŵyr neb. Nid yn mhen haner blwyddyn, neu fis, ond fe allai cyn pen wythnos. Canys fe ddaw mewn "awr nad ydych chwi yn dysgwyl am dano." O Arglwydd Dduw, pa beth a wnaf? Wrandawyr, pe bai Mab y dyn yn dyfod cyn y boreu, a ydych wedi parotoi llety cysurus am dragywyddoldeb? neu ynte a ydych yn debyg o fod heb aneddau, a chael eich troi i'r carchar tragywyddol, i uffern heb dô na chysgod, yn trigo yn noeth "gyda'r tân ysol," ac yn preswylio byth "gyda'r llosgfeydd tragywyddol!" O na, yr wyf yn gobeithio. Ewyllys fy nghalon, a'm gweddi ar Dduw, yw eich bod yn gadwedig, ac yn ddiangol rhag y llid a fydd. Fy anwyl gyfeillion, llefwch am yr unrhyw grefydd ag oedd gan yr apostol Paul: dyna oedd ei iaith ef, "Canys ni a wyddom os ein daearol dŷ o'r babell hon a ddatodir, fod i ni adeilad gan Dduw; sef tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd."

# PREGETH VI.

## CRIST YN BOB PETH.

"Lle nid oes na Groegwr nac Iuddew, enwaediad na dienwaediad, barbariad na Scythiad, caeth na rhydd; ond Crist sydd bob peth, ac yn mhob peth." Col. iii. 11.

MAE yn debyg fod y bobl dan yr Hen Destament yn gweddio yn enw yr Arglwydd Iesu. Yr oeddynt yn ymbil â Duw er mwyn Crist. "Ond yr awr hon gwrando, O ein Duw ni, ar weddi dy was, ac ar ei ddeisyfiadau, a llewyrcha dy wyneb ar dy gysegr anrheithiedig, er mwyn yr Arglwydd," Deut. ix. 17. Efe yw y ffynonell lle y mae cyflawnder y Duwdod yn trigo, efe hefyd yw y bibell ag sydd yn trosglwyddo pob peth i'n gwlad ni. Yr holl ddaioni ag y mae yr Arglwydd yn meddwl gyfranu i'w bobl sydd wedi ei roddi i gadw ynddo ef, fel Ymddiriedolwr. Enaid yw egwyddor gweithrediad mewn dyn, ïe, enaid yw pob peth y byd hwn, yn rhoddi ysgogiad a nerth yn y cwbl. Crist yw pob peth yr enaid, ïe, enaid yr enaid, egwyddor ei holl ysgogiadau ysbrydol. Mae Crist yn Awdwr pob dymuniad da yn y saint. "Mi a groeshoeliwyd gyda Christ, eithr byw ydwyf; eto nid myfi, ond Crist sydd yn byw ynof fi: a'r hyn yr ydwyf yr awr hon yn ei fyw yn y cnawd, ei fyw yr ydwyf trwy ffydd Mab Duw, yr hwn a'm carodd, ac a'i dododd ei hun drosof fi." "Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu, o'i ewyllys da ef."

Y mae Crist yn cael ei gydmaru i ymborth, dillad, meddyginiaeth, iechyd, aur, ïe, "pob peth, ac yn mhob peth." "Yr hwn sydd yn gorchfygu a etifedda bob peth," Dat. xxi. 7. Pob peth at bob gwasanaeth, ac i bob dyben. Ni byddai enwaediad, a holl ragorfreintiau yr Iuddewon, ond croesau, a beichiau ychwanegol i'r Cenedloedd, heb Grist. Byddai pob daioni arall yn felldith heb Grist. "Bendith yr Arglwydd a gyfoethoga, ac ni ddwg flinder gyda hi," Diar. xi. 22. Y mae iechyd yn troi y clefyd gwaethaf, heb Grist; cyfoeth yn rhwyd ac yn fagl heb ei fendith ef. Os nad yw Crist yn bob peth i chwi, nid yw efe yn ddim. "Chwi a aethoch yn ddifudd oddiwrth Grist, y rhai ydych yn ymgyfiawnhau yn y ddeddf: chwi a syrthiasoch ymaith oddiwrth ras," Gal. v. 4. Os yw Crist yn bob peth, nid oes eisiau dim o'r eiddoch chwi i gymysgu ag ef, er ei wneyd yn fwy effeithiol; fel y bydd y Pabyddion, yn cymysgu dyledswyddau a Christ yn nghyd,

fel y byddo un yn cynorthwyo y llall. Mae Crist yn fwy effeithiol ar ei ben ei hun; efe ei hun yw y cwbl sydd arnom eisiau, am hyny y mae pob peth ynddo. Hebddo ef nid oes dim o werth: "Gwagedd o wagedd, gwagedd yw y cwbl." Nid yw cyfoeth, anrhydedd, a phob mawredd a mwyniant dynol ond *ciphers;* "Crist sydd bob peth, ac yn mhob peth." "Cymer, atolwg, fy mendith (ebe Jacob wrth Esau) yr hon a ddycpwyd i ti; oblegyd Duw a fu raslon i mi, ac am fod genyf bob peth." "Pa un bynag ai Paul, ai Apolos, ai Cephas, ai y byd, ai bywyd, ai angau, ai pethau presenol, ai pethau i ddyfod; y mae pob peth yn eiddoch chwi, a chwithau yn eiddo Crist, a Christ yn eiddo Duw;" Gen. xxxiii. 9; 1 Cor. iii. 22, 23. Pwy bynag sydd â Christ yn ei feddiant, nis gall fod byth mewn eisiau. Y credadyn tlawd yw y dyn cyfoethocaf yn y deyrnas. Y mae ganddo bob peth; am hyny pwy all ychwanegu dim at bob peth? Os yw Crist yn bob peth, peidiwch ag wylo, pe baech yn colli y byd, a'r oll ag sydd ynddo; os bydd yr Arglwydd Iesu genych, bydd pob peth yn eich meddiant, wedi colli y cwbl. Ychydig sydd yn mhob peth y byd, eithr y mae pob peth yn ychydig Crist. Chwi ffeindiwch bob peth sydd arnoch eisiau yn ychydig o wedd wyneb Crist. Mae dillad yn dda i gynesu, ond ni wnant y tro yn lle bara; ac ni wna bara y tro yn lle dillad ychwaith; rhaid cael un i ymddilladu, a'r llall i dori ein newyn; eithr y mae Crist yn bob peth at bob gwasanaeth, i bob dyn, at bob amser a sefyllfa. Os collwch Grist, chwi gollwch y cwbl.

Pe byddai holl gyfoeth dyn yn gynwysedig mewn un tlws, neu un perl, byddai yn dra gofalus am y tlws neu y perl hwnw. Bechadur, y mae pob peth dy enaid, am dragywyddoldeb, mewn un perl gwerthfawr: bydd yn ofalus i gydio ynddo, a chadw gafael arno byth. Pob peth yn Nghrist, a Christ yn bob peth. Mae y rhai ag sydd wedi gweled ei nerth yn ei geisio â'r gofal mwyaf; a phan y maent yn tybied eu bod wedi ei golli, maent yn codi ac yn chwilio am dano gyda'r diwydrwydd mwyaf. "Gwell yw dy gariad na gwin. Tyn fi; ni a redwn ar dy ol. Y brenin a'm dyg i'w ystafellau: ni a ymhyfrydwn, ac a ymlawenhawn ynot; ni a gofiwn dy gariad yn fwy na gwin; y rhai uniawn sydd yn dy garu. Merched Jerusalem, gorchymynaf i chwi, os cewch fy anwylyd, fynegi iddo fy mod yn glaf o gariad," Can. i. 2, 3; v. 8. Os oes rhyw beth yn uwch ei bris gan eich eneidiau

na Christ, nid ydych yn ei werthfawrogi ef o gwbl; Crist sydd bob peth neu ddim. Os nad yw efe uwchlaw yr holl ddaear, ïe, a'r holl nefoedd hefyd yn dy fryd, y mae yn sefyll yn rhy isel yn dy feddwl; yr ydwyt yn edrych arno fel Crist tlawd, ac nid Crist cyfoethog. Os nad yw efe yn Gyfaill goreu genyt, yn gyfoeth digonol yn mhob tlodi, yn ddigon yn mhob sefyllfa i dy ddiwallu, nid yw efe yn Grist i ti. "A dywedodd Abram, Arglwydd Dduw, beth a roddi di i mi, gan fy mod yn myned yn ddiblant?" Gen. xv. 2. Yr oedd gan Abram etifeddiaethau eang, eto yr oedd rhyw beth yn eisiau ag oedd yn gwneyd y cwbl yn boenus, sef mab ac etifedd. Wedi cael hwnw eilwaith yr ydoedd yn rhy fach i wneyd pob peth. Pe baech yn cael y cwbl a welsoch ac a glywsoch am danynt, ni wnelent byth bob peth i fyny; eithr os cewch afael ar Grist cewch bob peth mewn un peth. Amddifadrwydd o'r Arglwydd Iesu yw gwir dlodi, yn dlawd o bob peth; canys nid oes dim yn wirioneddol lle nad yw Crist. Yr oedd yr apostol Paul heb ddim, eto yn meddianu pob peth, 2 Cor. vi. 10. Mae y cwbl sydd genych yn wagter, ïe, yn felldith, heb Grist. Dylech ei garu uwchlaw pob peth sydd genych; uwchlaw cyfeillion, iechyd, a bywyd yn wir. Nid ydych yn ei garu oll os heb ei garu yn well na phawb. "Yr hwn sydd yn caru tad neu fam yn fwy na myfi, nid yw deilwng o honof fi; a'r neb sydd yn caru mab neu ferch yn fwy na myfi, nid yw deilwng o honof fi," Mat. x. 37. Byddwch foddlon ar Grist, pan y byddoch mewn eisiau pob peth arall; gwnewch eich holl angenion i fyny ynddo ef. Gwnewch ef yn ddyben yn y cwbl; yn ddyben wrth ddarllen, yn ddyben wrth weddio, yn ddyben wrth bregethu, yn ddyben wrth ddyoddef; yn ddyben yn mhob peth. "Yn ol fy awyddfryd a'm gobaith, na'm gwaradwydder mewn dim: eithr mewn pob hyder, fel pob amser, felly yr awr hon hefyd, y mawrygir Crist yn fy nghorph i, pa un bynag ai trwy fywyd, ai trwy farwolaeth," Phil. i. 26.

Y mae yr apostol yn cyfeirio y cwbl at Grist fel y dyben uchaf. Crist yw yr Alpha a'r Omega, y cynhyrfiad cyntaf, a'r dyben olaf. Cerddwch ato am y cwbl: maddeuant pechodau, nerth yn ol y dydd, cysur mewn gorthrymderau; y mae y cwbl ynddo, ac yr ydych yn ei ddianrhydeddu wrth fyned i'w ceisio i un man arall. Gwnewch y cwbl yn ei enw, a thrwy ei nerth. "A rhodiwch mewn cariad, megys y carodd Crist ninau, ac a'i rhoddodd ei hun drosom ni yn offrwm ac

yn aberth i Dduw o arogl peraidd," Eph. v. 2. "A pha beth bynag a wneloch, ar air neu ar weithred, gwnewch bob peth yn enw yr Arglwydd Iesu, gan ddiolch i Dduw a'r Tad trwyddo ef," Col. iii. 17.

Os ydych yn dlawd yn y byd hwn, eto yn perchenogi Crist, peidiwch a grwgnach, y mae genych ddigon; y mae genych bob peth. Os nad oes genych ddim cyfoeth i adael i'ch plant yn eich ewyllysiau, gweddiwch am iddynt feddianu Crist, yna bydd ganddynt bob peth, eled y byd lle yr elo. Bendigedig, y mae genym etifeddiaethau eang mewn gobaith, ac i'n plant ar ein hol. Gogoniant, y mae genym gyfoeth mawr, anfeidrol fawr, ïe, "pob peth." A pha eisiau ychwaneg sydd? Nid oes dim cysur yn y creaduriaid ond sydd o hono ef; efe yw Awdwr y greadigaeth gyntaf, ac efe yw Awdwr y greadigaeth newydd yn eich calonau. O hono ef y mae natur, gras, a gogoniant; oblegyd "ynddo ef yr ydym ni yn byw, yn symud, ac yn bod," Actau xvii. 28. Yr ydym yn byw ynddo fel dynion, ac yn byw ynddo fel credinwyr, a byddwn fyw ynddo mewn gogoniant byth yn y man; nid oes eisiau myned byth allan o hono am ddim. Efe yw yr achos effeithiol o bob peth. Felly hefyd y mae yn ysgrifenedig, "Y dyn cyntaf Adda a wnaed yn enaid byw, a'r Adda diweddaf yn ysbryd yn bywhau," 1 Cor. xv. 45. "Oblegyd megys y mae y Tad yn cyfodi y rhai meirw, ac yn eu bywhau; felly hefyd y mae y Mab yn bywhau y rhai a fyno. Canys y Tad nid yw yn barnu neb; eithr efe a roddes bob barn i'r Mab: fel yr anrhydeddai pawb y Mab, fel y maen tyn anrhydeddu y Tad. Yr hwn nid yw yn anrhydeddu y Mab, nid yw yn anrhydeddu y Tad yr hwn a'i hanfonodd ef. Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Y neb sydd yn gwrando fy ngair i, ac yn credu yn yr hwn a'm hanfonodd i, a gaiff fywyd tragywyddol, ac ni ddaw i farn, eithr efe a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd. Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Y mae yr awr yn dyfod, ac yn awr y mae, pan glywo'r meirw lef Mab Duw: a'r rhai a glywant, a fyddant byw," Ioan v. 21—25. Ni buasai dy enaid marw wedi anadlu erioed, oni buasai i Grist anadlu anadl einioes ynddo. Ei ras ef yw egwyddor y bywyd tragywyddol: "Crist ynoch, gobaith y gogoniant." Efe yw amddiffynydd ein bywydau; pan yr ydym yn cysgu, efe sydd yn ein gwylied, ac yn ein deffroi. Pan yn llewygu, y mae efe yn ein nerthu a'n cysuro. Y mae efe yn symud ymaith y doluriau ag sydd yn peryglu a dinystrio bywyd; yn

bendithio yr ordinhadau sydd yn cynal bywyd; a phan yr ydym yn agos i angau, ac yn barod i ymdreiglo yn llwch y bedd, y mae efe yn adferu ac yn bywhau drachefn. "Efe a ddychwel fy enaid: efe a'm harwain ar hyd llwybrau cyfiawnder, er mwyn ei enw," Sal. xxiii. 3. Y mae Crist yn taflu dwr ar y planigyn gwywedig, a'i ddychwelyd i fywiogrwydd a gwyrddlesni. "Pan ymddangoso Crist ein bywyd ni, yna hefyd yr ymddangoswch chwithau gydag ef mewn gogoniant," Col. iii. 4.

Efe yw esiampl ein bywydau; y rheol i gerdded wrthi; y copi i ysgrifenu yn ei ol; y mae hyn yn un o ddybenion ei ymgnawdoliad; "i adael i ni esiampl fel y canlynem ei ol ef," 1 Pedr ii. 21. Y mae yn rhaid cael bywyd i'w ddylyn, canys y mae enaid heb Grist fel corph heb enaid—yn farw. "Oblegyd dy frawd hwn oedd yn farw, ac a aeth yn fyw drachefn." Efe a'ch bywhaodd "pan oeddych feirw mewn camweddau a phechodau;" Luc xv. 32; Eph. ii. 1. Bod heb Grist yw y farwolaeth. Yr ydych yn feirw yr awr hon os ydych hebddo; ac os byddwch feirw hebddo, chwi a fyddwch feirw yn dragywyddol yn uffern. "Yr hwn y mae y Mab ganddo y mae y bywyd ganddo; a'r hwn nid yw ganddo Fab Duw, nid oes ganddo fywyd," 1 Ioan v. 12. Hyd oni ffurfier Crist ynoch y mae yr enaid yn farw; ac y mae enaid marw yn waeth na chorph marw, yn gymaint a'i fod yn fwy rhagorol. Ffieidd-dra yw marwolaeth yn ei natur mewn corph ac enaid. "Rhoddwch i mi feddiant beddrod gyda chwi (ebe Abraham) fel y claddwyf fy marw allan o'm golwg," Gen. xxiii. 4. Sarah, hyfrydwch ei lygaid pan yn fyw, wedi troi yn faich ar ol marw. Hoffder ei enaid pan yn fyw, gofid ei galon wedi iddi farw. "Cleddwch hi o'm golwg." Y mae marwolaeth ysbrydol yn fwy ffiaidd o lawer ger bron Duw; y mae yn syndod pa fodd y mae yn gallu ei oddef cyhyd i ddrewi yn ei ffroenau; na buasai cyn hyn wedi claddu yr eneidiau yn dragywyddol allan o'i olwg yn y pwll diwaelod. "A agori di dy lygad ar y fath yma?" Sal. xiv. 3. Cyffelybir eneidiau meirwon i gelain, yr hwn sydd yn halogi pob peth ag sydd yn dyfod yn agos ato. Y mae holl synwyrau enaid marw yn llwyr farw i wrthddrychau priodol. Nid yw y llygad yn canfod tegwch yr Arglwydd Iesu, yr hwn sydd oll yn hawddgar. Y mae ein salwch ein hunain rhyngom a phob tegwch, a'n llygredigaeth yn drewi enaint yr apothecari. Marwolaeth ysbrydol yw pen y ffordd i farwolaeth dragy-

wyddol. "Oblegyd gwaed saint a phrophwydi a dywalltasant hwy, a gwaed a roddaist iddynt i'w yfed; canys y maent yn ei haeddu," Dat. xvi. 6. Eithr os ydyw yr Arglwydd Iesu yn bob peth yn eich bywyd ysbrydol, ni fyddwch feirw yn dragywydd. Byddwch ambell waith fel llysieuyn yn y gauaf, yn gwywo mewn ymddangosiad, eithr nid ydyw yn marw, y mae y bywyd yn nghudd yn y gwreiddyn. "Eto enyd bach, a'r byd ni'm gwel mwy: eithr chwi a'm gwelwch; canys byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd," Ioan xiv. 19. Os yw y gwreiddyn yn fyw, nis gall y planigyn farw; tra y mae y ffynon yn llawn, nis gall y ffrydiau sychu. Y mae yn bosibl i ddyn da fod yn glaf ac yn wan, eithr nis gall farw. Ni bydd gras farw tra y mae Crist yn fyw. Yr ydym yn derbyn bywyd cyson oddiwrth Grist, trwy rinwedd yr undeb ysbrydol sydd rhyngom ag ef, yr hyn sydd yn ein cadw mewn gwyrddlesni a ffrwythlondeb crefyddol; y cyfryw ffrwythlondeb sydd yn eglurhad o gyfoeth a grym y gwreiddyn. Nid oes genym esgus am ein marweidd-dra; y mae digon o fywyd yn Nghrist, a digon o ewyllysgarwch i'w gyfranu, ond myned ato; y mae ein diffrwythder yn ddianrhydedd i'w enw.

Y mae gan satan waith mawr cyn y gall ddinystrio eich bywyd; rhaid iddo yn gyntaf ladd Tywysog y bywyd, a dystrywio y gwreiddyn, cyn y gall atal y blagur. Os lladdwyd Tywysog y bywyd, y mae yn awr yn fyw, ac wedi "myned i barotoi lle i chwi," Ioan xiv. 2. Mae yn siarad fel pe buasai lle gogoneddiad heb ei greu nes iddo ef esgyn. "I'r man yr aeth y Rhagflaenor drosom ni, sef Iesu, yr hwn a wnaethpwyd yn Arch-offeiriad yn dragywyddol, yn ol urdd Melchisedec." "Ac a'n cyd-gyfododd, ac a'n gosododd i gydeistedd yn y nefolion leoedd yn Nghrist Iesu;" Heb. vi. 20; Eph. ii. 6. Fel y mae breninoedd yn danfon o'u blaen i wneyd y lle yn barod i'w derbyn, felly y mae Crist wedi myned o'r blaen ei hunan, i barotoi lle i'r frenines erbyn y byddo yn barod i'w ganlyn. Nid yn unig y mae y ffordd i'r bywyd yn egluredig trwy esiampl, eithr efe, trwy ei deilyngdod, yw y ffordd. Y mae wedi parotoi coron i ti, ac fe fyn ei gweled ar dy ben.

Nid yw iachawdwriaeth o weithredoedd, fy nghyfeillion, eithr Crist sydd "bob peth, ac yn mhob peth." Gweithredoedd yn wir! ymaith â'r fath gadachau; nid ydynt yn werth ffyrling. Yr ydym yn gloff ar y goreu; y mae ein gwin wedi ei gymysgu â dwfr lleidiog. Nis gall dyn bwrcasu bywyd

wrth dalu hen ddyled, a chaniatau ei fod yn gallu ei dalu hefyd; eithr ni thâl efe hatling byth: y mae ein hufudd-dod yn rhy fach i dalu na hen na newydd byth. A oes ganddo ddiolch i'r gwas hwnw am wneuthur o hono y pethau a orchymynwyd iddo? Nid wyf yn tybied, Luc xvii. 9. Y peth nad yw yn haeddu diolch, nid yw yn ddigon i deilyngu nefoedd. Gadewch i Babyddion wneyd eu gweithredoedd yn fywyd tragywyddol; i Arminiaid wneyd ewyllys rydd yn iachawdwriaeth; nyni a gymerwn Grist yn fywyd, yn iachawdwriaeth, ïe, "yn bob peth." Mae efe yn cael ei alw nid yn unig yn Iachawdwr, ond hefyd yn iachawdwriaeth. "A phob cnawd a wel iachawdwriaeth Duw," Luc iii. 6. Mae yr iachawdwriaeth yn sicr i'r holl had. Mae yr ysgrythyr yn siarad am dani fel peth wedi ei gwneyd yn barod a'i chwblhau, neu fel pe byddem eisoes mewn gogoniant. "Y rhai a gyfiawnhaodd efe, y rhai hyny hefyd a ogoneddodd efe," Rhuf. viii. 30. Mae y dull hyn o lefaru yn cael ei ddefnyddio i ddangos sicrwydd yr iachawdwriaeth. Nid oes dim byth a'ch ceidw allan o'r nefoedd oddieithr gallu tynu Crist allan yn gyntaf. Gan mai efe yw eich bywyd, chwi gewch nefoedd, er gwaethaf cythreuliaid a'ch llygredigaethau eich hunain. "Rhyddion fyddwch yn wir." Eithr y mae yn rhaid i chwi fod yn Nghrist cyn y gellwch fyw gyda Christ. Mae Crist yn byw ynom ni yn gyntaf ar y ddaear, a ninau yn byw yn Nghrist; ac yn mhen ychydig cawn fyw gydag ef mewn gogoniant. Os nad ydyw yn ffynonell ein gras, ni fydd yn gyflawnder ein dedwyddwch. Fy nghyfeillion, y mae Crist wedi sicrhau bywyd tragywyddol mewn addewidion diysgog. "Anwylyd, yr awr hon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd eto beth a fyddwn: eithr ni a wyddom pan ymddangoso efe y byddwn gyffelyb iddo; oblegyd ni a gawn ei weled ef megys ag y mae." "Ac efe a ddenfyn ei angylion â mawr sain udgorn; a hwy a gasglant ei etholedigion ef yn nghyd o'r pedwar gwynt, o eithafoedd y nefoedd hyd eu heithafoedd hwynt; 1 Ioan iii. 2; Mat. xxiv. 31. Efe a ddaw "i'r rhai sydd yn ei ddysgwyl, er iachawdwriaeth," Heb. ix. 28. Y mae gweddiau yr eglwys yn mhob oes yn ei gymhell i ddyfod yn ol ei addewidion. "Yn wir, tyred, Arglwydd Iesu," Dat. xxii. 20.

Un o weddiau olaf y Cyfryngwr oedd yn nghylch i'r saint gael byw byth gydag ef yn y nefoedd. "Yr wyf yn ewyllysio, lle yr wyf fi, fod o honynt hwythau hefyd gyda

myfi; fel y gwelont fy ngogoniant a roddaist i mi: oblegyd ti a'm ceraist cyn seiliad y byd. Y Tad cyfiawn, nid adnabu y byd dydi, eithr mi a'th adnabum, a'r rhai hyn a wybu mai tydi a'm hanfonaist i. A mi a hysbysais iddynt dy enw, ac a'i hysbysaf: fel y byddo ynddynt hwy y cariad â'r hwn y ceraist fi, a minau ynddynt hwy," Ioan xvii. 24—26. Gorchymynir i'r saint ddysgwyl hyn yn eu crefydd. "Bydded eich lwynau wedi eu hymwregysu, a'ch canwyllau wedi eu goleuo: a chwithau yn debyg i ddynion yn dysgwyl eu Harglwydd, pa bryd y dychwel o'r neithior; fel pan ddelo a churo, yr agoront iddo yn ebrwydd," Luc xii. 35, 36. Mae holl gysur tragywyddol yr eglwys yn ymgrogi wrth y newydd am ddyfodiad Crist, canys nid yw yn bosibl ei fwynhau yn bob peth heb ei fwynhau yn gyflawn. Mae ein Harglwydd bendigedig yn dyfod i egluro pethau yn fwy cyflawn. Cewch ei weled yn "dyfod heb bechod;" a mwy o syndod byth, cewch weled eich hunain yn ddibechod ynddo. Fe fydd ein Iesu ni yn ymddangos yn bob peth fel dinystriwr pechod, "pan ddel efe i'w ogoneddu yn ei saint, ac i fod yn rhyfeddol yn y rhai oll sydd yn credu (o herwydd i'n tystiolaeth ni yn eich mysg gael ei chredu) yn y dydd hwnw," 2 Thes. i. 10. Y mae efe yn egluro gogoniant iddynt hwy, ac yn ymogoneddu ynddynt. Pob peth y saint yw Crist, a phob peth Crist yw y saint. Y mae yn dyfod yn y man i roddi terfyn i'ch holl ddyoddefiadau. "A diafol, yr hwn oedd yn eu twyllo hwynt, a fwriwyd i'r llyn o dân a brwmstan, lle y mae y bwystfil a'r gau brophwyd; a hwy a boenir ddydd a nos yn oes oesoedd," Dat. xx. 10. Mae yn dyfod i grynhoi ei bobl yn nghyd o'r pedwar gwynt, eu ffurfio yn un teulu, yn un corph, ac yn un eglwys iddo ei hun; ac yntau yn bob peth i bawb o honynt byth. Cawn ei weled ef eto yn y cnawd, yn sefyll ar ein daear ni, ac yn bloeddio yn yr udgorn diweddaf, "Feirwon, deuwch allan o'ch beddau." "Yna y meirw yn Nghrist a gyfodant yn gyntaf: yna ninau y rhai byw, y rhai a adawyd, a gipir i fyny gyda hwynt yn y cymylau, i gyfarfod â'r Arglwydd yn yr awyr: ac felly y byddwn yn wastadol gyda'r Arglwydd. Am hyny dyddenwch eich gilydd â'r ymadroddion hyn," 1 Thes. iv. 16—18. Y mae Crist yn bob peth oddiyma i dragywyddoldeb. Digon i fyw, digon i farw, digon wedi marw, digon byth. Gogoniant! efe yw y sylfaen safadwy, efe yw y pen congl-faen gwerthfawr, efe yw y dwfr o'r graig, efe yw y manna yn yr anialwch, efe yw y dillad na

heneiddiasant, efe yw y pren sydd yn pereiddio dyfroedd Marah, efe yw yr arch-offeiriad mawr, efe yw y prophwyd o'r bobl, efe yw Brenin Sïon, efe yw yr arch a'r drugareddfa, efe yw y wialen sydd yn blodeuo, efe yw y bustach, efe yw yr oen perffeith-gwbl, efe yw yr hwrdd yn y dyrysni, efe yw yr aner goch, efe yw y cywion colomenod, efe yw y bwch diangol; gogoniant, efe yw y cwbl; efe sydd "bob peth, ac yn mhob peth." Y mae ychwaneg, filoedd o weithiau, yn Nghrist nag sydd yn y cwbl oll, a'u gosod gyda'u gilydd. Y mae "gwaed y taenelliad yn dywedyd yn well" na phawb a phob peth. Pe bawn heb ddim yn y byd hwn, heb fara i fwyta, heb ddillad i wisgo, heb iechyd, heb gyfeillion, mi wnawn yn burion wedi hyny; y mae genyf bob peth ynddo ef; bara, dillad, cyfeillion, iechyd, am byth. "Y can cymaint yr awr hon, y pryd hwn, ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol," Marc x. 30. Gogoniant! y mae hi yn gwella, a gwella a wna byth.

Edrychwch, fy nghyfeillion, ar y llyfr hwn, y Bibl bendigedig; gadewch i mi ei gofleidio, gadewch i mi ei wasgu yn fy mynwes; dyma sypyn o *frank notes*, nid *bank of England*, eithr y *bank of heaven*—ariandy y nef. Bendigedig, yr wyf yn gyfoethocach na holl *ferchants* y Casnewydd, a'u gosod gyda'u gilydd: yr wyf yn well fy myd na'r *lords temporal* a *spiritual;* ïe, ni newidiwn fy sefyllfa â'r *Grand Turk:* dyma *notes* y gallaf gael *cash* am danynt bob dydd: "Am hyny nid ofnwn pe symudai y ddaear, a phe treiglid y mynyddoedd i ganol y môr. Er rhuo a therfysgu o'i ddyfroedd, er crynu o'r mynyddoedd gan ei ymchwydd ef. Duw sydd noddfa a nerth i mi, cymhorth hawdd ei gael mewn cyfyngder," Sal. xlvi. Lluchied y môr ei ddyfroedd hyd y nefoedd, hollted y creigiau, eled y ddaear ar dân; fe ddaw fy enaid tlawd o bob dyfnder i fyny at Grist. Efe yw pob peth amser, pob peth tragywyddoldeb, pob peth dynion, pob peth angylion: "Ar yr hyn bethau y mae yr angylion yn chwenychu edrych." Fy nghyfeillion, cymerwch ef fel eich pob peth, ac ymddygwch ato bob amser fel eich peth penaf. Dysgwyliwch wrtho fel eich unig Noddwr, rhoddwch ymddiried ynddo fel eich Cyfaill goreu.

Os yw Crist yn bob peth i chwi, yr ydych chwithau yn rhyw beth iddo yntau, ac i'w achos ar y ddaear. Mae llawer o ddynion yn dysgwyl pob peth oddiwrth Grist yn y byd a ddaw, eithr ni roddant hwy ddim, neu y peth nesaf at hyny,

i gynal ei achos yn y byd. Twyll a rhagrith yw y grefydd hono; crefydd nad yw yn werth ei harddel, crefydd na chaiff ddim groesaw wrth ddrws y nef, eithr ei danfon ymaith at y cybyddion i'r llyn brwmstanaidd. "Yna y dywed efe hefyd wrth y rhai a fyddant ar y llaw aswy, Ewch oddiwrthyf, rai melldigedig, i'r tân tragywyddol, yr hwn a barotowyd i ddiafol ac i'w angylion. Canys bum newynog, ac ni roisoch i mi fwyd; bu arnaf syched, ac ni roisoch i mi ddiod. Bum ddyeithr, ac ni'm dygasoch gyda chwi; noeth, ac ni'm dilladasoch; yn glaf, ac yn ngharchar, ac ni ymwelsoch â mi. Yna yr atebant hwythau hefyd iddo, gan ddywedyd, Arglwydd, pa bryd y'th welsom yn newynog, neu yn sychedig, neu yn ddyeithr, neu yn noeth, neu yn glaf, neu yn ngharchar, ac ni weiniasom i ti? Yna yr etyb efe iddynt, gan ddywedyd, Yn wir meddaf i chwi, Yn gymaint ag nas gwnaethoch i un o'r rhai lleiaf hyn, nis gwnaethoch i minau. A'r rhai hyn hyn a ânt i gospedigaeth dragywyddol: ond y rhai cyfiawn i fywyd tragywyddol," Mat. xxv. 41—46. Nid ydych yn adnabod yr Arglwydd Iesu os ydych yn gybyddlyd at ei achos; mae yr hwn sydd yn gorphwys ar aberth Crist yn foddlon i aberthu ei hun ar allor ei wasanaeth. Os yw efe yn bob peth i ti, nid yw yn ormod i tithau fod yn bob peth iddo yntau yn ei achos ar y ddaear. Crist a'n llwyr brynodd, am hyny dyro iddo wasanaeth llwyr. Rhoddodd Crist ei gorph drosoch; rhoddwch chwithau "eich cyrph yn aberth byw, santaidd, cymeradwy gan Dduw, yr hyn yw eich rhesymol wasanaeth chwi," Rhuf. xii. 1. Rhoddodd Crist ei enaid drosoch; rhoddwch chwithau hefyd eich eneidiau yn gwbl oll at ei waith. "Gogoneddwch Dduw yn eich cyrph ac yn eich ysbryd, y rhai sydd eiddo Duw." Rhoddodd Crist y cwbl drosoch; rhoddwch chwithau hefyd eich cwbl i fyny i'w wasanaeth yntau. "Efe a fu farw dros bawb, fel na byddai i'r rhai byw fyw mwyach iddynt eu hunain, ond i'r hwn a fu farw drostynt, ac a gyfodwyd," 2 Cor. v. 15.

# TRAETHAWD

AR

# BRIODOLEDDAU FFYDD.

---

### Y BRIODOLEDD GYNTAF.

1. Y MAE ffydd yn gweithredu ar Grist am ryddhad cyflawn oddiwrth euogrwydd pechod. "Yr ydym ni gan hyny yn cyfrif mai trwy ffydd y cyfiawnheir dyn, heb weithredoedd y ddeddf," Rhuf. iii. 28. Fe ddaw yr Ysbryd i argyhoeddi, ebe Crist, o "gyfiawnder, am fy mod yn myned at y Tad." Efe a ddaw er profi fod angau Crist wedi boddloni cyfiawnder. Ni'm gwelwch mwyach yn y wedd hon, yn dyoddef. Pe buasai cyfiawnder heb ei foddloni, a phechod heb ei lwyr ddileu, cawsem ei weled ef drachefn; ni buasai y nefoedd yn ei dderbyn i mewn, ni allasai y nefoedd ei gynwys. Ond gan ei fod wedi myned, ac nad ydym yn ei weled ef mwyach fel Ceidwad dyoddefedig, y mae yn eglur fod pob peth wedi dybenu. "Gan ddileu ysgrifen-law yr ordeiniadau, yr hon oedd i'n herbyn ni, yr hon oedd yn wrthwyneb i ni, ac a'i cymerodd oddiar y ffordd, gan ei hoelio wrth y groes," Col. ii. 14. Edrychwch fel y mae yr apostol yn esgyn o ris i ris, yn adn. 13: "A chwithau, pan oeddych yn feirw mewn camweddau a dienwaediad eich cnawd, a gyd-fywhaodd efe gydag ef, gan faddeu i chwi yr holl gamweddau." Y mae eich pechodau wedi eu maddeu. Ond nid yw hyn yn ddigon os yw yr ysgrifen-law yn aros. Nac ydyw, ebe'r apostol; y mae wedi ei *dileu*. Ond, medd rhywun, "Nid ydyw wedi ei dileu yn y fath fodd nad yw yn bosibl cael gafael ynddi eto, a ffrae newydd i godi o'r hen achos. Na, y mae wedi ei "chymeryd oddiar y ffordd." Ië, fe allai ei bod wedi ei gosod o'r neilldu am dymhor, gellir dyfod â hi i'r golwg eto. Na, ebe'r apostol, y mae wedi ei "hoelio wrth y groes." Peidiwch ofni, *never fear*, y mae wedi ei chwilfriwio yn ddarnau; nis gwelir hi byth mwyach; ac ni chyfyd cweryl i dragywyddoldeb o'r hen ymrafael gynt; canys nid yn unig y mae Crist wedi talu y ddyled, ond hefyd wedi dyddimu y *rhwym-ysgrifen*. Os bydd y ddyled wedi ei thalu, a'r rhwym-ysgrifen heb ei dyddimu, y mae y dyledwr mewn ofn beunydd; ond pan y mae yr hen ysgrif ganddo yn ei law

ei hun y mae yn teimlo yn ddyogel. Nid yn unig fe dalodd Crist ein dyled, ond ni adawodd dim heb ei gymeryd ymaith allasai ddyfod yn ein herbyn. Yn awr, fy nghyfeillion, y mae ffydd yn cydio yn haeddiant Crist, ac yn pledio rhyddhad perffaith yn llys y nef. "Ar destament gwell o hyny y gwnaethpwyd Iesu yn Fachniydd," Heb. vii. 22.

2. Y mae ffydd yn ein gwneyd yn un â Christ; am hyny y mae ei gwbl ef yn eiddo i ni. Y mae ffydd yn dywedyd, I mi y ganwyd y Ceidwad, yn Bethlehem, drosof fi y bu fyw, yn fy lle i bu farw ar y pren, y cyflawnodd pob cyfiawnder, ac yr ufuddhaodd hyd angau. Fflangellwyd ef dros fy mhechodau i, dyoddefodd gospedigaeth fy heddwch i; am hyny y gelwir ef, "Yr Arglwydd ein *cyfiawnder*." Y mae yn gyfiawnder i ni, fel yr ydym mor berffaith a phe na phechasom erioed. "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu, y rhai sydd yn rhodio nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd," Rhuf. viii. 1. Yr ydym yn bechaduriaid fel pawb eraill. Nid yw yr apostol yn dywedyd, nad oes dim yn *haeddu* damnedigaeth; ond fod Crist wedi cymeryd ymaith yr euogrwydd sydd yn rhwymo i gondemniad. Fy nghyfeillion, nid yw y gyfraith yn gallu ein condemnio; yr ydym yn apelio oddiwrth y gyfraith at yr efengyl; oddiwrth lys cyfiawnder at lys trugaredd. Bendigedig, y mae gobaith i bechadur mawr ddyfod yn rhydd byth. Nid yw yr efengyl ychwaith yn gallu ein condemnio am ein bod yn gredinwyr. Nid yw yn gofyn pa bechodau yr ydym wedi bod yn euog o honynt, ond a ydym yn credu yn Mab Duw? Os ydym wedi credu, yr ydym wedi ein cyfiawnhau am byth. Gogoniant! Llusgwyd y publican i lys cyfiawnder, ond apeliodd oddiyno at lys trugaredd, gorseddfainc y gras, a rhyddhawyd ef am byth. "Aeth hwn i waered i'w dŷ wedi ei gyfiawnhau yn fwy na'r llall." "Canys pob un ag sydd yn ei ddyrchafu ei hun a ostyngir, a phob un ag sydd yn ei ostwng ei hun, a ddyrchefir," Luc xviii. 14. Y mae ffydd yn clirio pob peth ar y ddaear, trwy yr hwn a gliriodd bob peth yn y nefoedd.

### YR AIL BRIODOLEDD.

Y mae ffydd yn *puro* y galon. "Ac ni wnaeth efe ddim gwahaniaeth rhyngom ni a hwynt, gan buro eu calonau hwy trwy ffydd," Act. xv. 19. Y mae ffydd yn agor ffordd i ffrwd o waed i lifo trwy yr enaid i'w olchi oddiwrth bob

aflendid. "Oblegyd os ydyw gwaed teirw a geifr, a lludw aner wedi ei daenellu ar y rhai a halogwyd, yn santeiddio i bureiddiad y cnawd; pa faint mwy y bydd i waed Crist, yr hwn trwy yr Ysbryd tragywyddol a'i hoffrymodd ei hun yn ddifai i Dduw, i buro eich cydwybod oddiwrth weithredoedd meirwon i wasanaethu y Duw byw?" Efe a fu farw drosof, ac oni ddylwn fyw i'r hwn a fu farw yn fy lle? Bu farw i fy nglanhau; a garaf fi aflendid? Y mae efe trwy yr efengyl yn ein *galw i santeiddrwydd.* "Eithr megys y mae y neb a'ch galwodd chwi yn santaidd, byddwch chwithau hefyd santaidd yn mhob ymarweddiad," 1 Pedr iv. 15. Yr ydym, fy nghyfeillion, yn ddyledwyr i'r hwn a'n hachubodd, i fod yn santaidd, 2 Tim. i. 9. Galwedigaeth santaidd, a ffydd yn glust santaidd sydd yn clywed a gwrando yr alwedigaeth hono. "Os yw fy nghael yn lân wedi costi gwaed fy Mhriod," ebe ffydd, "ymdrechaf bellach i ddylyn ei ol." Mae ffydd yn ymwneyd â, ac yn ymglymu wrth *addewidion santaidd;* y rhai hefyd a ddefnyddir yn rheswm dros fod yn santaidd. "Am hyny, gan fod genym yr addewidion hyn, anwylyd, ymlanhawn oddiwrth bob halogrwydd cnawd ac ysbryd, gan berffeithio santeiddrwydd yn ofn Duw," 2 Cor. vii. 1. Os ydych yn dysgwyl lle santaidd, y mae yn rhaid i chwi *fod* yn santaidd. "Ni chaiff ddim aflan fyned i mewn yno." Os rhyddhawyd ni oddiwrth euogrwydd, fe'n purir oddiwrth halogrwydd hefyd. Yr hwn sydd â gwaed i ddieuogi sydd â dwfr i buro. Os Prynwr, Purwr a Glanhawr. Y rhai sydd yn dysgwyl am nefoedd newydd, rhaid iddynt gael daear newydd, calon newydd; canys rhaid i ogoniant gael gras yn gyntaf, yna gras ogoniant. "Yr hwn sydd ganddo y gobaith hwn ynddo ef," rhaid iddo ymdrechu i fod "yn bur," yn gymaint a'i fod yn dymuno lle pur, Duw pur, a nefoedd bur. Y mae gwrthddrych pur yn gweddu lle pur. Mewn calon bur y mae anallu moesol i fyw mewn llygredigaeth; y mae o dan ddarpariaeth i'r nefoedd. "Pa fodd, gan hyny, y gallaf wneuthur y mawr-ddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw?" Gen. xxxix. 9. Y mae ffydd yn puro y galon trwy wneyd defnydd o Grist fel ffynon. "Yr hwn a'i rhoddes ei hun drosom, i'n prynu ni oddiwrth bob anwiredd, ac i'n puro iddo ei hun, yn bobl briodol, awyddus i weithredoedd da." "Fel y santeiddiai efe hi, a'i glanhau â'r olchfa ddwfr trwy y gair; fel y gosodai efe hi yn ogoneddus iddo ei hun, yn eglwys heb arni na brycheuyn, na chrychni, na dim o'r cyf-

ryw; ond fel y byddai yn santaidd, ac yn ddifeius," Tit. ii. 14; Eph. v. 26, 27.

Y mae ffydd yn gwneyd defnydd o weddiau Crist. "Santeiddia hwynt, eb efe, "yn y gwirionedd; dy air sydd wirionedd." "Ac er eu mwyn hwynt yr wyf yn fy santeiddio fy hun, fel y byddont hwythau wedi eu santeiddio yn y gwirionedd," Ioan xvii. 17—19. Mae ffydd yn cydweddio â Christ am yr un pethau. "Golch fi, a byddaf wynach na'r eira." Nid yn unig y mae ffydd yn defnyddio ei deilyngdod a'i weddiau, ond yn gwneyd defnydd o'i wirionedd, ei dystiolaethau, a'i addewidion hefyd, Zech. xiii. 1. Y mae ffydd yn myned a'r dyfr-lestr i'r ffynon bob dydd, ïe, pump a chwech gwaith yn y dydd yn aml. Defnyddir yr enw Iesu am fod gwaredigaeth ynddo oddiwrth bechodau. Y mae y gras hwn yn defnyddio enw, teilyngdod, gwaed, gweddiau, ac addewidion Crist i *ymlanhau.* Y mae cyffwrdd â Christ yn rhyw le yn atal y clefyd gwaedlyd.

### Y DRYDEDD BRIODOLEDD.

Y mae ffydd yn egwyddor lywodraethol yn y galon. Rhaglaw Crist ydyw, yn llywodraethu yn yr enaid; is-lywydd yn ysgwyd ei deyrnwialen, meistr sydd yn rhoddi pob gras arall i weithio, ac ni oddef yr un o honynt i fod yn segur; ond pan yn gorchymyn, y mae yn rhoddi nerth i gyflawni. Nid fel y mae y ddeddf yn gorchymyn, ac heb roddi help; neu fel Pharaoh, yn dyblu y gwaith, ac heb roi dim gwellt. Gyda phob gorchymyn y mae gyda ni addewid; y mae pob gorchymyn yn addewid yn yr efengyl. Edifeirwch a orchymynir fel dyledswydd; felly gwneyd calon newydd; ond y mae ffydd yn rhedeg at yr addewidion, ac yn tynu grym o honynt i gyflawni y gorchymynion. "*Rhoddaf* i chwi galon newydd," medd yr Arglwydd. Y mae y Tywysog a'r Iachawdwr wedi ei ddyrchafu "i *roddi* edifeirwch a maddeuant pechodau." Y mae ffydd yn ymddiried yn yr addewid am nerth i gyflawni y gorchymyn, ac yn dywedyd, "Dyro y peth yr ydwyt yn ei orchymyn, a gorchymyn y peth a fynot, felly y cyflawnir fy nyledswydd i a dy ewyllys dithau." Mae gweddi y ffydd yn myned i mewn rhwng y gorchymyn a'r addewid, ac yn cyfrodeddu trugaredd yr addewid a dyledswydd y gorchymyn yn nghyd. Nid yw ffydd yn feistr caled, yn medi lle nad yw yn hau, yn gorchymyn ffrwyth o'r ddaear lle ni thaflodd had; ond yn hau nerth, i gael medi ufudd-dod. Trwy ffydd yr

ufuddhaodd Abraham; sef y weithred *fawr* hono o ufudd-dod pan oedd ei fab, mab ei gariad, mab yr addewid, mab ei hen oedran, i gael ei ladd â'i ddwylaw ei hun; eto cynorthwyodd ffydd ef i wneuthur hyny.

### PEDWAREDD BRIODOLEDD FFYDD.

Y mae ffydd yn ras sydd yn llonyddu ac yn creu esmwythder yn y galon. Mae yn tawelu holl derfysgiadau, tymherau, a thueddiadau aflywodraethus yr enaid. Mae yn llonyddu ofn trwy ddweyd, "Nac ofnwch." Yn taflu dwr ar chwant a digofaint, a "diffodd angerdd y tân." Mae yn ffrwyno gofid ac anhapusrwydd, ac yn eu cymedroli. Ffydd darawodd Aaron a Dafydd yn fud. Angel darawodd Zecharias yn fud. Yr oedd mudanrwydd Zecharias yn geryddol, o herwydd amheuaeth; ond Dafydd ac Aaron yn ymostyngol; cauwyd y genau rhag grwgnach, ond nid rhag gweddio. Mae Dafydd yn gweddio, er ei fod yn fud. "Aethum yn fud, ac nid agorais fy ngenau; canys ti a wnaethost hyn. Tyn dy bla oddiwrthyf; gan ddyrnod dy law y darfum i. Gwared fi o'm holl gamweddau; ac na osod fi yn waradwydd i'r ynfyd," Sal. xxxix. Tewi hefyd a wnaeth Aaron, Lef. x. 3, 4. Beth oedd ei brofedigaeth? Colli ei feibion, ei feibion hynaf, pan oeddynt ieuainc, ac heb hiliogaeth, diwrnod cyntaf eu gweinidogaeth, yn ngolwg holl gynulleidfa Israel, trwy farn ofnadwy oddiwrth yr Arglwydd am eu pechodau, yn offrymu tân dyeithr ger ei fron: y mae rhai yn dywedyd eu bod yn feddw hefyd. Edrychwch ar rym ffydd o dan yr amgylchiadau ofnadwy hyn. Pan ddywedodd Moses wrth Aaron am y farn, a phwy oedd ei Hawdwr, mai y Duw mawr ydoedd; ac *achos* y farn, sef y pechod ysgeler o offrymu tân dyeithr; "tewi a wnaeth Aaron." Wedi iddo glywed ewyllys Duw aeth yn fud, gan gydnabod eu bod wedi eu lladd gan law gyfiawn. Cynyrchodd ffydd Eli yr un effeithiau. "A Samuel a fynegodd iddo yr holl eiriau, ac nis celodd ddim rhagddo. Dywedodd yntau, Yr Arglwydd yw efe: gwnaed a fyddo da yn ei olwg," 1 Sam. iii. 18.

Yr oedd profedigaethau Job yn ddigon i beri i un dyn yn y byd i golli ei amynedd, a gyru y dyn mwyaf araf a llonydd allan o'i synwyrau. Byddai un yn canlyn y llall, gan ddywedyd, "Mae yr ychain wedi myned, y camelod wedi myned, yr asynod wedi myned, a gwaeth na'r cwbl y mae y plant wedi eu lladd;" gobaith ei deulu wedi gwywo yn ddisymwth

yn nghanol digrifwch. Y ddoe, pwy mor gyfoethog? heddyw, pwy mor dlawd? Fy nghyfeillion, gwelwch ffydd yn dyfod i'r *platform*, yn cau y genau rhag grwgnach, ac yn plygu y gliniau i addoli. Syrthiodd i lawr ac addolodd. Fel y dywed yr apostol am amynedd y gellir dyweyd am ffydd: Y mae yn rhaid i chwi wrth ffydd. Fe allai y cyfarfyddwch â rhai o brofedigaethau Job; a chofiwch mai nid coed a cheryg ydym, heb deimladau; bydd yn rhaid i ni wrth ffydd i lonyddu yr enaid yn mhob tymhestl ac ystorm. Dyn heb ffydd sydd heb gysgod mewn tymhestl, heb frenin mewn brwydr. Y mae fel llong heb lwyth ac heb angor yn nghanol ystorm. Lle nad oes ffydd y mae teimladau yn cymeryd yr holl lywodraeth, y rhai ydynt yn aflywodraethus, yn curo i lawr yr holl gloddiau, yn gorlifo yr enaid, a'i suddo i lawr i anobaith a gwae. Mae yn rhaid i ni wrth ffydd, fy nghyfeillion, onide ni awn yn *wreck* yn erbyn y creigydd.

1. Mae nerth yn ngorchymyn ffydd i dawelu yr enaid mewn ystorm. "Dystawa yn yr Arglwydd, a dysgwyl wrtho; nac ymddigia o herwydd yr hwn a lwyddo ganddo ei ffordd, wrth y gwr sydd yn gwneuthur ei ddrwg amcanion. Paid a digofaint, a gâd ymaith gynddaredd: nac ymddigia er dim i wneuthur drwg," Sal. xxxvii. 7, 8. Dystawa, fy enaid; paid a dweyd dim nes y daw mwy o oleu ar y pwnc. Bydd ffydd yn siarad â'r enaid fel yr oedd Crist â'r gwynt a'r môr— "Dystawa, gostega; ac yn y man y bu tawelwch mawr." Pan y bydd y tonau cynddeiriog yn bygwth curo i lawr, ac yn gorlifo pob peth yn yr enaid, y mae ffydd yn sefyll i fyny fel *commander-in-chief*, gan waeddi, "Heddwch! byddwch ddystaw; dim ychwaneg o rwgnach ac anamyneddgarwch. Nid da i chwi ymddigio hyd angau. Yr ydych yn digio Duw, ac yn peri iddo eich fflangellu yn drymach." Mae ffydd fel hyn yn atal yr enaid yn ei ymgyrch, ac yn ei dawelu ger bron yr Arglwydd.

2. Y mae ffydd yn *rhesymu* yr enaid i dawelwch. "Paham, fy enaid, y'th ddarostyngir, ac yr ymderfysgi ynof?" Sal. xlii. 5. Mae bod Duw yn Awdwr cystuddiau yn cael ei ddefnyddio yn rheswm gan ffydd i ymdawelu danynt. Nid yw cystuddiau yn dyfod allan o'r pridd, na gofid yn blaguro o'r ddaear, Job v. 6. Oddiwrth yr Arglwydd y maent yn dyfod. Dyma oedd rheswm amynedd Dafydd: "Aethum yn fud, canys *ti* a wnaethost hyn." A Job hefyd: "Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a ddygodd ymaith; ben-

digedig fyddo enw yr Arglwydd," Job ii. 21. Pan oedd Simei yn melldigo Dafydd, ac yn taflu ceryg ato, ni wnaeth y brenin gnoi y ceryg, na diystyru y lluchiwr; ond cododd ei ben, a gwelodd, nid y gareg yn unig, ond hefyd y Duw a orchymynodd. Os Duw sydd wedi gorchymyn, beth fyddwch gwell o dori pen Simei? Rhaid i chwi faeddu nerth Duw cyn dianc. "Felly melldithied, o herwydd yr Arglwydd a ddywedodd wrtho, Melldithia Dafydd. Am hyny pwy a ddywed, Paham y gwnei fel hyn?" 2 Sam. xvi. 10. "Gadewch iddo, gadewch iddo. Mae ffydd yn gweled pechod yn ddigon o reswm dros ein cystuddiau, am hyny yn cau y genau gyda dweyd, "Dy bechod dy hun yw yr achos." Mae y genau gyda hyn yn myned i'r llwch, gan ddywedyd, "Pechais, y mae yn rhaid i mi ddyoddef. "Os cyffesant eu hanwiredd, ac anwiredd eu tadau, yn nghyda'u camwedd yr hwn a wnaethant i'm herbyn, ac hefyd rhodio o honynt yn y gwrthwyneb i mi; a rhodio o honof finau yn y gwrthwyneb, a'u dwyn hwynt i dir eu gelynion: os yno yr ymostwng eu calon ddienwaededig, a'u bod yn foddlon am eu cospedigaeth: minau a gofiaf fy nghyfamod â Jacob, a'm cyfamod hefyd ag Isaac, a'm cyfamod ag Abraham a gofiaf; ac a gofiaf y tir hefyd," Lef. xxvi. 40—42. Cyfiawnhewch Dduw, a chondemniwch eich hunain. Mae ffydd yn gosod bys ar y man dolurus; pechod fel yr achos o'r holl gystuddiau. Mae ffydd yn gweled peth arall hefyd yn y cystuddio yma sydd yn effeithio tawelwch mawr yn eu canol. Mae dyben gogoneddus gan Dduw ynddynt. Er nad yw cystudd yn ddaioni, y mae *er* daioni. Trugaredd geryddol ydyw, nid cyfiawnder dialeddol. Mae y fath beth a *thrugaredd* gospedigaethol tuag at y saint. "Pan y'n bernir y'n ceryddir gan yr Arglwydd, fel na'n demnir gyda'r byd," 1 Cor. xi. 32. Mae yn goddef y byd i'n condemnio, fel na charem ef; ein casâu, fel y'n croeshoelier iddo; ein croeshoelio ni, fel na'n damnier gydag ef. Baich oddiallan, i iachau aflendid o fewn; cystuddio corph i gadw enaid. Mae genym achos mynych i fendithio Duw am *groesau* yn fwy na *chysuron*. Mae melldith yn nghudd yn y pethau goreu i'r annuwiol, a *bendith* yn y pethau *gwaethaf* i'r duwiol; bendith mewn cystudd, colledion, a chroesau. Gogoniant! y mae ei holl ffyrdd yn ffyrdd trugaredd; ceryddon, cystudd o bob natur,—y mae y cwbl yn llaw trugaredd, ac yn "cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw." Mae ffydd yn canfod dyben Tad y trugareddau trwy y cymylau

tewion o groesau, ac yn gorfoleddu. Nid cosp am bechod yw y dyben, ond dinystrio balchder, bydolrwydd, cariad at y creadur, a diddyfnu yr enaid oddiwrth y cwbl. Diolch am y cwbl sydd yn glanhau oddiwrth bechod.

### PUMED BRIODOLEDD FFYDD.

Y mae ffydd yn *dyogelu* yr enaid. "Ofn dyn sydd yn dwyn magl: ond y neb a ymddiriedo yn yr Arglwydd, a ddyrchefir," Diar. xxix. 25. Neu, a ddyrchefir i fyny yn *uchel*, fel yr arwydda y gair; uwchlaw y byd, dynion, ystormydd, allan o berygl, allan o ergyd dryll—*out of gun-shot;* fel Noah yn yr arch, yn cael ei gadw a'i ddwyn uwchlaw y dwr. Adeiledwch gynifer o dyrau a chestyll ag a fynoch, cestyll yn yr awyr fyddant, heb sylfaeni iddynt na chysgod ynddynt. Teflwch gynifer angor ag a fynoch, ni wnewch ond eu taflu i'r tonau; nid oes gwaelod i gydio a gorphwys yno. Nid oes grym na dyogelwch mewn creadur. Cyfoeth yw dinas cadernid y cyfoethog, ond nid yw yn gadarn mewn gwirionedd, ddim ond yn dybiol. Nac ymddiriedwch mewn cyfeillion, y maent yn dwyllodrus, medd Job; neu fel "dyfroedd a ballant," Jer. xv. 18. "Wrth Dduw yn unig y dysgwyl fy enaid; o hono ef y daw fy iachawdwriaeth. Efe yn unig yw fy nghraig a'm hiachawdwriaeth; ni'm mawr ysgogir. Pa hyd y bwriedwch aflwydd yn erbyn gwr? Ymgynghorasant yn unig i'w fwrw ef i lawr o'i fawredd; hoffasant gelwydd: â'u genau y bendithiant, ond o'u mewn y melldithiant. O fy enaid, dysgwyl wrth Dduw yn unig," Sal. lxii. Ffryndiau tlawd, onide? Pwy ymddiried mewn dynion ond rhyw rai nad yw yn eu hadnabod? "Dy holl amddiffynfeydd fyddant fel ffigyswydd â'u blaen-ffrwyth arnynt: os ysgydwir hwynt, syrthiant yn safn y bwytawr," Nahum iii. 12. Mae yr Aipht yn methu cysgodi y rhai a ymddiriedant ynddi. "Hefyd ti a ddeui allan oddiwrtho â'th ddwylaw ar dy ben: oblegyd yr Arglwydd a wrthododd dy hyder di, ac ni lwyddi ynddynt," Jer. iii. 37. Ymddiriedwch yn y sylfaen safadwy. Nid oedd sefyllfa o ddiniweidrwydd yn ddigon dyogel, canys yr oedd y sylfaen yn y llwch; ond yn awr yr ydym i orphwys allan o honom ein hunain, ar Grist Iesu, y Graig dragywyddol. Tŷ gwan, er ei adeiladu ar sylfaen gref, a all gwympo; ond y mae Crist yn rhoddi nerth i'r holl adeilad, bydded cyn waned ag y byddo. Y mae yn rhoddi bywyd i'r holl adeilad, yn gwneyd yr holl feini yn feini bywiol: "At yr

hwn yr ydych yn dyfod, megys at faen bywiol; a wrthodwyd gan ddynion, eithr etholedig gan Dduw, a gwerthfawr. A chwithau, megys meini bywiol, ydych wedi eich adeiladu yn dŷ ysbrydol, yn offeiriadaeth santaidd, i offrymu aberthau ysbrydol, cymeradwy gan Dduw trwy Iesu Grist," 1 Pedr ii. 4, 5.

Y mae yr adeilad wedi ei gyfnewid i natur a grym y graig. Mae gallu, doethineb, a holl briodoliaethau Crist yn eiddo i ni. Onid yw hyn yn ddigon i ddyogelu y rhai oll a ymddiriedant ynddo? Mae trugaredd yn eu cylchynu, y maent wedi eu murio i mewn gan drugaredd; y mae trugaredd yn eu cofleidio o bob tu i'w dyogelu. Mae ffydd hefyd yn ymglymu am drugaredd, ac yn ei chylchynu o amgylch, yn ol ac yn mlaen; yn ei murio i mewn, ac ni fyn ei gollwng. Mae ffydd yn cofleidio trugaredd, a thrugaredd yn cofleidio ffydd, "fel y maent oll yn un." Ffydd sydd yn dyogelu, ond yn gwneyd Duw yn ddyogelwch; yn gosod mewn lle diwall. Mae hi yn cario yr enaid at addewidion, y rhai ydynt yn sicrhau cadwraeth oddiwrth ofidiau a phrofedigaethau, a gwaredigaeth lwyr oddiwrthynt oll o'r diwedd. "Pan elych trwy y dyfroedd, myfi a fyddaf gyda thi; a thrwy yr afonydd, fel na lifant drosot; pan rodiech trwy y tân, ni'th losgir; ac ni enyn y fflam arnat. Canys myfi yw yr Arglwydd dy Dduw, Sant Israel, dy Waredydd: myfi a roddais yr Aipht yn iawn drosot, Ethiopia a Seba am danat," Esay xliii. 2, 31. Ah, ni gofiwn yn oes oesoedd am "flynyddoedd deheulaw y Goruchaf: cofiwn weithredoedd yr Arglwydd, ïe, cofiwn ei wyrthiau gynt." Nid oes yr un addewid yn eiddo i ni nes y credom, wedi hyny y mae yr holl addewidion yn eiddo i ni; nyni biau y cwbl. Edrychwch i'r Bibl, y mae yr holl addewidion hyn fel cynifer o *filiau* ar ariandy y nefoedd. Cerddwch â hwy yn eich llaw; y mae y *bank* yn ddigon cryf i'w talu bob moment.

### Y CHWECHED BRIODOLEDD.

Y mae ffydd yn gweithio yr enaid i ymostyngiad i ewyllys Duw. Y mae ffydd ddeddfol yn cynyrchu ymostyngiad deddfol. Credodd Ahab sicrwydd bygythiad Duw, ac ymostyngodd. Gwŷr Ninefe a gredasant i Dduw, Jonah iii. 4; hyny yw, credasant wirionedd cenadwri Duw, ac ymostyngasant yn orfodol i ysgoi y farn, heb y teimlad lleiaf o barch iddo ef. Ond y mae gwir ffydd yn cymeryd ystyriaethau

ymostyngol, mewn gwir barch i Dduw wrth swn ei fygythion. Nid yw ffydd yn gwneyd geiriau Duw yn fwy gwirioneddol, ond yn eu gwireddu yn yr enaid. Yr oedd y gwirionedd yn llyfr Duw mor gadarn cyn credu ag wedi hyny, ond credu yn wirioneddol ddaeth ag ef adref at y meddwl, a chynyrchu y teimlad priodol yn y meddwl ato. Yr oedd y llyfr yn nhŷ yr Arglwydd cyn i Hilciah ei ffeindio; ond pan ddarllenodd Saphan ef ger bron y brenin, y mae yr holl wirionedd yn cael ei sylweddoli, ac yn cael ei ddwyn i ymarferiad trwy ei gredu. "A phan glybu y brenin eiriau y gyfraith, efe a rwygodd ei ddillad," 2 Cron. xxiv. 19. Ymostyngodd ger bron Duw, gan gredu fod y bygythion yn sylweddau. Er fod uffern yn edrych yn wyneb yr annuwiol yn ofnadwy, eto y mae efe yn hollol ddifraw. Pe bai y tyngwr yn credu yn ei galon fod y plyg-lyfr hedegog wedi myned allan i'w erbyn, nis gallai fyned yn y blaen lawer yn hŵy yn y ffordd hono. Bechadur, mi welaf yn awr blyg-lyfr yn ehedeg tuag atat, "a'i hyd yn ugain cufydd, a'i led yn ddeg cufydd." Ac efe a ddywedodd wrthyf, "Dyma y felldith sydd yn myned allan ar wyneb yr holl ddaear; canys pob un a ladrato a dorir ymaith, fel o'r tu yma, yn ei hol hi; a phob un a dyngo a dorir ymaith, fel o'r tu acw, yn ei hol hi. Dygaf hi allan, medd Arglwydd y lluoedd, a hi a ddaw i dŷ y lleidr, ac i dŷ y neb a dyngo i'm henw i ar gam: a hi a erys yn nghanol ei dŷ ef, ac a'i difa ef, a'i goed a'i geryg," Zec. v. 1—4. Crynai y meddwyn pe bai yn gweled "*angau yn y crochan*"—*death in the pot*. Yr wyt yn yfed angau o'r llestr; ond nid wyt yn credu, onide byddit yn debyg o'i adael mewn dychryn. O na bai dynion yn credu fod geiriau Duw yn sylweddau! "Canys i ninau y pregethwyd yr efengyl, megys ag iddynt hwythau; eithr y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy, am nad oedd wedi ei gyd-dymheru â ffydd yn y rhai a'i clywsant," Heb. iv. 2. Yr oedd y *bygythion* yn anfuddiol iddynt hwy er eu darostwng, a'r addewidion yn anfuddiol er eu cysuro. Heb ffydd, yr ydych yn gwneyd chwareu plant o'r holl wirioneddau, fel yr arwydda y gair, 2 Pedr iii. 3. "Gwatwarwyr, yn rhodio yn ol eu chwantau eu hunain; ac yn dywedyd, Pa le y mae addewid ei ddyfodiad ef? canys er pan hunodd y tadau, y mae pob peth yn parhau fel yr oeddynt o ddechreuad y greadigaeth." Y mae ffydd, fy nghyfeillion, yn dyfod â'r gwirioneddau mawrion hyn yn sylweddau ger bron y meddwl, ac yn eu hegluro a'u gosod allan yn dystiolaethau

anffaeledig Duw tragywyddoldeb. Nid uffern wedi ei phaentio, a thân paentiedig, ond uffern sylweddol a thân tragywyddol yn noeth ger ei fron ef, a miloedd yn trengu yn wirioneddol yn yr eirias llosgedig. Cewch deimlo cyn bo hir wirioneddau y Bibl yn sylweddau yn eich damnedigaeth, neu yn eich achubiaeth a'ch gogoneddiad. Nid breuddwydion dychrynllyd yw crefydd; ond crediniaeth o wirionedd y Bibl, nes cynyrchu ufudd-dod iddo. Y gwirioneddau hyn wedi ymgymysgu â ffydd sydd yn gosod dyn i orwedd yn y llwch, Heb. xi. 1—13. Y mae ffydd yn cusanu yr addewid, ac yn edrych ar y cwbl yn bresenol; yn rhoddi bodolaeth presenol i'r addewidion a'r bygythion. Y mae yn gweled angau ac uffern yn yr ymyl, ac yn arogli tân a brwmstan mewn pechod, ac yn ffoi rhagddo. Y mae annghredinwyr yn edrych ar y pethau hyn y pen chwith i'r gwydryn—*the wrong end of the glass;* fel y mae pethau agos yn ymddangos yn mhell draw, a phethau pell yn diflanu o'r golwg. Y mae ffydd yn edrych trwy y *right side of the glass*—ochr ddeheu y gwydryn, fel y mae pethau pell, draw, yn cael eu gweled yn yr ymyl, ïe, yn bresenol. "Ffydd yn wir yw sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio, a sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled," Heb. xi. 1. Gwelodd Abraham ddydd Crist, a llawenychodd ynddo trwy ffydd. Y mae ail ddydd Crist yn mhell yn ngolwg yr annuwiol; ond y mae ffydd yn ei weled yn yr ymyl, wrth y drws, ac ar ddyfod; yn rhoddi bod presenol iddo, felly yn darostwng yr enaid ger bron pethau mawrion ac ofnadwy y gwirionedd.

### Y SEITHFED BRIODOLEDD.

Y mae ffydd yn meddalhau a thyneru y galon. Y mae tynerwch plentynaidd yn ymostyngiad ffydd; nid ydyw yn tori, ond yn ystwytho a phlygu. Y mae y gyfraith yn darostwng ac yn dryllio, ffydd yn toddi a meddalhau. Y mae morthwyl y gyfraith yn curo y galon gareg yn chwilfriw, er hyny y mae yr un natur o hyd, yn adamantaidd byth: y mae mwyneidd-dra efengyl yn toddi a chyfnewid. Taranau Sinai sydd yn dychrynu, ond gwlith Sïon yn meddalhau. Y mae cyfartalwch rhwng ffydd a'i heffeithiau, fel ffynon a ffrydiau; nid yw y ffrydiau byth yn codi uwchlaw y ffynon. Cymaint o amgyffred gwirioneddol fydd genym o drugaredd Duw, cymaint a hyny fydd ein llawenydd. "Yn ol dy ffydd bydded i ti." Y mae annghrediniaeth yn caledu y galon, ac yn sychu

i fyny ffrydiau edifeirwch. Nid yw addewid, na bygythiad, trugaredd na chyfiawnder, geiriau na gweithredoedd, yn ei thoddi. Eto pan ddelo ffydd i mewn y mae yn troi yr enaid yn llyn dwfr, yn toddi dyn yn ddagrau, yn agor ffrydiau galar yn yr enaid, trwy ddatguddio cyfoeth Crist a'i gariad anfeidrol. Y mae y llygad yn dyferu dagrau pan yn "edrych ar yr hwn a wanwyd." Y mae ffydd, fy nghyfeillion, yn symud ymaith y gorchudd yr hon y mae satan ac annghred-iniaeth wedi ei gosod ar ein llygaid, ac yn dyfod â Duw i'r golwg yn holl gyfoeth ei ras, yn ddigon ar gyfer yr annheil-yngaf o bechaduriaid, nes toddi yr enaid i ddagrau. "Yna cofiwch eich ffyrdd drygionus, a'ch gweithredoedd nid oedd-ynt dda, a byddwch yn ffiaidd genych eich hunain am eich anwireddau ac am eich ffieidd-dra," Ezec. xxxvi. 31. Nid oes dim yn rhwygo y galon fel trugaredd, a gwenau ei wyneb sydd yn ei thoddi yn dyner. Pan gwelir gwen ar wyneb Jehofa, y mae y galon ystyfnig yn gorfod rhoi ffordd. Crist wedi ei glwyfo a'i ddryllio, pwy all edrych arno ond gyda chalon deimladwy ac ymostyngol? Crist gwaedlyd, heb galon waedlyd, sydd brawf nad yw yr olaf yn ymwneyd â'r cyntaf. O fy enaid, y mae digon yn nghlwyfau Iesu i agor ffynonau galar yn fy nghalon gyndyn inau. Nid oes eisiau deuddeg ystyriaeth Bellarmine, i agor ffynonellau edifeirwch ynom; y mae gan Dduw ffordd mwy effeithiol o lawer iawn. Un o ystyriaethau Bellarmine yw, sefyllfa ofnadwy yr eneidiau yn y purdan. Nid oes arnom ni eisiau ystyriaethau oddiwrth y purdan er ein cynorthwyo i edifarhau; y mae digon yn Nghrist i doddi y galon galetaf mewn moment O ddyoddef-aint annghydmarol mewn corph ac enaid! holl ddigofaint Duw yn gorphwys arno, gallu y tywyllwch yn ymosod hyd yr eithaf ar ein Prynwr; O y fath bwysau! Gwr cynefin a dolur; ïe, dy ddolur di, bechadur. Yfodd gwpan chwerwder, yr hwn oedd yn cynwys yr holl felldithion oedd yn ysgrifen-edig yn llyfr y ddeddf, wedi ymgymysgu yn nghyd. Pe buasai dynion neu angylion ond ei brofi, buasent yn marw mewn moment o dan ei effeithiau. Fflangellwyd ef fel y'n dyddenir ni; yfodd gwpan chwerw digofaint, fel y gallem ni yfed o gwpan melus trugaredd. Pechod, ïe, fy mhechod i oedd achos ei ddyoddefiadau, ac eto y mae ei farwolaeth yn troi yn fywyd i mi. Myfi a'i clwyfais ef â fy mhechodau, y mae yntau yn fy meddyginiaethu inau â'i glwyfau. Y mae wedi danfon plastr o waed ataf i wella fy nghornwydydd. O,

y mae hyn yn rhwym o lanw fy nghalon ag edifeirwch duwiol. Y mae ffydd yn edrych ar Grist darostyngedig â chalon ddarostyngedig, yn edrych ar Grist gwaedlyd gyda chalon waedlyd; ar Grist drylliog gyda chalon ddrylliog. "A hwy a edrychant arnaf fi, yr hwn a wanasant; galarant hefyd am dano, fel un yn galaru am ei unig-anedig, ac ymofidiant am dano ef megys un yn gofidio am ei gyntaf-anedig," Zec. xii. 10. Edrychant; beth fydd yr effaith? Galarant am dano. Gwaith yr un peiriant yw *edrych* ac *wylo*; yr enaid sydd yn gweled yn dda, a wyla yn dda. Pan y mae yr enaid yn syllu ar Haul cyfiawnder y mae yn toddi dan yr un. A fynwch chwi alaru am bechod fel am eich cyntaf-anedig? Rhoddwch eich eneidiau yn ngwlych yn ngwaed yr Oen. Edrychwch ar Grist croeshoeliedig; dyna y peth dawdd eich eneidiau, ac a wna y galon gareg yn un dyner o gig.

### YR WYTHFED BRIODOLEDD.

Y mae ffydd yn effeithio cyfnewidiad hollol yn yr enaid i agwedd a thymher y gwrthddrych. "Yn cyfnewid i'r unrhyw ddelw, o ogoniant i ogoniant." Y mae yn troi ceryg yn gnawd, a phechaduriaid yn saint. "Edrychasant arno, a hwy a oleuwyd; a'u hwynebau ni chywilyddiwyd," Sal. xxxiv. 5. Y mae yn troi llew yn oen, tywyllwch yn oleuni, yr ystyfnig yn ystwyth ac yn ufudd i Dduw. Nid yw fy ewyllys i ac yntau yn ddau bellach: "Rhedaf ffordd dy orchymynion, pan eangech fy nghalon." "Pe bai genyf galon, mi gredwn," ebe y dyn. Cred, ti gei galon; edrych at Grist nes y byddot yn ei weled; cerdd â'r enaid ato, fe ddaw yn iach. Credu yn Nuw fel Tad sydd yn cynyrchu teimladau plentyn; credu yn Nghrist fel Gwaredwr sydd yn creu teimladau o ymddiried, cariad, a dysgwyliad.

### Y NAWFED BRIODOLEDD.

Y mae ffydd yn tawelu y galon derfysglyd. Gofynwyd i un unwaith, pan ar ei wely angau, pa fodd yr ydoedd mor dawel yn wyneb marw, ac mor rhydd oddiwrth demtasiynau diafol? "Edrychwch," ebe y claf, "yn y bumed ar ugain o Esay, a'r drydedd adnod; chwi welwch fy ninas noddfa: 'Ti a gedwi mewn tangnefedd heddychol yr hwn sydd â'i feddylfryd arnat ti; am ei fod yn ymddiried ynot.' Cerddwch oddiyno i'r seithfed benod ar ugain, a'r bumed adnod, cewch yno fy llaw-ffon: 'Neu ymafled yn fy nerth i,

fel y gwnelo heddwch â mi, ac efe a wna heddwch â mi.' Cerddwch i'r bumed benod o'r Epistol at y Rhufeiniaid, a'r adnod gyntaf; cewch yno sail fy nedwyddwch: 'Am hyny, gan ein bod wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, y mae genym heddwch tuag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist.' Cerddwch eilwaith i'r bymthegfed benod o'r un epistol, a'r drydedd adnod ar ddeg, a chewch fy angor gadarn ag sydd yn fy nal yn nghanol ystormydd angau, a rhuadau yr hen Iorddonen donog, mewn dyogelwch perffaith: 'A Duw y gobaith a'ch cyflawno o bob llawenydd a thangnefedd gan gredu, fel y cynyddoch mewn gobaith trwy nerth yr Ysbryd Glân.'" Bendigedig am ddigon i wynebu ystormydd marw. Y mae digon yr iachawdwriaeth bron yn berwi fy enaid a'm corph ambell waith, yn nghanol byd tymhestlog. Lle ystormllyd, fy nghyfeillion, yn ymyl angau yw calon annghrediniol. Duw digllon uwchben, cydwybod derfysglyd o fewn, yn rhuo, ac yn bygwth angau tragywyddol. "Ond y rhai anwir sydd fel y môr yn dygyfor, pan na allo fod yn llonydd, yr hwn y mae ei ddyfroedd yn bwrw allan dom a llaid." "Ni bydd heddwch, medd fy Nuw, i'r rhai annuwiol," Esay lix. 20, 21. Y mae pob creadur yn barod wrth orchymyn Duw i weinyddu ei anfoddlonrwydd ef arno. Ond â'r rhai sydd yn credu y mae y cwbl mewn heddwch. Y mae yn heddwch uwchben, mae y ffrae oedd rhyngom â Duw wedi ei derfynu; ac yna y mae anifeiliaid y maes mewn heddwch â mi. Y mae y cwbl o fewn yn heddwch; y mae Duw y tangnefedd yn gwneyd y cwbl o fewn ac o faes yn dangnefedd.

Ar ol unwaith gwneyd heddwch yn llys y nef, yr hyn yw gweithred gyntaf ffydd, yna y mae yn canlyn heddwch yn llys cydwybod: "A thangnefedd Duw, yr hwn sydd uwchlaw pob deall, a geidw eich calonau a'ch meddyliau yn Nghrist Iesu," Phil. iv. 7. Diolch i ti, y Duw anfeidrol, y mae gwedd dy wyneb yn peri fod holl natur o'n cwmpas yn ein cofleidio o amgylch. "Canys â cheryg y maes y byddi mewn cyngrair, a bwystfil y maes hefyd fydd heddychol â thi," Job v. 2, 3. Yr oeddynt oll yn elynion gynt; ond yn awr, wedi ein cymodi â Duw, y mae y greadigaeth a ninau yn gyfeillion. "Pan fyddo ffyrdd gwr yn rhyngu bodd yr Arglwydd, efe a bair i'w elynion fod yn heddychol ag ef," Diar. xvi. 7. Yr ydym trwy ffydd yn weision i Dduw yr heddwch, a heddwch yw ei wasanaeth. "Ei ffyrdd hi sydd ffyrdd hyfrydwch, a'i holl lwybrau ydynt heddwch," Diar.

iii. 17. Ië, yn mhob cam o dduwioldeb y mae heddwch yn wobr. "Yr Arglwydd a ddyry nerth i'w bobl: yr Arglwydd a fendithia ei bobl â thangnefedd." "Gwrandawaf beth a ddywed yr Arglwydd Dduw; canys efe a draetha heddwch i'w bobl ac i'w saint;" Sal. xxix. 11; lxxxv. 8. Mae yn rhyfel yn awr, o fewn ac o faes, â phechod a Sâtan; ond bendigedig, y mae heddwch â Duw, a chyn hir efe a esyd derfyn am byth ar bob rhyfel. "A Duw y tangnefedd a sathr satan dan eich traed chwi ar frys," Rhuf. xvi. 20. Y mae heddwch, ar ol y rhyfeloedd poeth â phechod, yn felus a dyogel. *Safe and sure for ever.* "Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr uniawn: canys diwedd y gwr hwnw fydd tangnefedd," Sal. xxxvii. 37. Er fod ystormydd ar y daith, diolch! y mae yn dybenu mewn heddwch. *A calm after a storm, but no storm for ever after the last calm.* Gogoniant! efe a â i dangnefedd." Yr ydych trwy ffydd yn ddeiliaid i Dywysog heddwch. "Canys efe yw ein tangnefedd ni," Eph. ii. 14. Ië, ein tangnefedd ni ydyw yn wir. Trwy ei deilyngdod yr ydym yn cael heddwch; tywalltodd ei werthfawr waed fel y caem dangnefedd. "Ac (wedi iddo wneuthur heddwch trwy waed ei groes ef) trwyddo ef gymodi pob peth ag ef ei hun, trwyddo ef, meddaf, pa un bynag ai pethau ar y ddaear ai pethau yn y nefoedd," Col. i. 20. "Cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef." Cyfeiriodd Duw yr holl ryfel yn ei erbyn ef, fel y caem ni heddwch perffaith. Bwriwyd Jonah i'r môr i dawelu yr ystorm, a bu tawelwch mawr; felly Crist a ddisgynodd oddiar y groes i'r bedd i wneuthur heddwch. Y mae yn awr yn creu heddwch yn ein cydwybodau, ac yn tawelu ysbryd terfysglyd â'i air. Dystawa, gostega, ac yn y man y mae tawelwch mawr. Fel y mae y brenin daearol yn ffynonell anrhydedd, felly y mae Crist yn ffynonell heddwch. "Tywysog heddwch." Yr oedd Moses yn ddyn *heddychol*, ond nid yn dywysog heddwch. Nis gallasai dawelu yr Iuddewon gwrthryfelgar. Mae Crist nid yn unig yn *ddyn* heddychol, ond hefyd yn "Frenin Salem, brenin heddwch." Gall dawelu enaid cythryblus gyda'r un hawsdra a thawelu y gwynt a'r môr. Mae ffydd yn ein huno â Christ, a Christ yn ein huno â Duw, fel yr ydym oll yn un. "Y pethau hyn a ddywedais wrthych, fel y caffech dangnefedd ynof; yn y byd gorthrymder a gewch: eithr cymerwch gysur, myfi a orchfygais y byd," Ioan xvi. 33. Mae ffydd yn ein gwneyd yn ddeiliaid i Dywysog heddwch, teyrnas yr hwn sydd yn berffaith hedd-

wch a llawenydd; yn rhoddi rhan i ni yn efengyl y tangnefedd, a'r "cyfamod hedd." Yr oedd yr hen gyfamod yn dywedyd, "Gwna hyn, a bydd fyw;" y newydd sydd yn dywedyd, "Bydd fyw, a gwna hyn; cred, a bydd gadwedig." Y mae y gyfraith yn gofyn gweithredoedd, ac felly yn cael ei galw yn *gyfamod gweithredoedd;* ond yr efengyl yn gofyn ffydd yn Nghrist: "Cred yn unig." Yr wyf yn diolch i Dduw am fod fy achubiaeth o ras i gyd. Mae ffydd yn rhoddi sail,—heddwch, cyfiawnhad, a santeiddhad, yn aberth Crist. Nid oes heddwch yn y nefoedd heb i Dduw dderbyn boddlonrwydd; dim heddwch mewn cydwybod heb santeiddrwydd yn yr enaid. Y mae calon grediniol yn *galon santaidd*, ac felly yn heddychol. Mae gras a heddwch, cyfiawnder a heddwch, santeiddrwydd a heddwch, wedi eu cylymu â'u gilydd; dim gras, dim heddwch; dim cyfiawnder, dim heddwch; dim santeiddrwydd, dim heddwch. Fe allai nad yw heddwch yn *deimlad* bob amser, ond y mae yn wastad mewn addewid ac mewn gobaith. Gras yw y gwreiddyn, teimlad o heddwch yw y ffrwyth. Cydwybod dda sydd wledd wastadol. Gwaith Duw yw heddwch, ac y mae wedi bwriadu eich gwobrwyo ag ef yn y cyflawniad o'ch dyledswyddau. "A chynifer a rodiant yn ol y rheol hwn, tangnefedd arnynt a thrugaredd, ac ar Israel Duw," Gal. vi. 16. "Heddwch mawr fydd i'r rhai a gadwant dy gyfraith; ac nid oes dramgwydd iddynt," Sal. cxix. 164. Os ydych yn caru ei gyfraith, cewch fwynhau heddwch. Ond aroswch; clywaf ryw un yn gofyn, "Pa fodd y mae heddwch yn ffrwyth ffydd pan y gwelwn fod annghredinwyr yn mwynhau heddwch, a chredinwyr yn amddifad o hono yn fynych?" Fy nghyfeillion, heddwch gau yw heddwch yr annuwiol. "Nid oes heddwch, medd fy Nuw, i'r annuwiol;" ac ni bydd heddwch ychwaith tra fyddo Duw mewn bod.

Y mae bod mewn rhyfel egniol yn well na heddwch ffugiol. Nid heddwch Duw yw heddwch yr annuwiol, ond esmwythder anystyriol oddiwrth ddiafol. Mae y cryf-arfog yn cadw ei neuadd mewn heddwch tra y mae yn gallu cadw y goleu allan. "Y mae yr hyn oll sydd ganddo mewn heddwch." Heddwch dyn yn cysgu ac yn breuddwydio ar ben yr hwylbren ydyw; lleidr meddw o flaen y dienyddwr, yn rhy feddw i ddeall pa un ai rhaff ai cwpan sydd ger ei fron. *A calm before a storm.* Y mae y gawod dragywyddol bron yn ymdori arno, ac nis gŵyr efe. Y mae cydwybod bedwar-plyg yn

bod:—Cydwybod dda a thawel, cydwybod heb fod yn dda nac yn dawel, cydwybod dda, ond heb fod yn dawel, cydwybod dawel ond heb fod yn dda. Yr olaf yw y fwyaf ofnadwy ac anobeithiol. Tawelwch ydyw sydd yn codi oddiwrth anwybodaeth o'i sefyllfa beryglus. O Arglwydd, y mae y dyn hwn yn mhell oddiwrth heddwch, er mewn teimlad o dangnefedd a dyogelwch. "Canys pan ddywedant, tangnefedd a dyogelwch, yna y mae dinystr disymwth yn dyfod ar eu gwarthaf, megys gwewyr esgor ar un a fo beichiog; ac ni ddiangant hwy ddim," 1 Thes. v. 3. Etifeddiaeth y saint yn unig yw heddwch; cymunrodd Tywysog heddwch i'w ddeiliaid. "Yr wyf yn gadael i chwi dangnefedd; fy nhangnefedd yr ydwyf yn ei roddi i chwi: nid fel y mae y byd yn rhoddi yr wyf fi yn rhoddi i chwi. Na thralloder eich calon, ac nac ofned," Ioan xiv. 27. Gall fod gras, ac heb heddwch yn *deimlad*, ond dim heddwch heb ras; canys y mae Duw a'r annuwiol yn elynion. Nid oes heddwch yn y gydwybod; canys fel y dywed un wrth siarad am Jonah, "Lle y mae pechod y mae ystormydd. Cydwybod bechadurus sydd gydwybod ystormus. Y mae yn ymddangos yn weddol dawel yn bresenol, ond y mae fel llyfr cauedig, unwaith yr agorir ef ni bydd dim ond uffern a thân anniffoddadwy i'w ddarllen ynddo. Y mae heddwch mewn sefyllfa bechadurus yn rhagredegydd rhyfel tragywyddol: yn rhyw beth tebyg i heddwch yr hen fyd, Sodom a Gomorrah, Joab, Simei, a thŷ Eli. "Yr oeddynt yn bwyta, yn yfed, yn gwreica, yn gwra, hyd y dydd yr aeth Noe i mewn i'r arch: a daeth y diluw, ac a'u dyfethodd hwynt oll," Luc xvii. 27. Y mae heddwch gwirioneddol gan gredinwyr, er fod eisiau ei berffeithio, y mae yn wir, ar y goreu o honynt. Nid oes neb yma yn mwynhau perffeithrwydd mewn heddwch, mwy na pherffeithrwydd mewn rhyw rasau eraill; y mae y cwbl mewn perffeithrwydd yn nghadw erbyn yr ewch i'r nefoedd; chwi gewch nefoedd berffaith yn y diwedd. Gall credinwyr ar brydiau gael cymaint o heddwch nes gorchfygu pob ofnau ac amheuaeth; ond yn gyffredin y mae ofnau ac ymddiried, amheuon a ffydd, gofid a heddwch, yn ymgyfarfod, ac yn byw yn yr un tŷ. Heddwch y duwiol yw rhyfel a phechod. Y cnawd yn rhyfela yn erbyn yr ysbryd, a'r ysbryd yn erbyn y cnawd; ac nis gallwn ddysgwyl heddwch perffaith nes y symudir pechod yn hollol; yna buddugoliaeth! Gall fod diffyg teimlad o heddwch yn fynych, ond bendigedig! y mae y

sylfaen yn gadarn—Craig yr oesoedd. "Wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, y mae genym heddwch tuag at Dduw trwy ein Harglwydd Iesu Grist," Rhuf. v. 1.

Y *teimlad* sydd yn gyfnewidiol, Duw sydd yr un. Y mae gweithred uniongyrchol ffydd yn rhoddi heddwch tuag at Dduw: "Neu ymafled yn fy nerth i, fel y gwnelo heddwch â mi, ac efe a wna heddwch â mi," Esay xxvii. 5. Ond gweithred at-dywynedig ffydd, neu rywbeth yn llewyrchu yn ol ar y meddwl yn y weithred o gredu yn Nghrist sydd yn rhoddi heddwch i'r gydwybod. Gall fod heddwch rhyngoch a Duw, a'r gydwybod mewn ystorm o herwydd ymgyfeillach ddirgelaidd â phechod. "*A Jonah under hatchway, or an Achan in the camp.* Rhaid cael Jonah allan o'r llong cyn bydd yr ystorm yn dawel, Achan o'r gwersyll cyn y daw llwyddiant. Teflwch bob tuedd at bechod *overboard*, fy nghyfeillion. Y mae Duw yn atal eglurhad o'i heddwch, ac yn rhyfela yn erbyn ei bobl, o herwydd eu bod yn rhodio yn rhy agos at bechod, ac yn rhy dyner o hono. Dylem fwrw coelbren fel y morwyr yn yr ystorm, neu Israel yn eu gofid; ac yna taflu dros y bwrdd, neu labyddio i farwolaeth aflonyddwr ein heddwch. *Common disturber* yw pechod; nac arbedwch ef, ymlidiwch ef, a pheidiwch â bod yn llonydd nes y byddo wedi ei ladd. Teflwch ben Seba mab Bicri dros y mur i Joab, a dyna yr holl ddinas warchaëedig wedi ei harbed, ac mewn heddwch, 2 Sam. xx. 16—21. Y mae Duw yn gwarchae arnom ac yn ein bygwth o herwydd fod rhyw elyn iddo ef yn llechu o fewn y galon. Mynwch afael arno, a theflwch ei ben dros y mur, yna bydd Duw mewn heddwch â chwi. Ni bydd mewn heddwch byth â ni tra y byddom ni mewn heddwch a phechod: ac ni arbed yr hwn sydd yn arbed anwiredd. Os ydych yn wrthwynebwyr pechod, ac yn "ymdrech o blaid y ffydd," y mae Duw yn llefaru heddwch i'w bobl. "Yr ydych yn gythryblus ac yn ofnus am nad ydych yn gallu credu Duw ar ei air; y mae efe yn rhoddi digon o arwyddion cymod i chwi, ond yr ydych yn credu satan, ac yn gwrthddywedyd yr Arglwydd; o ganlyniad yn codi tywyllwch ac ystormydd yn bwrpasol yn eich eneidiau. Y mae efe wedi ei ddatguddio ei hun i chwi lawer gwaith wedi swperu gyda chwi, wedi rhoddi i chwi y gareg wen, a'r enw newydd yn arwydd gollyngdod, a'r manna cuddiedig i'ch diwallu a'ch cysuro. Dyma ddigon byth o arwyddion ei gariad, oni bai dy fod di yn rhoi ffordd i amheuon, gan ymwrando ar satan,

nes dinystrio y tawelwch y mae Duw yn ei gynyg i'r meddwl. Ceisiwch heddwch yn ffordd yr efengyl, a chwi a'i cewch. Y mae credinwyr yn amddifad o hono am nad ydynt yn ei geisio yn fwy yn y ffordd o *gredu*. Y maent yn ei ddysgwyl yn ormodol yn ffordd y gyfraith, ac yn rhy fach yn y ffordd o gredu yr efengyl. Yn ei ddysgwyl yn fwy mewn santeiddhad na chyfiawnhad, yn fwy yn y gorchymynion nag yn yr addewidion, yn fwy mewn gweithio na chredu, yn fwy mewn ufudd-dod nag yn Nghrist. Dyma yr achos ei fod mor anmherffaith; a pha ryfedd, os ydych yn ceisio heddwch ynoch eich hunain, neu yn rhoddi rhyw beth yr ydych chwi yn ei wneyd yn sail iddo? Y mae heddwch yn y pethau hyn, ond nid yn gyflawn a boddhaol, nid yn gyson a gwastadol; heddyw pob anmherffeithrwydd, y fory wedi ei golli yn llwyr. Pob ffaeledd yn achosi ystorm newydd, ac yn cynyrchu ffrae drachefn yn yr enaid. Os ydych am heddwch sylweddol a pharhaus, ceisiwch ef yn Nuw yr heddwch, yn Nhywysog heddwch; y mae tangnefedd ynddo ef pan nad oes ond terfysg ynoch chwi; pan y mae yr hyn a wnaethoch chwi yn terfysgu y meddwl, y mae yr hyn a wnaeth efe yn heddwch, ac yn "dywedyd pethau gwell na'r eiddo Abel." Y mae eich aberthau chwi yn anafus, y mae ei aberth ef yn ddianaf; am hyny y mae tangnefedd perffaith mewn Ceidwad perffaith, ac aberth perffaith.

### Y DDEGFED BRIODOLEDD.

Y mae ffydd yn galluogi dyn i wneuthur a dyoddef. Mae yn ein gwneyd yn gryf i weithio, ac yn amyneddgar dan ddyoddefiadau. Ufuddhaodd Abraham i Dduw o dan amgylchiadau tywyll a phoenus, ac yr oedd hyn yn cael ei briodoli i'w ffydd gref. Yr oedd aberthu Isaac, yr hwn a ddysgwyliwyd yn bryderus, ac y llawenychwyd mor ddirfawr o'i blegyd, yn brawf anwadadwy o'i ffydd. Ac nid hyn oedd y brofedigaeth i gyd. Pe buasai yn gorfod ymadael ag ef yn y llwybr cyffredin, trwy angau naturiol, ni buasai gymaint; ond ei aberthu, ei dori yn ddarnau, ac ef ei hun i actio y cigydd, efe ei hun i drochi ei ddwylaw yn ei waed, rhaid fod hyn yn deimlad ofnadwy. Eto, er hyn i gyd, gwelwch rym ffydd, yn ei alluogi i ufuddhau heb ymgynghori â chig a gwaed; nid amheuodd efe addewid Duw, ond ufuddhaodd; ni *ddadleuodd*, ond *credodd*. Mae gweddiau crediniol yn weddiau ymdrechiadol: gwna ffydd i chwi weddio, a gweddio

i *bwrpas* hefyd. Mae gallu yr addewidion, gallu y cyfamod, a gallu Crist o'i phlaid. Gwna ffydd i chwi glywed, a chlywed i fuddioldeb: y mae gwrando ffyddiog yn wrando ffrwythlon. Crist yw ymborth ffydd yn y sacrament; hi yw y genau sydd yn ymborthi arno, y bibell trwy ba un y dylifa ffrydiau trugaredd o gyflawnder y Duwdod i'r enaid. Y mae yn tynu dwfr mewn llawenydd o ffynonau yr iachawdwriaeth. Mae yn gwneyd yn ffrwythlon trwy blanu mewn cyff ffrwythlon, fel y mae yn anmhosibl i ni fod yn blanigion anffrwythlon. Mae hi yn tynu bywyd ac ymgeledd o'r Arglwydd Iesu. Y cristion ffyddiog sydd ffrwythlon mewn bywyd ac ymddygiad; canys nis gellwch gredu yr addewid heb ufuddhau i'r gorchymyn: y mae ufudd-dod i'r gorchymyn yn brawf o grediniaeth yn yr addewid. Mae ffydd yn darostwng meibion Serfiah, sef y chwantau twyllodrus sydd yn ein heneidiau, onide byddent yn rhy galed i ni. Ein tarian i ymladd â satan, a'n nerth i wrthsefyll yn y dydd drwg, ydyw. Mae yn gosod Crist o'n plaid yn erbyn satan, ac yn gorchfygu y gelyn trwy yr Arglwydd Iesu. Ië, nid yn unig yn gorchfygu, ond "yn fwy na choncwerwyr, trwy yr hwn a'n carodd." Yr ydym yn gorchfygu y byd; ein ffydd ni sydd i fod yn ben ar bob peth. Y mae hi wedi ei geni i orchfygu ac i faeddu annghrediniaeth; ac y mae yn gwneyd hyny trwy gymhwyso a galluogi y galon i gredu yn Nghrist, ufuddhau iddo, a dyoddef yn ewyllysgar drosto. Ffydd yw meistr gwaith yr enaid; nid fel Pharaoh, yn gorchymyn llwythau, a rhoddi dim cymhorth, yn gorchymyn priddfeini, a rhoddi dim gwellt. Nage, nage; y mae yma addewid o nerth at bob gwaith. Fy enaid, tro at yr efengyl; y mae ffydd yr efengyl yn gorchymyn, ac yn rhoddi nerth gyda llaw—yn rhoddi y pethau y mae yn orchymyn. Cerdd at Grist am help; llywodraeth yr hwn sydd nid yn unig yn ei law, trwy ddal teyrnwialen, ond hefyd ar ei ysgwyddau: mae "yn rhoddi nerth i'r diffygiol."

Ffydd sydd yn teyrnasu trwy Grist yn egwyddor gyfaddas i'r peth gorchymynedig. Ufudd-dod newydd, nerth newydd, natur newydd; pob peth yn newydd. Mae natur newydd yn gydffurfiol â'r gyfraith, fel y mae dyn nid yn unig yn cael ei wneyd yn *alluog* i ufuddhau, ond yn *ewyllysgar* hefyd. "Da genyf wneuthur dy ewyllys, O fy Nuw, a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon." Y mae egwyddorion wedi dyfod i fy nghalon â chymhwysder ynddynt i dy ddeddfau glân. Cyfraith o fewn yn cyfateb i'r gyfraith oddiallan; felly bwyd

a diod yw ei wasanaethu. Nid gorchwyl caled yw hyn, ond hawdd; baich ysgafn, iau esmwyth. Nid gwaith caled yw gwrando, gweddio, a bod yn ddyfal yn ngwasanaeth yr efengyl; hyfrydwch ein calonau ydyw: nid cyffeiriau ydynt, ond ymborth. Yr ydym "yn ewyllysio byw yn dduwiol;" y mae y gyfraith o fewn y galon. Mae ystyriaethau o drugaredd Duw yn gynhyrfiadau gwastadol i ffydd. Meistr cariadus sydd yn gwneyd gwas diwyd; Duw da sydd yn gwneyd cristion gweithgar: nid oes dim yn llwyddo fel cariad; y mae yn ein "cymhell ni" yn y blaen at wasanaeth y Goruchaf. Y mae ffydd yn gweled, mewn cysylltiad a'i waith, beth ydym, beth y mae yn bosibl i ni fod, a pheth a fyddwn yn y man. Mae yn edrych ar y pethau a *wnaeth* ac a wna Duw drosom. Gogoniant i Dduw am ei drugaredd annhraethol. "Beth a dalaf i'r Arglwydd am ei holl ddoniau i mi? Phiol iachawdwriaeth a gymeraf, ac ar enw yr Arglwydd y galwaf. Fy addunedau a dalaf i'r Arglwydd yn awr yn ngwydd ei holl bobl ef," Sal. cxvi. 12—14. Y mae ei drugareddau anfeidrol yn gorchfygu fy nghnawd a'm calon, yn maeddu cyndynrwydd fy nghalon, ac yn esmwythau fy holl ddyoddefiadau. Gogoniant! y mae ei wasanaeth yn wir fraint, fel y dywed gwasanaeth Eglwys Loegr: cymerwch y peth sydd yn dda o bob man. Pan yr ydych yn edrych trwy ffydd, fy nghyfeillion, yr ydych yn gweled tegwch annhraethol yn ngwasanaeth Duw. Mae gwasanaethu brenin daearol yn gyfrifol yn ngolwg dynion; ond beth yw hyny at fod yn wasanaethwyr Brenin y breninoedd, ac Arglwydd yr arglwyddi, y Duw bendigedig, yn oes oesoedd? Mae yn fraint annghydmarol i greadur fod yn was iddo. Gwelir trwy ffydd wobr dragywyddol yn ngwasanaeth Duw, am hyny mae yn yspardyno yr enaid i ufuddhau. "Gan edrych ar Iesu, Pentywysog a Pherffeithydd ein ffydd ni; yr hwn, yn lle y llawenydd a osodwyd iddo, a ddyoddefodd y groes, gan ddiystyru gwaradwydd, ac a eisteddodd ar ddeheulaw gorseddfainc Duw. Ystyriwch gan hyny yr hwn a ddyoddefodd gyfryw ddywedyd yn ei erbyn gan bechaduriaid, fel na flinoch ac nad ymollyngoch yn eich eneidiau," Heb. xii. 2, 3.

Y mae ffydd yn gwneyd ffurf ddyoddefgar ar yr enaid, yn ei farwhau i'r byd, yn ei fywiocâu i'r nefoedd: felly pan y mae dyn yn farw i'r byd, nid yw yn prisio llawer am ymadael ag ef, a dim sydd ynddo. Nid gwobr ddaearol yr ydym yn ddysgwyl, ond nefol; nid gwenau dynion, ond gwenau Duw;

nid boddhau creaduriaid, ond rhyngu bodd Creawdwr. Yr ydym yn dewis Duw uwchlaw pob peth, ac yn foddlon i ymadael â phob peth er ei fwyn. Chwi welwch fod ffydd yn gweithredu ar yr ewyllys a'r serchiadau, ac yn dyfod â hwy i weithredu ar Dduw fel eu gwrthddrych penaf. Os yw Duw yn fach a'r byd yn fawr yn dy fryd, nid wyt mewn agwedd y gelli ddyoddef er ei fwyn. Pan y dygwydd i'r byd a chrefydd ddyfod i gystadleuaeth, dylyn Demas a wnei di, a gadael Duw; caru y byd presenol, a myned ymaith i Thessalonica. Ffurfir penderfyniad gan ffydd gyda Pedr, "Pe gorfyddai i mi farw, ni'th wadaf ddim." Mae yr hwn sydd yn amheu yn gyffelyb i don y môr, a chwelir ac a deflir; yn myned yn ol ac yn mlaen, ffordd hyn a ffordd arall; ond y mae ffydd yn penderfynu myned trwy y dyfroedd a thrwy yr afonydd; trwy lawer o orthrymderau a threialon er mwyn Crist a'r efengyl. Cerddwch trwy y moroedd, fy nghyfeillion; ni bydd colled am y llong, na'r llwyth ychwaith. *The captain is at the helm.* Gogoniant! "Y mae yn ddyogel genyf na all nac angau, nac einioes, nac angylion, na thywysogaethau, na meddianau, na phethau presenol, na phethau i ddyfod, nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd," Rhuf. viii. 38, 39. Pan oedd y bobl yn ceisio perswadio Polycarp i wadu Crist, a derbyn rhyddhad, dywedodd, "Yr wyf wedi ei wasanaethu ef dros bedwar ugain mlynedd, ac ni wnaeth niwed i mi erioed; pa fodd, ynte, y gallaf gablu fy Mrenin a'm Gwaredwr?" Gofynwyd i Cyprian ystyried y mater yn dda cyn dyoddef; ond dywedodd, "Nid oes eisiau llawer o ystyriaeth ar fater mor gyfiawn a goleu." Darllenais am ddynes ieuanc gyfoethog, i'r hon y cynygiwyd ei bywyd a'i holl etifeddiaeth ar y fynyd olaf, ond gwadu Crist. Atebodd, "Gadewch i fy arian fyned i ddystryw; ond am fy enaid, nid aiff i ddystryw byth. Er fy mod yn caru y bywyd hwn yn ei le, eto yr wyf yn gweled 'bywyd wedi ei guddio gyda Christ yn Nuw' sydd lawer gwell."

Chwi welsoch fod ffydd yn cynyrchu grasusau dyoddefgar; megys amynedd, hyder, hunan-ymwadiad, dibrisio y byd, meddwl uchel am Dduw ac am ei waith. Y mae hi yn tynu grym o'r addewidion i fyned yn y blaen yn wyneb anhawsderau. "Pan elych trwy y dyfroedd, myfi a fyddaf gyda thi; a thrwy yr afonydd, fel na lifant drosot: pan rodiech trwy y tân, ni'th losgir, ac ni enyn y fflam arnat. Canys myfi yw

yr Arglwydd dy Dduw, Sant Israel dy Waredydd: myfi a roddais yr Aipht yn iawn trosot, Ethiopia a Seba am danat," Esay xliii. 2, 3. Os collwn y byd, yr ydym yn enill tragywyddoldeb; os ydym yn aberthu pethau ysgafn, yr ydym yn enill pethau pwysig—"Pwys gogoniant." "Os dyoddefwn gydag ef, ni a deyrnaswn hefyd gydag ef." "A phob un a'r a adawodd dai, neu frodyr, neu chwiorydd, neu dad, neu fam, neu wraig, neu blant, neu diroedd, er mwyn fy enw i, a dderbyn y can cymaint, a bywyd tragywyddol a etifedda efe," Mat. xix. 29. Bydd Duw ei hun yn bob peth, ïe, a mwy na phob peth. Yn fwy na chyfoeth, cyfeillion, a bywyd. Y mae yr ystyriaethau hyn yn ddigon i'n cario yn fuddugoliaethus trwy holl brofedigaethau y bywyd hwn.

## YR UNFED BRIODOLEDD AR DDEG.

Y mae ffydd yn dyrchafu sefyllfa dyn ger bron Duw. Mae yn codi un dyn uwchlaw dyn arall yn meddwl Duw. Y peth sydd yn gwneyd gwahaniaeth rhwng dyn a dyn yw ffydd, neu ddim. "A Duw, adnabyddwr calonau, a ddyg dystiolaeth iddynt, gan roddi iddynt yr Ysbryd Glân, megys ag i ninau. Ac ni wnaeth efe ddim gwahaniaeth rhyngom ni â hwynt, gan buro eu calonau hwy trwy ffydd," Act. xv. 8, 9. Mae Duw yn ein codi trwy ffydd o blith y lluaws, a'n gwneyd yn freninoedd ac yn offeiriaid. Bydd y gwaelaf o gredinwyr yn freninoedd yn dragywydd. "Eithr chwychwi ydych rywogaeth etholedig, breninol offeiriadaeth, cenedl santaidd, pobl briodol i Dduw, fel y mynegoch rinweddau yr hwn a'ch galwodd allan o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni ef: y rhai gynt nid oeddech bobl, ond yn awr ydych bobl i Dduw," 1 Pedr ii. 9. Mae y gras hwn yn ufudd-dod yn ein dyledswyddau, ac yn gwneyd ein dyledswyddau uwchlaw eraill ger bron Duw. "Trwy ffydd yr offrymodd Abel i Dduw aberth rhagorach na Chain; trwy yr hon y cafodd efe dystiolaeth ei fod yn gyfiawn, gan i Dduw ddwyn tystiolaeth i'w roddion ef: a thrwyddi hi y mae efe, wedi marw, yn llefaru eto," Heb. xi. 4. Offrymodd y ddau, ond yr oedd ffydd yn gwneyd gwahaniaeth annhraethol rhwng y naill a'r llall ger bron Duw, ar y pryd ac i dragywyddoldeb. Nid defnyddiau yr aberthau oedd yn gwneyd y gwahaniaeth, ond *aberthu* trwy ffydd ac heb ffydd. Ffydd sydd yn gwneyd Abba Dad y saint yn rhagorach na Mair Forwyn y Pabyddion, yn gwneyd gweddi y cristion yn burach na'r hunan-gyfiawn Pharisead, yn gwneyd llefau y plentyn yn fwy effeithiol na udiadau y

rhagrithiwr. Y mae annghrediniaeth yn gwneyd dyn yn anifail, fel Nebuchodonosor. "Pan ymgododd ei galon ef, a chaledu o'i ysbryd ef mewn balchder, efe a ddisgynwyd o orseddfa ei freniniaeth, a'i ogoniant a dynasant oddiwrtho. Gyrwyd efe oddiwrth feibion dynion, a gwnaethpwyd ei galon fel bwystfil, a chyda'r asynod gwylltion yr oedd ei drigfa; â gwellt y porthasant ef fel eidion, a'i gorph a wlychwyd gan wlith y nefoedd, hyd oni wybu mai y Duw goruchaf oedd yn llywodraethu yn mreniniaeth dynion, ac yn gosod arni y neb a fyno," Dan. v. 21, 22. Mae yr asynod gwylltion yn ddigon da o gwmpeini i ddyn nad yw yn credu yn Nuw. Mae annghrediniaeth nid yn unig yn gwneyd dyn yn anifail, ond yn *ddiafol;* yn anifail o faes, ac yn ddiafol o fewn. Ond, bendigedig, y mae ffydd yn gwneyd anifail yn ddyn, a diafol yn angel. Mae annghrediniaeth yn gwneyd creadur yn ddaearol ac yn uffernol, a ffydd yn ei wneyd yn rasol ac yn nefol. Gelwir calon annghrediniol yn galon fras, am ei bod yn ymhyfrydu mewn pethau cnawdol; ond y mae ffydd yn codi enaid i fyny gymaint uwchlaw rheswm ag yw rheswm uwchlaw anrheswm; y mae yn gosod cristion gymaint uwchlaw dyn ag yw dyn uwchlaw anifail.

Y mae nid yn unig yn ras ysbrydol, ond yn ysbryd yr holl rasusau. Annghrediniaeth sydd yn gwneyd yr ysbrydol sydd mewn crefydd yn ddim, neu y drws nesaf at hyny: yn creu gwrthddrychau dychymygol nad oes y cyfryw bethau mewn bodolaeth. Yr ydym trwy ffydd, fy nghyfeillion, wedi ein cysylltu a phethau anweledig, wedi ein gwneyd yn weision y Brenin mawr, ïe, yn gyfeillion. Gelwir Abraham yn "gyfaill Duw." Yr ydym yn feibion ac yn ferched. "Canys chwi oll ydych blant i Dduw trwy ffydd yn Nghrist," Gal. iii. 26. Gallwn ymogoneddu yn ein hachyddiaeth, yr ydym o'r bonedd uchaf; wedi ein geni oddiuchod, o Dduw. "O'i wir ewyllys yr ynillodd efe nyni trwy air y gwirionedd, fel y byddem ryw flaen-ffrwyth o'i greaduriaid ef. Y rhai ni aned o waed, nac o ewyllys y cnawd, nac o ewyllys gwr, eithr o Dduw;" Iago i. 18; Ioan i. 13.Ië, y mae yr eglwys yn wraig Iesu Grist; a pha le y gwelwyd y fath wr ond ei hunan? Pwy sydd yn, a phwy all anrhydeddu cymaint ar ei wraig? Y mae y wraig yn dysgleirio yn ei lewyrch a'i ogoniant. Y mae yn ogoneddus yn awr, nis gall byth mwy fod yn ddiffaeth ac yn wael, canys y mae yn rhoddi ei ragoriaethau ei hun arni, a'i oludoedd iddi: "Mi a'th wisgais hefyd â gwaith

edau a nodwydd; rhoddais i ti hefyd esgidiau o groen daearfoch, a gwregysais di â llian main, a gorchuddiaïs di â sidan. Mi a'th harddais â harddwch, a rhoddais freichledau am dy ddwylaw, a chadwyn am dy wddf. Rhoddais hefyd olew ar dy dalcen, a thlysau wrth dy glustiau, a choron hardd ar dy ben. Felly y'th harddwyd ag aur ac arian; a'th wisg oedd lian main, a sidan, a gwaith edau a nodwydd; peilliaid, a mel, ac olew, a fwyteit: teg hefyd odiaeth oeddit, a ffynaist yn freniniaeth. Aeth allan i ti enw yn mysg y cenedloedd am dy degwch: canys cyflawn oedd dy harddwch, yr hwn a osodaswn arnat, medd yr Arglwydd Dduw," Ezec. xvi. 10—14. Chwi welwch ein bod yn dysgleirio yn ardderchog yn ngrasau a gogoniant ein hanwyl briod. *Behold what a dash she cuts with the riches of her Spouse.* "Eithr yr ydych chwi o hono ef yn Nghrist Iesu, yr hwn a wnaethpwyd i ni gan Dduw yn ddoethineb, ac yn gyfiawnder, ac yn santeiddrwydd, ac yn brynedigaeth: fel, megys y mae yn ysgrifenedig, Yr hwn sydd yn ymffrostio, ymffrostied yn yr Arglwydd," 1 Cor. i. 30, 31. Y mae yr aelod gwanaf yn Nghrist yn fwy anrhydeddus na phenau coronog y byd; y gangen leiaf yn y winwydden yn fwy gwerthfawr na'r gedrwydden uchaf yn Libanus. Y mae yn well peidio a bod o gwbl na bod allan o Grist. Y mae ymarferiadau dyn wedi eu codi trwy ffydd uwchlaw gwaeledd y byd hwn. Y mae byw trwy ffydd yn ffurfiad cymeriad newydd ac anrhydeddus. Y mae yn gweddio, cymuno, cymdeithasu â Duw, yn rhoddi ei serch ar bethau sydd uchod, ei galon yn ymhyfrydu mewn trysorau nefol, ac yn caru ei artref tragywyddol. Y mae pob dyn sydd yn ymwneyd â Duw yn cael ei godi i urddas ger ei fron, a cher bron pawb eraill. Dysgleiriodd wyneb Moses fel na allai plant yr Israel edrych yn graff arno; ac ond i tithau ymarfer ag ef, fe ddysgleiria dy wyneb dithau hefyd. Os Duw santaidd, bywyd santaidd; os Duw trugarog, rhaid i chwithau fod yn drugarogion; os Duw cyfiawn, dynion cyfiawn; os ydych yn cyfeillachu ag ef, y mae yn peri i chwi ddysgleirio "fel goleuadau yn y byd." Cerddwch at Dduw trwy ffydd, a deuwch yn well tragywyddol oddiwrtho.

Y mae ffydd yn gwneyd yr etifeddiaeth yn sicr i'r holl had; mor sicr a phe baent yn eistedd yno yr awr hon. Y mae "coron cyfiawnder yn nghadw i mi," ebe yr apostol; yr wyf mor sicr o honi a phe byddai ar fy mhen. "Ac a'n gosododd i gyd-eistedd yn y nefolion leoedd yn Nghrist Iesu," Eph. ii. 6.

Yr ydym yn cyd-eistedd yn awr mewn *undeb* a'r Pen trwy ffydd; ond yn fuan mewn *cymundeb*, yn ngwlad y gogoniant. Nyni biau y ddaear a'r nefoedd; y mae y nefoedd yn dyfod atom ni yma yn Nghrist, hyd nes y byddom yn barod i fyned yno ato byth. Gogoniant! nyni biau y cwbl. Mae yr Ysbryd Glân yn ein cymhwyso, ein harwain, a'n dyddanu; gweision i ni yw y cwbl. Y mae holl greaduriaid y byd hwn at ein gwasanaeth tra yr ydym ynddo, ac ar ol i ni ddarfod a hwy y mae Crist ei hun oll yn oll yn dyfod i gyflawn feddiant. Nid at eu gyru gan blant diafol y crewyd yr holl greaduriaid yma, ond at wasanaeth y saint: "Y mae pob peth yn eiddo i chwi." Eiddo i ni yw y nefoedd hefyd yr awr hon; nyni biau yr angylion; hwy yw ein *royal guard* ni, a nyni yw *royal family* y nefoedd; yr ydym yr awr hon yn berthynasau i bawb sydd yno. Y mae holl gyfansoddiad Cristionogaeth yn troi ar golyn ffydd. "Heb ffydd anmhosibl yw rhyngu ei fodd ef." Gwaed yr enaid ydyw sydd yn rhedeg trwy holl wythienau crefydd. Fel y mae yr enaid yn fywyd y corph, felly y mae ffydd yn fywyd yr enaid. Ein ffon a'n tarian ydyw; y mae eisiau angel i'w desgrifio, ac nid dyn; ond pe bai y cwbl yn nghyd, dynion ac angylion, nis gallent fynegi yr haner eilwaith. Y mae mwy ar y *bill* gan y *quack doctor* nag sydd yn yr ymenydd; mwy o siarad nag o *balsam;* ond yma y mae y *bill* yn methu cynwys y rhinweddau. Y mae llawer ar y *bill;* ond bendigedig, y mae mwy, anfeidrol fwy yn y *doctor* nag sydd yn y *bill.* Nid yw y papyr yn gallu cynwys y rhinweddau, na'r siarad y meddyginiaethau; y mae y cwbl yn syrthio yn anfeidiol fyr i egluro trefn fendigedig Duw i achub y byd. Nid wyf yn gwneyd ffydd yn Grist, cofiwch, wrth ddywedyd fel hyn; ond son yr wyf am ffydd yn gweithredu ar ei gwrthddrych; a pha beth bynag sydd yn y gwrthddrych, y mae yn dyfod yn eiddo y credadyn yn y weithred o gredu. Er nad ydym yn gwneyd ffydd yn Grist, eto nis gallwn gwneyd dim â Christ *heb* ffydd, na dim â ffydd heb Grist.

## Y DDEUDDEGFED BRIODOLEDD.

Y mae ffydd yn cynyddu grym ac yn cario yr enaid yn y blaen mewn llwyddiant. Y cristion crediniol yw y cristion cynyddol; hyny yw, yr hwn sydd yn credu fwyaf sydd yn cynyddu fwyaf; canys y mae ffydd yn porthi a nerthu yr enaid, ac yn gwanhau llygredigaeth. Mae yn ysbeilio pechod

o'r danteith-fwyd, yn cymeryd ei *dainty bits* oddiarno, a'i newynu i farwolaeth. Mae pechod mewn calon annghrediniol yn cael ei ewyllys yn gyflawn. Mae yn cael y llyfrau mwyaf llygredig i'w darllen, y cathlau gwaelaf, lluniau llygredig i edrych arnynt, chwareuyddiaethau melldigedig, pictwrau anllad, a phob peth er porthi natur lygredig, a thaflu olew i'r fflam uffernol. Mae iechyd, grym cyfoeth, a phob peth oll yn cael ei ddefnyddio i borthi llygredigaeth y galon. Ffydd yn unig sydd yn newynu pechod yn y byd hwn; ni rydd y fron i'w borthi ef, nac edrychiad, nac awgrymiad; eithr y mae holl lywodraeth ffydd yn tueddu i'w ddinystrio yn llwyr o fodolaeth. Mae chwantau, ond eu meithrin, yn difa yr enaid a'i ladd; eithr y mae ffydd yn dinystrio y dinystrydd mawr hwn; yn carthu allan yr hen lefain, yn iachau y cylla a'r holl gyfansoddiad, yna ei wella o ddydd i ddydd, nes ei lwyr berffeithio. Mae yn rhaid carthu allan yn gyntaf, trwy gyffeiriau cryfion, onide ni wna yr enaid gynyddu, bydded mewn cystal porfa ag y byddo. Felly y mae yn naturiol, ac felly y mae yn ysbrydol hefyd. Os bydd y plant yn ymborthi ar bethau afiachus, fel y maent weithiau, heb yn wybod i'w rieni, ni chynyddant, pa bethau bynag a roddir iddynt. Mae rhai eneidiau yn byw ar chwantau y cnawd, ac eto yn ymgrogi wrth grefydd trwy y blynyddau; ond pa fodd y gall y cyfryw gynyddu a llwyddo yn eu crefydd? Mae eraill yn bwyta *sacred dust*—llwch santaidd; ffurfiau ac ordinhadau crefydd, nid Crist croeshoeliedig. Y maent fel plant yn bwyta calch a phridd, y rhai ydynt yn marw pa beth bynag a wneir iddynt. Dewch oddiwrth y cibau a'r sothach at y "porfeydd gwelltog," ac i lan y "dyfroedd tawel." Dyma gaeau ein Tad, y rhai ydynt yn cynwys digon byth i ddigoni ffydd, fel nad oes rhaid i ni ymborthi ar wellt, sofl, a chibau traddodiad dynol.

Y mae digon yn ngair yr Arglwydd i gynal bywyd wedi yr elo y byd ar dân. "Yr holl ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan ysbrydoliaeth Duw, ac sydd fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder: fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda," 2 Tim. iii. 16, 17. Dyma laeth i fabanod, a bwyd cryf i ddynion cryfion; dyma le i'r *elephant* nofio, a'r oen bach i chwareu; dyma le i fach a mawr, cryf a gwan, hen ac ieuanc, i wledda a chynyddu ar yr un bwrdd trwy ffydd. Yma y mae gwybodaeth, cariad, sel, amynedd, hunan-

ymwadiad, a phob gras arall yn cael eu gwala o ymborth. Y mae ffydd fel gwydryn llosgedig, yn enyn yr holl rasusau; fel *loadstone* i dy dynu i edrych i ddrych y gyfraith, i weled dy drueni, nes dy wneyd yn ostyngedig; ïe, i orwedd yn y llwch. "Dy drigfa a'th enedigaeth sydd o wlad Canaan; dy dad oedd Amoriad, a'th fam yn Hittees. Ac am dy enedigaeth, ar y dydd y'th anwyd ni thorwyd dy fogail, ac mewn dwfr ni'th olchwyd i'th feddalhau; ni'th gyweiriwyd ychwaith â halen, ac ni'th rwymwyd â rhwymyn. Ni thosturiodd llygad wrthyt, i wneuthur i ti un o hyn, i dosturio wrthyt; ond ar wyneb y maes y'th daflwyd, i ffieiddio dy einioes, ar y dydd y'th aned," Ezec. xvi. 3, 4, 5. Edrych pa fath greadur oeddit, a bydd falch, os gelli.

Mae ffydd nid yn unig yn troi y llygaid i edrych ar hunan, ond hefyd i edrych ar rinweddau dynion duwiol iawn, mawr mewn gras, nes y byddo yn gweled nid yn unig ei fod yn *bechadur* mawr, ond hefyd yn gristion bach, ac yn cywilyddio. Eto, er fod ffydd yn cyfeirio y meddwl at drueni mawr, nid yw yn ei adael yno; canys y mae hefyd yn ei godi o'r dyfnder mawr i uchder mawr, at Dduw mawr, Maddeuwr mawr, Cyfryngwr mawr, aberth mawr a digonol. Mae ganddi hi fwyd i'w fwyta na ŵyr y byd ddim oddiwrtho; manna cuddiedig, didwyll laeth y gair, y bara ddaeth i waered o'r nef, ac sydd yn rhoddi bywyd i'r byd. Dyma fronau dyddanwch; sugnwch a chynyddwch. Bwytewch, canys yr hwn sydd yn bwyta sydd yn gryf; gellwch farw o newyn er bod digon yn eich ymyl, oddieithr i chwi ei ddefnyddio. Gweddiwch am archwaeth dda, fel y byddoch yn gristionogion cryfion. Crist ei hun yw y ddysglaid foethusaf a mwyaf danteithiol: y mae ffydd yn ymborthi ar ei gnawd ac yn yfed ei waed, nes magu a phorthi bywyd ynom. Mae Crist yn *rhoddi* bywyd i ddynion meirwon, ac yn cynal a chynyddu bywyd yn y rhai byw. Efe yw "bara y bywyd," mae yn fara beunyddiol i fy enaid tlawd yn ei air a'i ordinhadau, yn ddogn dydd yn ei ddydd. Mae ei air yn fy mywhau, a'i sacrament santaidd yn fy meithrin; yn y cyntaf yr wyf wedi cael *undeb*, ac yn y diweddaf *cymundeb*. *Christ is the staff of life.* Trwy y gair yr wyf wedi fy impio i Grist, trwy y sacrament yn cael fy mhorthi gan Grist. Gallwn dreulio ein bywydau gyda'r ordinhadau, a marw fel gwartheg culion Pharaoh yn y diwedd, os na ymborthwn ar Grist ei hun ynddynt. Y maent yn weigion heb Grist; efe yw eu cnewllyn a'u sylwedd. Mae

llawer yn bwyta yn ei bresenoldeb heb ei fwyta ef; yn bwyta bara gosod, ond nid y bara ddaeth i waered o'r nef; yn ymborthi ar yr elfenau, ond nid y sylweddau. Yr ydym fel Elias, yn cael gwledd ambell waith ag sydd yn ein galluogi i deithio llawer o ffordd mewn llawenydd; ond nid yw hyn yn gyffredin; am hyny gweddiwch am fara beunyddiol i'r enaid fel i'r corph. Ymborthwch ar Grist bob dydd, fel y byddoch gryfion, ac y cryfhaoch.

## Y DRYDEDD BRIODOLEDD AR DDEG.

Gras sydd yn gwaghau enaid yw ffydd. Dwy weithred fawr ffydd yw gwaghau dyn o hunan, a'i lanw o Grist. Yn gyntaf ei dori oddiar hen gyff marwolaeth yn Adda, ac yna ei impio i gyff newydd y bywyd yn Nghrist. Mae ffydd yn cymeryd y dyn yn gyntaf i'r *stripping room*, ac yn dyosg y cadachau, cyn ei wisgo yn y *royal robes;* yn ei daflu oddiar yr hen sylfaen dywodlyd cyn ei osod ar y graig; yn ei wneyd yn dlawd ynddo ei hun, yna yn gyfoethog yn Nghrist; yn gwaghau, yna yn llanw. Mae yn arllwys allan hunan-dyb gwyntog, a hunan-gyfiawnder. Nid yw yn gwaghau dyn o ddim cyfiawnder gwirioneddol, ond cyfiawnder tybiol a gau; nid o ddim gwerth sydd ynom, canys nid oes dim ynom sydd yn werth; ond y *dybiaeth* hoff sydd genym o werth, er nad yw felly mewn gwirionedd.

Y mae ffydd yn dyfod â ni i gredu ein bod yn greaduriaid diwerth a damniol. "Oblegyd dy fod yn dywedyd, Goludog wyf, a mi a gyfoethogais, ac nid oes arnaf eisiau dim; ac ni wyddost dy fod yn druan, ac yn resynol, ac yn dlawd, ac yn ddall, ac yn noeth; yr wyf yn dy gynghori i brynu genyf fi aur wedi ei buro trwy dân, fel y'th gyfoethoger, a dillad gwynion, fel y'th wisger, ac fel nad ymddangoso gwarth dy noethder di; ira hefyd dy lygaid ag eli llygaid, fel y gwelych," Dat. iii. 17, 18. Yr ydym yn llawn o hunan yn mhob ffurf; balchder oedd achos cwymp Adda, ac y mae yn ein dinystrio ninau fel yr eglwys uchod: yr oedd hon yn llawn, ac heb arni eisiau dim; ond y mae ffydd yn ein dysgu ein bod yn dlawd, ac eisiau pob peth arnom. Mae yn curo i lawr y meddyliau uchelfrydig hyn, yn taflu dychymygion gweigion yr ymenydd dros y drws, yn treiglo mynyddau hunan-dybiaeth oddiar y ffordd, ac yn gwneyd y dyn yn ddim; ei wneyd yn wael yn ei deimlad, yn "dlawd yn yr ys-

bryd," yn gardotyn wrth ddrws y nefoedd, yn noethlym a thruenus yn deisyf bywyd tragywyddol yn rhad yn Nghrist Iesu. Mae ffydd yn dyfod â ni i weled, yn lle bod genym gyfiawnder a'n cuddia byth, nad oes genym ddim ond pechod a'n damnia byth; yn lle harddwch, anferthwch; yn lle prydferthwch, duwch a gwarth. Yr ydym yn canfod nad oes dim ynom ond pechod, uffern, damnedigaeth yn berwi yn ein calonau a'n hegwyddorion; ïe, uffern yn ein gweddiau, diafliaid yn ein mynwesau. Mae yn rhaid i ni gael Crist rhyngom a'n gweddiau fel ein pechodau; canys pechod yw pob peth a wnelom heb ffydd yn Nghrist: fe ddamnia ein gweddiau goreu ni, fel ein pechodau gwaethaf. Mae ffydd yn malurio hunan yn chwilfriw cyn dechreu gosod sylfaen bywyd i lawr yn yr enaid. Mae yn clirio allan hen *rubbish* Eden, megys hunan-ymddiried, hunan-ddigonoldeb; yn bwrw yr hen gestyll hyn yn ganddryll, ac yn codi *superstructure* newydd ar anfarwoldeb yr enaid.

Y mae gwaith ffydd yn ymddangos yn rymus wrth ein gwneyd yn dlawd er ein cymhwyso i dderbyn yr efengyl: y tlawd sydd yn ei derbyn hi gyda llawenydd. Claf-dy yw yr efengyl i'r tlodion, y deillion, y clwyfus, y noeth, a'r colledig. Nid oes dim ynddi i'r cyfoethog a'r llawn, canys y maent hwy yn tybied nad oes arnynt eisiau dim. Os yw y dyn yn credu rai prydiau ei fod wedi ei golli i ryw fesur, mae yn credu hefyd fod ganddo nerth i'w achub ei hun; o leiaf, fod ganddo ryw faint,—nad yw yn hollol analluog. Nid oes neb yn dyfod at Grist nes y mae wedi darfod yn llwyr ag ef ei hun. Tra yr oedd gan y wraig â'r dyferlif gwaed geiniog yn ei helw, hi a wnaeth ei goreu i brynu meddyginiaeth; ond wedi treulio y cwbl a chael dim gwellhad, hi a ddaeth at yr Iesu. Tra y cred dyn y gall weithio ei heddwch ei hun, talu ei ddyled, a gwau cyfiawnder i guddio ei noethni, ni ddaw byth at yr Arglwydd Iesu Grist: mae yr hunan-dyb hon yn ddigon i'w gadw yn mhell oddiwrth iachawdwriaeth. Mae yn well gan ddyn wisgo ei hen ddillad na cheisio dim gan gyfaill; a chloddio pydewau na gofyn dwfr. Gwna y pechadur bob yscil cyn dyfod at Fab Duw. Treiodd yr afradlon bob peth cyn troi ei wyneb yn ol i dŷ ei dad; ac oni buasai i angau gyfarfod ag ef yn mhob man, ni buasai wedi dychwelyd eto. Yr ydym yn debyg i'r goruchwyliwr annghyfiawn yn yr efengyl, ddim yn gallu gweithio, a chardota yn gywilyddus.

Mae ffydd nid yn unig yn dangos tlodi, gwarth, dyled, a damnedigaeth, ond hefyd yn troi wyneb yr enaid at Gyfryngwr. "Canys Crist, pan oeddym ni eto yn weiniaid, mewn pryd a fu farw dros yr annuwiol. Oblegyd braidd y bydd neb farw dros un cyfiawn; oblegyd dros y da ysgatfydd fe feiddiai un farw hefyd. Eithr y mae Duw yn canmol ei gariad tuag atom; oblegyd a nyni eto yn bechaduriaid, i Grist farw trosom ni," Rhuf. v. 6—8. Yr ydym yn weiniaid, yr ydym yn feirwon, a gweithredoedd meirwon yw pob peth ydym yn ei wneyd, y rhai ydynt yn ein gosod yn ddyfnach mewn dyled. Heb Grist nis gallwn wneuthur dim yn iawn; ein gweithredoedd goreu ydynt fel rhoddion gelyn, yn ebyrth ffyliaid: nis gallant foddhau Duw. Nis gallwn gwblhau dim ag sydd yn ddaioni gwirioneddol a sylweddol. Y peth a ofynodd Nathanael yn nghylch Nazareth, a ellir ei ofyn yn briodol i ni: A ddichon dim da ddyfod o ddyn llygredig? A ddichon rhyw dda ddyfod o galon ddrwg? A ddichon ffrwyth da dyfu ar bren drwg? A gesglir ffigys oddiar ddrain? A phwy a all ddyfod â pheth glân allan o beth aflan? A all yr Ethiopiad newid ei groen, neu y llewpard ei frychni? Anmhosibl! Chwi ellwch wneyd plastr o ddagrau a dyledswyddau i wella wyneb y clwyf; ond fe erys y drwg yn y gwaelod. Heddwch ydyw a dry yn ystorm yn angau, canys y mae drwg yn y gwaelod nad oes dim a all ei wella byth ond gwaed y groes. Er fod Duw weithiau yn gwobrwyo gweithredoedd drygionus, fel yr eiddo Jehu, Ahab, Nebuchodonosor, ac eraill; nid am eu bod yn teilyngu gwobr yw hyny, ond yn hytrach am ei fod ef yn Wobrwywr trugarog.

Nis gallwn feddwl un meddwl perffaith. "Nid o herwydd ein bod yn ddigonol o honom ein hunain i feddwl dim megys o honom ein hunain; eithr ein digonedd ni sydd o Dduw," 2 Cor. iii. 5. Nid yw y byd yn deall Paul pan yn dywedyd, "Eithr y dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o ysbryd Duw: canys ffolineb ydynt ganddo ef; ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt," 1 Cor. ii. 14. Nid ydym yn alluog i ewyllysio yr hyn sydd dda. "Canys Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu, o'i ewyllys da ef," Phil. ii. 13. Nid ydym ni yn alluog i *ddechreu gwaith* da; Duw sydd yn dechreu. "Gan fod yn hyderus yn hyn, y bydd i'r hwn a ddechreuodd ynoch waith da ei orphen hyd ddydd Iesu Grist," Phil. i. 6. Duw sydd

yn dechreu ac yn diweddu; efe yw pob peth ein cadwedigaeth, efe sydd oll yn oll, efe hefyd ddylai gael y clod. "Arglwydd, ti a drefni i ni heddwch: canys ti hefyd a wnaethost ein holl weithredoedd ynom ni," Esay xxvi. 12. Clywch beth a ddywed yr apostol ar y mater hwn:—"Canys mi a wn nad oes ynof fi (hyny yw yn fy nghnawd i) ddim da yn trigo: oblegyd yr ewyllysio sydd barod genyf; eithr cwblhau yr hyn sydd dda, nid wyf yn medru arno," Rhuf. vii. 18. Mae *ewyllysio* cwblhau, er yn wan, yn y dyn duwiol yn aml, ond nid oes dim yn yr annuwiol; y mae ynddo ef anallu hollol mewn ewyllysio yn gystal a gwneyd. "Holl feddylfryd y galon yn unig yn ddrygionus bob amser." "Yn feirw mewn camweddau a phechodau." Caniatewch y gallem gyflawni cynifer o weddiau ag sydd o ser yn y ffurfafen, wylo cynifer o ddagrau ag sydd o ddafnau yn y môr, porthi y tlodion â'r holl dda, ymprydio nes byddo y corph yn ysgerbwd, gweddio nes y byddo y penliniau yn esgyrn noeth, ïe, gwneyd cymaint ag un angel yn y nef; byddai Duw yn rhwym o'n danfon i uffern oddiar ein gliniau ac o ganol ein gweddiau, os heb ran yn Nghrist. Pe bai yn bosibl i ni fyw yn berffaith o hyn allan, pwy sydd i dalu yr hen ddyled? Pe baem yn dyoddef holl drueni y bywyd hwn, a damnedigaeth yn uffern am dragywyddoldeb, nis gallem byth foddloni y Duw santaidd ac anfeidrol am y pechod lleiaf; felly nis gallem dalu yr un hatling o'r ddyled. Pe baem yn dyoddef gynifer o filiynau o flynyddoedd neu oesau yn uffern ag sydd o fynydau oddiar ddechreuad y byd, ag sydd o laswellt ar y ddaear, neu sydd o dywod ar fin y môr; ac i Dduw helaethu ein galluoedd eneidiol, ein gwneyd yn fwy galluog i ddyoddef digofaint; y llestr wedi ei helaethu i ddal ychwaneg o boenedigaeth, eto ni sychid byth ffynonellau ei gyfiawnder, ni threulid ei ddigofaint allan yn dragywydd. Y mae poenau amserol a thragywyddol yn rhy fach i foddloni cyfiawnder am y pechod lleiaf gyflawnwyd o fewn y greadigaeth.

Y llw yr wyt ti yn meddwl mor ysgafn am dano, neu y meddwl llygredig yr hwn nad ystyrir yn fawr o bwys, sydd yn ormod i dragywyddoldeb o ddyoddef i'w ddyhuddo. Gan fod y dyoddef hyn yn ddynol a therfynol, nis gall byth fod yn foddlonrwydd am drosedd yn erbyn Duw anfeidrol. Y mae ffydd yn dweyd wrth y dyn nid yn unig ei fod heb gyfiawnder, ond hefyd ei fod heb ewyllys, na thuedd, na grym, i

ddyfod lle y mae i'w gael; ïe, y mae gelyniaeth yn erbyn y drefn sydd yn achub yn llawn yn dy enaid di. Y mae yn rhaid i'r gyfraith gael anrhydedd, Duw digllawn ei heddychu; nid wyt tithau yn alluog na thueddol i dalu, ac yn analluog i ddyoddef y felldith; gwell fyddai i ti gwympo i lawr, a dyweyd, nid, "Mi dalaf i ti y cwbl oll," fel y dyn yn yr efengyl; ond fel y publican, "O Dduw, bydd drugarog wrthyf fi bechadur;" yr wyf yn analluog i dalu, am hyny croesa y biliau ag inc coch Calfaria. "A phan nad oedd ganddynt ddim i dalu, efe a faddeuodd iddynt ill dau."

### Y BEDWAREDD BRIODOLEDD AR DDEG.

Y mae ffydd yn cyfoethogi ac yn llanw. Wrth arllwys dyn allan yn llwyr o'i bethau ei hun y mae yn ei wneyd yn gymhwys i dderbyn ei lonaid o Grist. Pan yr ydym yn ddim ynom ein hunain, yna y mae Crist yn cael ei wneyd yn bob peth. "Eithr yr ydych chwi o hono ef yn Nghrist Iesu, yr hwn a wnaethpwyd i ni gan Dduw yn ddoethineb, ac yn gyfiawnder, ac yn santeiddrwydd, ac yn brynedigaeth," 1 Cor. i. 30. Llestr i bob gras yw calon wag; ac y mae ffydd yn gwaghau fel y gallo lanw y llestr â Duw ei hunan. Yn ol fel y gwagheir y llenwir. Nid oes eisiau dim ar y rhai sydd yn Nghrist; ni byddant byth yn dlawd tra fydd Crist yn gyfoethog, ni byddant byth yn wag tra y mae efe yn llawn. "Nis gallaf fod yn dlawd," medd Bernard, "tra fyddo Duw yn gyfoethog; canys y mae ei holl gyfoeth ef yn eiddo i mi." "Canys o'i gyflawnder ef y derbyniasom ni oll a gras am ras." Y mae Crist yn ffynon, ond yn seliedig; y mae yn drysor, ond yn gloedig, i galon annghrediniol. Ffydd yw yr allwedd sydd yn datgloi trysordy y nefoedd; y mae yn myned i mewn ac yn cymeryd meddiant o holl drysorau gwybodaeth a doethineb Duw. Y mae Crist yn eiddo i ni trwy ffydd; y mae y cwbl sydd yn Nghrist wedi ei wneyd drosodd i'r enaid crediniol mewn addewid, ac y mae ffydd yn cymeryd *possession* o honynt. Yr holl drysorau mawrion, yr holl *stock* brynodd yr Iesu â'i waed, sydd wedi dyfod yn eiddo i ni trwy *deed of gift*. Nyni biau Crist yn ei berson, ei gyfiawnder, a'i holl oludoedd. Y mae ei gyfiawnder fel Cyfryngwr yn dyfod yn eiddo i ni trwy ffydd, er ein cyfiawnhau byth ger bron Duw. Nid ei gyfiawnder fel Duw, na'i gyfiawnder personol fel dyn; y mae y rhai hyn yn annghyfranogol; ond ei gyfiawnder cyfryngol, yr hwn a weithiodd allan i ni yn ei ufudd-dod gweith-

redol a dyoddefol. Y mae yn y cyntaf yn cyflawni ein dyledswyddau, a'r diweddaf yn dyoddef ein gofidiau; ac felly yn cyflawni holl ofyniadau Duw ar ein rhan. Y mae yn ein rhyddhau oddiwrth ddigofaint, ac yn rhoddi hawl i ogoniant. Y mae y cwbl o hyn wedi ei wneyd drosodd i ni mor sylweddol a phe buasai wedi ei wneyd genym ni ein hunain, ac yn llawer mwy effeithiol. Ni buasai ein hufudd-dod ni ond dynol, y mae yr eiddo ef yn ddwyfol; felly y mae y gyfraith yn cael mwy o anrhydedd yn ufudd-dod un Iesu Grist, na phe buasai yr holl fyd yn ufuddhau iddi. Yn awr nid ydym yn ufuddhau i'r dyben o gael ein cyfiawnhau trwy ein hufudd-dod; ond gan ein bod wedi ein cyfiawnhau, yr ydym yn ufuddhau: nid am fywyd, ond oddiar fywyd. Pan yr ydym yn ymbriodi â Christ, y mae efe a'r cwbl fedd yn dyfod yn eiddo i ni, a ninau a'r cwbl a feddom yn myned yn eiddo iddo yntau. Y mae ei waed, ei deilyngdod, ei Ysbryd, ïe, ei oll, yn ein perchenogaeth; y mae genym hawl gyfreithlon trwy ffydd yn y cwbl. Mae y pechadur yn dweyd, "Arglwydd, myfi oedd dy angau di, tithau yw fy mywyd inau; myfi oedd dy uffern di, tithau yw fy nefoedd i; fy mhechodau i oedd dy bechodau di, y rhai a ddygaist yn dy gorph ar y pren; dy gyfiawnder di yw fy nghyfiawnder i: 'Yr Arglwydd, fy nghyfiawnder.' Fy nhlodi i oedd dy dlodi di, a'th gyfoeth di yw fy nghyfoeth i." Eistedd i lawr, ac edrych ar yr holl gyfoeth sydd wedi ei haeddu a'i bwrcasu trwy waed Crist, ac yn dyfod trwy ffydd i dy ran.

Y mae ffydd nid yn unig yn rhoddi hawl i Grist a'i gyfoeth, ond meddiant a mwynhad yn y bywyd hwn. Yr ydym yn meddianu ac yn mwynhau Duw yn Nghrist trwy ffydd yr awr hon; a pha fodd y gallwn fod yn dlawd? Y mae yn wir fod ffydd yn dlawd ynddi ei hun, y tlotaf fe allai o'r grasau, heb ddim ond byw yn gyfangwbl ar eiddo arall. Yn gyfoethog ar gyfoeth un arall, yn bwyta bara un arall bob dydd; fel y mae Paul yn dywedyd am dano ei hun a'i gyfeillion: "Yn dlodion, ond yn cyfoethogi llawer; megys heb ddim genym, ond eto yn meddianu pob peth." Cael gafael ar Grist yw meddianu pob peth. Os ydych yn gyfoethogion mewn ffydd, nid ydych yn dlodion mewn santeiddrwydd. Y mae ffydd yn santeiddio. Y mae pob gras yn ol fel byddo y ffydd; os ffydd gref, cariad cryf, gostyngeiddrwydd mawr, a diwydrwydd diorphwys. Nid oes y fath beth a chredadyn cryf a christion gwan. Os bydd y ffydd yn gryf y mae pob

peth arall yn gryf; os yn wan, y mae cariad yn wan, gobaith yn wan, y cwbl yn wan. Y mae cyfartalwch rhwng pob gras a ffydd, yn debyg i'r ffynon a'r ffrydiau—y mae yn fam ras. "Gras i chwi, a thangnefedd a amlhaer, trwy adnabod Duw, ac Iesu Grist ein Harglwydd ni. Megys y rhoddes ei dduwiol allu ef i ni bob peth a berthyn i fywyd a duwioldeb, trwy ei adnabod ef, yr hwn a'n galwodd i ogoniant a rhinwedd," 2 Pedr i. 2, 3. Os ydych yn cynyddu mewn ffydd, yr ydych yn cynyddu mewn pob gras arall, ac os ydyw eich ffydd yn gwanhau ac adfeilio, y mae yr holl rasau yn llesgâu; y maent yn "barod i farw." Os bydd y gwreiddyn yn darfod, y mae yn rhaid i'r cangenau wywo. Credu yn Nghrist yw gwreiddyn pob peth crefydd. Y mae yn rhaid deall rhyw gymaint o'r efengyl cyn credu, ond y wybodaeth ar ol credu yw y berffeithiaf. "Yr ydym yn credu ac yn gwybod," ebe Ioan; yn gyntaf yn credu, ac yna yn gwybod. Cred fel y deallot. "Dysg fi, canys credais dy air." Nid fel y credwyf; yr wyf wedi credu, am hyny dysg fi. "Canys i ninau y pregethwyd yr efengyl, megys ag iddynt hwythau; eithr y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy, am nad oedd wedi ei gyd-dymheru â ffydd yn y rhai a'i clywsant," Heb. iv. 2. "Nis gallasent ddeall am nad oeddynt yn credu," ebe Augustine. Os mynwch ddysgu, rhaid i chwi gredu yn gyntaf. Y mae gwybodaeth o bethau i ryw fesur yn myned o flaen ffydd; ond y mae yr amgyffred goleu o honynt yn dylyn ffydd. Y mae y grefydd gristionogol yn rhyw luaws o gadwynau troellog o ddirgeledigaethau nefol: y mae cnawd yn dyrysu uwch eu penau; y maent yn mhell uwchlaw rheswm, fel nas gellwch ddeall yn iawn heb gredu. Os ydych yn chwilio am wybodaeth o egwyddorion crefydd cyn eu credu, yr ydych yn sicr o fethu; os ydych am ddeall beth ydyw ffydd, gweddiwch am nerth i gredu, canys nis gellwch byth gael amgyffrediad priodol heb wybod am ei gweithrediadau ynoch eich hunain. Y ffordd oreu i wybod yw cau eich llygaid eich hunain, caethiwo rheswm cnawdol, a chredu tystiolaeth Duw am ei Fab; yna y gwelwch ac y gwybyddwch.

Y mae y gronyn lleiaf o ras yn fwy o werth na holl oludoedd y byd. Mae heddwch yn deimlad yn y meddwl yn anmhrisiadwy. "Canys gwell yw dy drugaredd di na'r bywyd: fy ngwefusau a'th folianant," Sal. lxiii. 3. Bywyd yw trysor gwerthfawrocaf dyn yn y byd hwn: "Pob peth a

rydd dyn am ei einioes." Yr oedd y diafol yn iawn yn hyny; ond y mae "dy drugaredd di yn well na'r bywyd;" a thrwy ffydd yr ydym yn dyfod i feddiant o hyn. Mae yr enaid yn berl gwerthfawr; "a pha lesâd i ddyn os ynill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?" Rhoddir elw y byd, gan Grist, yn y fantol ar gyfer enaid anfarwol; *un* enaid, cofiwch, gogyfer y byd i gyd; un enaid un ochr i'r dafol, yr holl fyd yr ochr arall: y mae yr un enaid yn pwyso i lawr yr holl fyd o'r golwg. Beth gan hyny fydd dyn gwell o enill y byd a'r cwbl sydd ynddo, ar draul colli peth sydd yn fwy o werth ddeng myrddiwn o weithiau? Y mae yn enill rhy fach, ïe, anfeidrol rhy fach i wneuthur i fyny am y golled. O golled anwelladwy ac anadferadwy am byth! Gall dyn golli byd o gyfoeth, ac adenill eilwaith; ond enaid wedi ei golli fydd ar goll am dragywyddoldeb. Nis gellwch brynu doniau Duw ag arian, o herwydd diffyg pa rai y collir yr enaid am byth. "Bydded dy arian gyda thi i ddystryw:" y mae y doniau hyn yn werth mwy na deng mil o fydoedd. Mae ffydd, ebe Pedr, yn "werthfawrusach na'r aur colladwy." O, y goludoedd anchwiliadwy o ras y mae yr enaid yn feddianu trwy ffydd! Y mae Duw yn cyfranu y goludoedd eraill yn gymysgedig, fel y mae yn anhawdd gwybod cariad na chas wrthynt; mae gelynion Duw yn cyfranogi o honynt yn gystal a'i gyfeillion; ïe, hwy sydd yn cael y rhan oreu yn fynych. "A thua diwedd eu breniniaeth hwynt, pan gyflawner y troseddwyr, y cyfyd brenin wyneb-greulon, ac yn deall damegion. A'i nerth ef a gryfha, ond nid trwy ei nerth ei hun; ac efe a ddinystria yn rhyfedd, ac a lwydda, ac a wna, ac a ddinystria y cedyrn a'r bobl santaidd. A thrwy ei gyfrwysdra y ffyna ganddo dwyllo; ac efe a ymfawryga yn ei galon, a thrwy heddwch y dinystria efe lawer, ac efe a saif yn erbyn Tywysog y tywysogion: ond efe a ddryllir heb law. Paham y mae annuwiolion yn byw, yn heneiddio, ac yn cryfhau mewn cyfoeth? Cyfiawn wyt, O Arglwydd, pan ddadleuwyf â thi: er hyny ymresymaf â thi am dy farnedigaethau: paham y llwydda ffordd yr anwir, ac y ffyna yr anffyddloniaid oll?" Dan. viii. 23—25; Job xxi. 7; Jer. xii. 1.

Gall Dives fod yn fwy goludog, Saul yn fwy mewn awdurdod, Agrippa yn fwy ardderchog ei wisgoedd na phlant anwyl Duw; ond bendigedig, y mae goludoedd gras yn anfeidrol mwy gwerthfawr na chyfoeth Dives, awdurdod breninol Saul, ac na holl wychder Agrippa; a dyma "etifeddiaeth y sawl

a'i ofnant." Eled yr hen ddaear yn chwilfriw, a dyna ddiwedd arni; bendigedig, dyma "olud gwell, ac un parhaus." Rhoddodd Abraham ranau i feibion ei ordderch-wragedd ar eu danfoniad ymaith; ond i Isaac y rhoddodd y cwbl ag oedd ganddo. Y mae yr etifeddiaethau a phob cyfoeth daearol mewn perygl o'u colli. Gall dyn fod yn gyfoethog heddyw ac yn dlawd yfory, fel Job: "Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a gymerodd ymaith;" y ddau bron ar un anadl. Maent yn "cymeryd adenydd, ac yn ehedeg fel eryr i'r awyr." Diolch am olud gras, golud tragywyddol, golud parhaus, golud gwell. Mae y ffynon yn y nefoedd, a'r sylfaen yn Nghrist. "Bywyd wedi ei guddio gyda Christ yn Nuw." Y mae wedi ei guddio yn ddirgel er dyogelwch. Bendigedig! beth bynag ddaw o'r byd y mae y bywyd yn ddyogel. "Ni bydd colled am einioes neb" sydd yn Nghrist Iesu. Pe byddai y byd a'i bethau yn parhau, nis gallai wneyd dim lles i ni yn nydd digofaint. Nid yw yn gallu dy waredu yn awr rhag clefyd nac angau, gan hyny beth dâl hwn at ddydd digofaint? Y mae yn methu lleihau dy ofidiau yma; a pha fodd y gall bwrcasu dafn o ddwr yn y llyn tanllyd tragywyddol, lle y mae dyferyn yn werth mwy na byd? Pa lesâd yw y winllan i Ahab yn uffern? Beth yw Dives gwell o'i gyfoeth mewn fflamiau? Beth sydd gan Judas i ddangos yn y ffwrnes danllyd am ei ddeg ar ugain arian? Beth yw Agrippa wedi ynill wrth wisgo y dillad rhwysgfawr, ac yn awr yn noeth am dragywyddoldeb, yn llosgi fel gloyn ond heb ei ddifa? Beth yw yr ynfytyn cyfoethog gwell o'i ysguboriau llawnion mewn newyn difaol yn nhragywyddoldeb? Ah, yn uffern nid oes dim yn llesâu; canys nid diffodd y fflam, ond olew i'w henyn yn oes oesoedd ydyw y cwbl. Dewch at y golud gwell, fy nghyfeillion, goludoedd anfeidrol gras; y mae hwn yn cynal mewn clefyd, yn *gordial* i'n heneidiau pan yr ydym yn llesmeirio, yn ein gwaredu yn angau ac yn nydd digofaint, ac yn ein galluogi i godi ein penau mewn llawenydd, a hyfder yn nydd y farn, pan y bydd y bydol-ddyn yn crynu o flaen y Barnwr, ac yn galw ar greigydd a mynyddau i'w guddio. Y credadyn yw y dyn tlotaf a chyfoethocaf ar y ddaear; yn dlawd ynddo ei hun, a chyfoethog yn Nghrist. Os yw Crist yn eiddo i ti, mae y ddaear, y nefoedd, uchder a dyfnder, Duw, a gogoniant; ïe, y cwbl, ti biau y cyfan, os gelli gredu.

Y mae ffydd mewn gweithrediad ar Grist yn codi yr enaid i fyny o farwolaeth pechod. "A chwithau a fywhaodd efe, pan oeddych feirw mewn camweddau a phechodau," Eph. ii. 1. Yr ydym wedi ein geni yn feirwon, heb un symudiad na chyffroad at bethau ysbrydol. Yr ydym fel y meirwon, heb nerth i wneyd dim; nid oes genym deimladau ysbrydol o bwys a chanlyniad pechod, gwerth trugareddau, na difrifoldeb barnau bygythiedig. Mae amddifadrwydd o ddymuniadau am bethau ysbrydol, ac o serch atynt. Nid yn unig y mae diffyg bywyd ysbrydol, ond hefyd y mae pob drygioni yn bresenol; "gweithredoedd meirwon," fel y dywed yr apostol yn Heb. ix. 14. Nid yn feirw fel ceryg, deallwch; byddai yn wrthddywediad i son am "weithredoedd meirwon," pe na bai ond amddifadrwydd i fywyd ysbrydol, ac heb ddim drwg ynom. Mae yn rhaid cael rhyw beth cryf i'ch codi i fywyd ysbrydol o farwolaeth pechod. Ffydd yn ei waed sydd yn gwneyd hyn; y mae ffydd yn fywyd ac adgyfodiad mewn gweithrediad ar Grist; yn codi yr enaid allan o farwolaeth pechod i fywyd ysbrydol, bywyd o gyfiawnder a santeiddrwydd.

Mae yr holl rasau yn dylyn ffydd, neu yn codi yn uniongyrchol o natur ei gweithrediadau. Mae Calfin yn dywedyd, Ffydd sydd yn cenedlu edifeirwch; nid yn unig y mae edifeirwch yn canlyn ffydd, ond y mae yn codi yn uniongyrchol allan o ffydd. Mae rhai yn dywedyd fod cymaint o wahaniaeth rhwng ffydd a santeiddhad ag sydd rhwng achos ac effaith: y mae hi yn offerynol mewn cyfiawnhad, ac yn effeithydd santeiddhad. Galwedigaeth sydd yn cynyrchu ffydd, a ffydd yn cynyrchu santeiddrwydd, yn mhob ymarferiad. Mae eraill yn gwneyd ffydd a santeiddhad yr un peth. Ffydd yn aelod o'r dyn newydd, ac nid yn effeithydd y grasau eraill; megys cariad, edifeirwch, ac amynedd. Ond yr wyf yn credu mai yr Ysbryd yw unig achos ffydd, a ffydd yw yr effaith o weithrediad yr Ysbryd Glân. Y mae ffydd eilwaith yn gweithredu ac yn effeithio pethau eraill, a phan y byddo y pethau hyn yn gweithredu, y mae ffydd nid yn unig yn rhoddi benthyg llaw i'w chyfeillion i'w tynu at berffeithrwydd, ond hefyd yn cynorthwyo ac yn cynyrchu gweithrediad yn yr holl rasau. Y mae holl aelodau y dyn newydd yn ymffurfiad ar unwaith, ond y mae rhyw flaenoriaeth, o ran trefn, yn cael ei briodoli i ffydd. Mae ffydd yn y galon yn deimlad i dderbyn argraff briodol oddiwrth bob peth,

yn llygad i ganfod Crist fel Gwaredwr, ac yn draed i redeg ato. Fel y mae y Tad o flaen y Mab mewn trefn, nid o ran amser, felly y mae ffydd yn blaenori y grasusau eraill.

Ffydd sydd yn codi yr enaid i fyny o farwolaeth gofidiau tu fewnol i deimlad o gariad Duw, yr hyn sydd megys "bywyd o feirw." "Canys enyd fechan y bydd yn ei lid; yn ei foddlonrwydd y mae bywyd: dros brydnawn yr erys wylofain, ac erbyn y boreu y bydd gorfoledd," Sal. xxx. 5. Y mae teimlad o'i anfoddlonrwydd yn angau i'r enaid. "Ai i'r meirw y gwnai ryfeddod? a gyfyd y meirw a'th folianu?" Sal. lxxxviii. 10. Mae y Salmydd yn siarad am annghysur ysbrydol, o dan wg a chuddiad wyneb Duw, ac yn galw hyny yn farwolaeth. A all fy enaid, sydd yn suddo o dan dy anfoddlonrwydd, gyfodi i'th folianu? Yr wyf wedi marw, ac wedi fy nghladdu mewn trueni; pa fodd y gallaf godi? Mae synwyr a theimlad yn suddo yr enaid yn ddyfnach, dyfnach i'r pwll-tro o ofidiau. Synwyr, eistedd i lawr; ffydd, tyred yn mlaen; canys y cyffyrddiad lleiaf o honot ti â'r addewid gyfyd fy enaid i'r lan, ac a'i adnewydda mewn moliant. "A dywedais, Dyma fy ngwendid; eto cofiaf flynyddoedd deheulaw y Goruchaf. Cofiaf weithredoedd yr Arglwydd; ïe, cofiaf dy wyrthiau gynt," Sal. lxxvii. 10. O ffydd werthfawr, sydd yn gweithredu y fath ryfeddodau mawrion ar darawiad amrant! Pan y byddo dyn mewn *fainting fits*, y mae un dracht o *gordial* yr addewid yn ddigon i'w adfywio, a'i godi o'r llwch a'r lludw. Diolch! Gogoniant am y drefn! A wyddoch chwi, fy nghyfeillion? y mae un *dram* o ffydd yn ddigon i'w osod ar ei draed, ei gynorthwyo i neidio a molianu Duw.

Y mae ffydd yn cael anadl weithiau wrth edrych yn ol ar hen brofiadau. "Ystyriais y dyddiau gynt, blynyddoedd yr hen oesoedd. Cofio yr ydwyf fy nghân y nos: yr ydwyf yn ymddyddan â'm calon; fy ysbryd sydd yn chwilio yn ddyfal. Ai yn dragywydd y bwrw yr Arglwydd heibio? ac oni bydd efe boddlon mwy?" Sal. lxxvii. 5—7. Hen brofiadau o gariad a thrugaredd Duw gynt sydd yn symbylu ffydd i weithrediad. Mae ffydd, yn yr olwg arnynt, yn gwaeddi ger bron Duw, "Dyma yr hen fodrwyau, yr hen wystlon, yr hen ernes, yr hen arwyddion fod rhywbeth wedi bod rhyngof a thydi cyn heddyw. Ti a'm codaist i dy gerbyd, ac a ymddyddenaist yn gyfeillgar â mi cyn hyn, yr amser a'r amser, ac yn y lle hyn a'r lle. 'Eisteddais o dan ei gysgod, a'i ffrwyth

oedd felus i'm genau. Efe a'm dyg i'r gwin-dy, a'i faner drosof ydoedd gariad.' A thro arall, ar ol tywyllwch hir, y mae yn tori i mewn i fy enaid ac yn egluro ei hun yn Dad cymodol, yn rhoddi arwydd o'i gariad, yn dyfod i swpera gyda mi, yn rhoddi y gareg wen a'r enw newydd, gan ail amlygu ei ffafr." Fel hyn y mae ffydd yn cynyrchu profion ychwanegol o gariad a thrugaredd Duw at yr enaid wrth ymgyrchu at brofiadau blaenorol, ac yn eu defnyddio fel rhesymau i godi yr enaid allan o'r sefyllfa dywyll hon. Y mae ffydd yn dywedyd, "Os unwaith yn Dad, Tad am byth; nid gelyn mwy." Yr ydym ni yn cyfnewid; efe sydd annghyfnewidiol. Gall ei oruchwyliaethau gyfnewid, ond nid ei galon; ei ymddangosiadau allanol, nid ei drugareddau. Y mae efe wedi cyhoeddi pardwn; ni eilw hyny yn ol byth, gan ei fod wedi dyfod allan o'i enau. Fe allai y cymer efe ymaith lawenydd a gorfoledd, ond nid iachawdwriaeth; os unwaith yr egyr efe ei ddwylaw, ni wna byth eu cau.

Mae yr addewidion yn gynaliaethol i ffydd; ac y mae yn edrych atynt, ac yn ymnerthu ynddynt. "Canys nid byth yr ymrysonaf, ac nid yn dragywydd y digiaf: o herwydd yr ysbryd a ballai o'm blaen i, a'r eneidiau a wnaethum i. Am anwiredd ei gybydd-dod ef y digiais, ac y tarewais ef: ymguddiais, a digiais, ac efe a aeth rhagddo yn gildynus ar hyd ffordd ei galon. Ei ffyrdd a welais, a mi a'i iachaf ef: tywysaf ef hefyd, ac adferaf gysur iddo, ac i'w alarwyr. Mewn ychydig soriant y cuddiais fy wyneb oddiwrthyt enyd awr; ond â thrugaredd tragywyddol y trugarhaf wrthyt, medd yr Arglwydd, dy Waredydd. Canys fel dyfroedd Noe y mae hyn i mi: canys megys y tyngais nad elai dyfroedd Noe mwy dros y ddaear, felly y tyngais na ddigiwn wrthyt, ac ni'th geryddwn. Canys y mynyddoedd a giliant, a'r bryniau a symudant: eithr fy nhrugaredd ni chilia oddiwrthyt, a chyfamod fy hedd ni syfl, medd yr Arglwydd, sydd yn trugarhau wrthyt," Esay vii. 16; liv. 8—10.

Nid yw ffydd yn edrych cymaint ar wyneb Duw ag ar ei addewidion. Gall fod gwg ar ei wyneb, ac eto sicrwydd yn ei addewidion. Nid yw yn edrych ar ei law, ond ar ei galon: gall fod gwialen yn ei law, a chariad yn llon'd ei galon. Nid ydym i benderfynu bob amser wrth ymddygiadau allanol; rhaid myned i mewn trwy ffydd at dynerwch ei galon: nid edrych ar ei ragluniaeth, ond ei addewidion.

Y mae ffydd yn treiddio at sylfaeni cysur a dyddanwch, pan

nad yw pethau yn ymddangos yn obeithiol ar y wyneb. Y mae wyneb Duw yn cyfnewid, fel yr ydym ni yn cyfnewid; yn awr yn gwenu, ac yn mhen ychydig yn gwgu. Y mae synwyr yn edrych ar yr allanol; ffydd sydd yn myned yn uniongyrchol at galon Duw, ac yn canfod calon dawel a thangnefeddus y tu hwnt i wyneb gwgus; gwenau tu mewnol o dan sarugrwydd allanol, arwyddion tu mewnol o gariad o dan arwyddion allanol o anfoddlonrwydd. Yr oedd gan Joseph deimladau brawd yn llechu o dan ymddangosiadau allanol gelyn; yn gallu gwisgo wynebpryd digllawn, ond calon dyner a hawddgar y tu hwnt. Y mae Duw felly yn fynych; yn gwisgo wyneb digllon, ac eto calon dyner Tad yn llechu dan y fron. Mae ffydd, gan hyny, yn myned heibio y ffurf allanol at y galon yn yr addewidion. Ni welwn Dafydd mewn sefyllfa ofidus wedi colli wyneb Duw, a'i adael gan ei Ysbryd heb un cysur; y mae yn ceisio tynu dyddanwch o lawer ffynon, ond y mae yn eu cael oll yn sychion; yn "bydewau toredig." Ceisiodd gofio y blynyddoedd gynt, ond yn methu cael dwfr; nid oedd dim yn llifo y ffordd hono yn awr. O'r diwedd y mae yn ffoi at yr addewidion, heibio i bob peth, ac yno, yn nghanol ystormydd ac adfyd mawr, yn cael dyddanwch. "Fy enaid sydd yn dysgwyl am yr Arglwydd yn fwy nag y mae y gwylwyr am y boreu. Dysgwylied Israel am yr Arglwydd: o herwydd y mae trugaredd gyda'r Arglwydd, ac aml ymwared gydag ef. Ac efe a wared Israel oddiwrth ei holl anwireddau," Sal. cxxx. 6—8.

Y mae ffydd yn edrych ar sefydlogrwydd a chadernid y cyfamod tragywyddol a'r addewid gadarn, ac yn tynu nerth a chysur yn y gorthrymderau mwyaf. "Eto dywedodd Sïon, Yr Arglwydd a'm gwrthododd, a'm Harglwydd a'm hannghofiodd. A annghofia gwraig ei phlentyn sugno, fel na thosturio wrth fab ei chroth? ïe, hwy a allant annghofio, eto myfi nid annghofiaf di. Wele, ar gledr fy nwylaw y'th argreffais; dy furiau sydd ger fy mron bob amser," Esay xlix. 14, 15. Y mae dyn, pan yn suddo i'r dwfr a bron boddi, yn ymdrechu am afael ar rywbeth i achub y bywyd; ac os llwydda i gael gafael ar unrhyw beth uwchlaw yr elfen, y mae yn ymgodi wrtho. Ffydd yw y llaw sydd yn ymaflyd yn Nghrist pan y mae yr enaid yn suddo mewn dyfroedd mawrion, ac yn codi i fyny wrtho uwchlaw y don. Y tarawiad lleiaf wrth Grist a gwyd enaid o'r dyfnder i'r lan, ac a'i tyn allan o bob tywyllwch. "Mi a ddaethum yn oleuni i'r byd, fel y byddo

i bob un a'r sydd yn credu ynof fi, nad aroso yn y tywyllwch," Ioan xii. 46. Pan y claddwyd dyn yn meddrod Eliseus, efe a ddaeth yn fyw drachefn wrth ddyfod i gyffyrddiad ag esgyrn y prophwyd. "A phan aeth y gwr i lawr, a chyffwrdd ag esgyrn Eliseus, efe a ddadebrodd, ac a gyfododd ar ei draed," 2 Bren. xiii. 21. Dewch ag enaid marw mewn camwedd a phechod i gyffyrddiad â chorph marw a chroeshoeliedig yr Arglwydd Iesu trwy ffydd, efe a gyfyd i fyny, ac a ddadebra am dragywyddoldeb. Mae y fath rinwedd yn Nghrist, fel y mae y cyffyrddiad lleiaf ag ef yn fywyd tragywyddol. Efe a gododd ei hunan, am hyny y mae yn sicr o godi ei holl aelodau: pe buasai ein Pen eto o dan y dwfr, buasem wedi trengu cyn hyn, a byddem yn sicr o drengu byth; ond y mae efe wedi codi, am hyny cyfyd yr aelodau hefyd. Gan iddo ddyweyd y gair, "Byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd," mae ffydd yn pwyso yn llwyr ar annghyfnewidioldeb yr hyn a ddaeth allan o'i enau. "Canys myfi yr Arglwydd ni'm newidir; am hyny ni ddyfethwyd chwi meibion Jacob," Mal. iii. 6. Dyma hen law-ffon Abraham i gerdded i ben Moriah. Abertha dy fab i mi, medd yr Arglwydd; a dacw yntau yn myned, gan bwyso ar hen law-ffon annghyfnewidioldeb Duw, yn erbyn gobaith. "Gan gyfrif bod Duw yn abl i'w gyfodi ef o feirw; o ba le y cawsai ef hefyd mewn cyffelybiaeth," Heb. xi. 19. Yr oedd y gwahanglwyfus yn medru pwyso ar y *gallu*, pan nad oedd yn gallu gwneyd dim gyda golwg ar yr *ewyllys*. "Os myni, ti a elli fy nglanhau i." Y mae yr Iesu bendigedig yn egluro iddo yn fuan fod yr ewyllys yn llawn cymaint â'r gallu. "Mynaf, (eb efe) glanhaer di. Ac yn y fan ei wahan-glwyf ef a lanhawyd," Mat. viii. 2, 3.

Y mae ffydd yn dadleu ger ei fron holl briodoliaethau Duw yn Nghrist, ac yn tynu cysur o honynt oll, yn nghanol gorthrymderau y bywyd hwn. Mae annghrediniaeth yn dywedyd, "Pechadur mawr ydwyf, pa fodd y gellir fy ngwaredu?" Y mae ffydd yn llefain allan, "Ië, ond bendigedig, mi welaf Grist mawr hefyd. Os ydwyf yn druenus, y mae efe yn drugarog; os ydwyf yn haeddu marwolaeth, y mae efe wedi haeddu bywyd i filoedd: os ydwyf yn haeddu uffern, y mae efe wedi teilyngu nefoedd; am hyny, Arglwydd, cofia dy drugareddau dy hun, ac annghofia fy holl bechodau inau." Y mae ffydd yn cymeryd Duw ei hun yn rheswm am waredigaeth, ac yn gweithio ei hun allan o ofidiau wrth siarad ag

ef am dano ei hun. "Er mwyn dy enw mawr, er dy fwyn dy hun, er mwyn dy Fab, er mwyn dy Ysbryd, er mwyn dy holl briodoliaethau. Ië, Arglwydd, yr wyf yn pledio fy nhrueni ger bron dy drugaredd, fy ngwendid ger bron dy allu, fy annheilyngdod ger bron dy ras, fy anwybodaeth ger bron dy ddoethineb, fy ngwrthnysigrwydd ger bron dy amynedd; ïe, fy ngwagder ger bron dy holl-ddigonoldeb." "Tyn dy bla oddiwrthyf; gan ddyrnod dy law y darfum i. Pan gospit ddyn â cheryddon am anwiredd, datodit fel gwyfyn ei ardderchogrwydd ef: gwagedd yn ddiau yw pob dyn. Gwrando fy ngweddi, Arglwydd, a chlyw fy llef; na thaw wrth fy wylofain: canys ymdeithydd ydwyf gyda thi, ac alltud fel fy holl dadau," Sal. xxxix. 10—12. Nesewch at Dduw yn nerth Duw ei hun, nis gall efe, ac nis myn efe wrthwynebu ei hun; ymdrechu yn erbyn ei drugaredd ei hun, gwrthsefyll ei Ysbryd ei hun, a gwadu ei Fab ei hun. Yr wyf yn cofio darllen am ddyn wedi troseddu yn erbyn ei frenin, ac wrth ddyfod i'r llys i dderbyn ei ddedryd, ymaflodd y troseddwr yn mhlentyn ei fawrhydi, yr hwn oedd yn yr ymyl, ac a'i daliodd yn ei freichiau, a gwaeddodd, "Er mwyn y tywysog, arbed fy mywyd." Toddodd calon y brenin wrth weled ei fab yn ei freichiau, a gwaeddodd, "Yr wyf yn dy ryddhau er mwyn y tywysog." Cerddwch â'r Mab yn mreichiau eich ffydd at y Tad, y Barnwr cyfiawn; nis gall, ac ni ewyllysia byth daro â Christ yn dy freichiau. Y mae annghrediniaeth yn suddo yr enaid a'i ddal dan y dwfr, ac yn ei gladdu mewn trueni; ond y mae ffydd yn ei fywhau, ac yn ei godi i fyny. Ni chaiff yr enaid crediniol fod byth mewn gofidiau, os gall grym, doethineb, gwirionedd, a thrugaredd Duw ei ddwyn allan. Chwareu teg i ffydd; caffed ei pherffaith waith, yna y mae yn sicr o fywhau dy enaid, a'i godi o'r dyfnder i fyny.

### YR UNFED BRIODOLEDD AR BYMTHEG.

Y mae ffydd yn dwyn cysur a dyddanwch yn yr amddifadrwydd o bob peth arall. Os daw ffydd â sicrwydd i'r enaid fod Duw yn Nghrist yn eiddo iddo byth, beth all annghysur ryw lawer wedi hyny? Y mae hi yn cynorthwyo i ddarllen enw newydd wedi ei ysgrifenu yn y nef, myrddiynau o feiau wedi eu maddeu, a Duw digllawn gynt mewn perffaith gymod yn awr. Pa enaid ag sydd yn gallu darllen y pethau hyn na lama o lawenydd yn nghanol gorthrymder y byd hwn? Y mae pob llawenydd arall yn ynfydrwydd; cnawdol ydyw,

nid ysbrydol; allanol, nid tu mewnol; wedi ei liwio, nid gwirioneddol; yn ddychymygol, nid yn sylweddol; yn anfoddhaol, nid yn ddigonol; yn ansefydlog, nid yn ddianwadal. Y mae y goreu yn dwyllodrus; llewygfeydd penboeth ydynt, gweledigaethau dychymygol. ac nid gorfoledd sylweddol. Ysbrydol yw llawenydd yr Arglwydd, tu mewnol, yn ein calonau, yn rhoddi cyflawn foddhad, ac yn aros yn dragywydd. Os collir ei deimlad ambell waith, goddiweddir ef wedi hyny: "Goddiweddant lawenydd a hyfrydwch, galar a thristwch a ffy ymaith." "Fy llawenydd ni ddwg neb oddiarnoch." Bendigedig, y mae y briwsionyn hwn yn werth mwy na gwleddoedd mawrion y byd; y lloffyn hwn yn fwy o werth na chynhauaf llawn yr annuwiol, y dyferyn lleiaf o'r llawenydd hwn yn fwy na môr o ddigrifwch cnawdol; gwlithyn o'r nefoedd newydd yn cynwys mwy o ireidd-dra na ffrwd gyfan o wlybyroedd y cnawd. "Am hyny, gan ein bod wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, y mae genym heddwch tuag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist. Trwy yr hwn hefyd y cawsom ddyfodfa trwy ffydd i'r gras hwn, yn yr hwn yr ydym yn sefyll, ac yn gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw. Ac nid felly yn unig, eithr yr ydym yn gorfoleddu mewn gorthrymderau. A Duw y gobaith a'ch cyflawno o bob llawenydd a thangnefedd gan gredu, fel y cynyddoch mewn gwybodaeth trwy nerth yr Ysbryd Glân," Rhuf. v. 1, 2; xv. 13. Pan y byddo ffydd wedi codi mewn teimlad i *sicrwydd*, y mae llawenydd yn blodeuo ac yn ffrwytho y pryd hwnw; tymhor ffrwyth ydyw, cynhauaf y grawnwin, canol haf, cysur cryf.

Y mae ffydd yn fyw yn y gauaf; y mae bywyd yn y gwreiddyn, pan nad oes blodau ar y brig; a chan fod yno fywyd, y mae yn sicr o dori allan ryw bryd. Nis gall croesau, tlodi, carcharau, ac erledigaethau byth ein difeddianu o'r llawenydd hwn. Y mae dyoddefiadau yn ei gynyddu; canys fel y maent hwy yn amlhau, y mae tangnefedd a chysur yn helaethu; fel pe tarddai llifogydd o lawenydd allan o ffrydiau gorthrymderau. Pan y mae y dyn mewn rhwymau, gofidiau, clefyd, tlodi, aflwyddiant, newyn, a noethni, y mae ffydd yn dyfod â *chordials* o le arall sydd yn fil gwerthfawrocach na'r byd i gyd. Y mae hi fel ffenestr, yn gollwng llewyrchiadau yr haul i mewn, haul mwy gwerthfawr na'n haul ni; "haul cyfiawnder a meddyginiaeth yn ei esgyll;" pelydrau cariad Duw, y rhai ydynt nid yn unig yn goleuo,

ond hefyd yn cynesu. "Er i'r ffigysbren na flodeuo, ac na byddo ffrwyth ar y gwinwydd; gwaith yr olewydd a balla, a'r maesydd ni roddant fwyd; torir ymaith y praidd o'r gorlan, ac ni bydd eidion yn y beudai: eto mi a lawenychaf yn yr Arglwydd, byddaf hyfryd yn Nuw fy iachawdwriaeth. Yr Arglwydd Dduw yw fy nerth, a'm traed a wna efe fel traed ewigod; ac efe a wna i mi rodio ar fy uchel-leoedd," Hab. iii. 17—19. Er i ddiluw o aflwyddiant foddi ei holl gysuron allanol, nid ydoedd yn ddigysur wedi hyny; yr oedd ganddo Dduw ynddo drachefn. "Ond och!" medd rhai o honoch, "pwy sydd mwy prudd na chredinwyr? a pha fodd y gellwch ddywedyd fod ffydd yn ras mor gysurol?" Aroswch, cymerwch bwyll cyn rhoddi eich barn; nid ydych chwi yn gallu amgyffred y mater hwn. Y mae y saint yn gorfoleddu pan nad yw yr annuwiol yn medru ei ganfod; y mae uwchlaw gwybodaeth y dyn sydd yn ei feddianu, chwaithach dydi. Mae yn cael ei adnabod, mor bell ag y mae i'w adnabod, wrth ei brofi; wrth ei deimlo yr ydys yn gwybod. Nid yw y dyeithr i'r teimladau yn gallu barnu, ac ni ŵyr pa un ai gorfoleddus ai galarus yw y saint. Gall cystuddiau eu gwneyd yn annghysurus am dymhor, ond mewn amser dyfodol bydd y cysuron yn helaethach o herwydd y cystuddiau. Mae pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw. Y mae ein calonau wedi glynu gormod wrth y creaduriaid, a phan yr ydym yn eu colli yr ydym yn ymdeimlo yn druenus. Lle y mae gwir lawenydd ysbrydol nid yw colli pethau naturiol yn effeithio cymaint; y mae pethau sydd fwy yn aros. Mae genych sylfaen llawenydd eto, wedi colli y cwbl o bethau y ddaear: collasoch eich da, ond y mae eich Duw genych. Os nad ydych yn gwneyd Duw o'r creaduriaid, nis gellwch byth golli eich Duw wrth eu colli hwy; am hyny y mae sail cysur yn parhau tra y mae efe yn eich meddiant. Dysgodd Paul foddlonrwydd yn mhob sefyllfa. Y mae rhai yn ymdrechu â themtasiynau diafol o dan guddiadau wyneb Duw; nid oes yr un sefyllfa yn y byd gynddrwg a hono: heb seren yn y nos, a'r haul o dan ddiffyg cyflawn, heb gymaint ag un cysur; pob dyddanwch megys wedi ffoi, a'r enaid wedi suddo i ddwfn dristwch. Yr oedd croesau a cholledion Job yn fawr, ond dim at golli wyneb Duw. Yn llewyrch ei wyneb cododd ei ben uwchlaw iddynt oll, a chanodd ar y domen. Colli wyneb Duw sydd yn suddo i dywyllwch y bedd.

Y mae ein gofidiau yn codi, nid oddiwrth ein ffydd, ond ein hannghrediniaeth; nid oddiwrth ein credu, ond ein hannghredu, a'n methu credu. Ond i chwi fyw ychwaneg i Grist nag i hunan; byw trwy ffydd, nid teimladau dynol; byddwch yn rhodio yn mharadwys yr addewidion, ac yn cael ffrwyth toreithiog, pan nad oes ond drain ac ysgall yn anialwch y byd. Pa fwyaf y gellir ymddiried yn yr addewidion, lleiaf yw y gofidiau. Mae ffydd yn dyfod â Christ yn ei holl gyflawnder i mewn i'r enaid; yn dyfod â'r nefoedd i mewn, a holl lawenydd dy Arglwydd. A ydyw hyny yn rhy fach i dy wneyd yn gysurus, pe darfyddai y cwbl arall sydd yn y byd? Nac ydyw. "Mi a lawenychaf yn yr Arglwydd, byddaf hyfryd yn Nuw fy iachawdwriaeth," ar ben y domen. Y mae prawf o gariad Duw yn ddigon cryf i yru allan bob trueni am byth. Nid wyf yn esgusodi dull ceintachlyd, annghysurus, a theimladau drwg; y maent i'w beio; y maent yn ddiraddiad o Dduw da; yn rhwystro eraill i rodio yn ffyrdd Duw; canys y mae sail ddigonol i ymgysuro yn mhob sefyllfa mewn pethau wedi eu derbyn neu wedi eu haddaw; mewn llaw neu mewn gobaith, mewn mwynhad neu mewn addewid. Peidiwch a rhoddi gofidiau arnoch eich hunain; nid oes dim a fyno Duw â hwynt. Mae seiliau galar y credadyn yn cael eu condemnio ger bron gorsedd rheswm. Dere â hwynt yn y blaen bob un: beth yw sail dy alar yn awr? Ai galaru yr wyt am dy bechodau gynt? Mae Duw wedi eu maddeu hwynt oll; ni ddaw byth â hen euogrwydd ar y gydwybod am hen bechodau y mae efe wedi symud ymaith; codi oddiwrth y meirw yr hyn y mae efe ei hun wedi ei gladdu, rhwymo eto yr hyn y mae efe wedi ei ollwng yn rhydd, a chondemnio eto yr hwn y mae efe wedi ei gyfiawnhau. Y mae yn ddigon i ti fod yn dyst yn dy erbyn dy hun, nid yn farnwr. "Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhau; pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr hwn a fu farw; ïe, yn hytrach yr hwn a gyfodwyd hefyd, yr hwn hefyd sydd yn eiriol drosom ni." Ai yn dy anmherffeithiau, cnawdolrwydd, diffyg gwres, y mae sail dy annghysur? Cofia, y mae Duw yn cuddio y rhai hyn, ac yn myned heibio iddynt; os ffaeleddau ydynt. "Ac efe a eistedd fel purwr a glanhawr arian: ac efe a bura feibion Lefi, ac a'u coetha hwynt fel aur ac fel arian, fel y byddont yn offrymu i'r Arglwydd offrwm mewn cyfiawnder. Yna y bydd melus gan yr Arglwydd Judah a Jerusalem, megys yn y dyddiau gynt," Mal. iii. 3, 4.

Ai gorthrymderau yw sail dy annghysur? "Y mae pob peth yn cyd-weithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw." Pe gwelit law Duw ynddynt, achos o lawenydd ac nid galar fyddai yn yr holl amgylchiadau hyn. Y mae Duw yn adnabod dy ddybenion, yn canfod daioni ynddynt, ac yn eu gweithio hwynt allan i'r byd trwy brofedigaethau.

Y mae llawer wedi meddianu sicrwydd trwy brofedigaethau. Y maent yn dwyn ffydd, amynedd, a'r holl rasau eraill i ymarferiad, ac felly yn eu cynyddu. Y mae eisiau *exercise* ar ras; ac y mae Duw yn gorfod rhoi gwaith i chwi, a'ch gyru ato, onide byddech yn rhy bwdr i ddim. "Fel y caffer profiad eich ffydd chwi, yr hwn sydd werthfawrusach na'r aur colladwy, cyd-profer ef trwy dân, er mawl, ac anrhydedd, a gogoniant, yn ymddangosiad Iesu Grist," 1 Pedr i. 7. Dim profedigaethau, dim amynedd; y mae yn rhaid i'r gras hwn ymddysgleirio yma, onide ni welir ef o gwbl; oblegyd yn y nefoedd nid oes dim croesau, ac nid yw y gras hwn yn dangos ei wyneb ond o dan groesau. Yr wyt ti yn gweled y wialen, ac yn meddwl mai ti sydd yn cael dy guro, ac yr wyt yn cwyno yn chwerw; ond y mae y fraich sydd yn ei defnyddio yn dinystrio pechod yn dy galon, yn dy wneyd dithau yn fwy gostyngedig, ac yn fwy dyfal a difrifol mewn gweddi. Edrychwch ar gadernid y cyfamod a'r addewid, yn yr amddifadrwydd o bob creadur, ac yn mhresenoldeb y profedigaethau chwerwaf; chwi gewch "gysur cryf mewn pethau dianwadal." Y mae ei ymwneyd â thi yn oruchwyliaeth Tad tirion tuag at ei blant, mewn cariad a thrugaredd i gyd. Os yw Duw yn ymddwyn atoch mewn cariad, gorfoleddwch; er fe allai fod y gorthrymderau yn fawr. Gwelwch Dafydd yn rhoddi meddyginiaeth i'w enaid pan yn wan ac eiddil, yn mron methu anadlu; ac y mae yn cytuno ag ef yn dda iawn hefyd. Y mae yn gwella, y mae yn codi ar ei draed, y mae yn cerdded, y mae yn rhedeg trwy y fyddin, y mae yn esgyn yn ddirwystr at Dduw. Gwrandewch: dyma y *ddose* y mae yn roddi i'w enaid: "Paham y'th ddarostyngir, fy enaid? a phaham y terfysgi ynof? gobeithia yn Nuw; canys eto y molianaf ef, sef iachawdwriaeth fy wyneb, a'm Duw," Sal. xlii. 5. Ymarferwch i ymddiried, ac y mae pob anymddiried yn ffoi. Pan trwy ffydd y canfyddir yr addewidion, nid ydyw y croesau mwyaf yn drymion, "Canys ein byr ysgafn gystudd ni sydd yn odidog ragorol, yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant i ni. Tra na byddom yn edrych ar

y pethau a welir, ond ar y pethau ni welir: canys y pethau a welir sydd dros amser, ond y pethau ni welir sydd dragywyddol," 2 Cor. iv. 18, 19. Ni chânt fod yn rhy faith; "Duw y tangnefedd a sathr satan dan eich traed chwi ar frys," Rhuf. xvi. 20. "Byr, ac ysgafn." Y mae ffydd yn gweled digon o nerth i fyned trwyddynt; "Efe a breswylia yr uchelderau; cestyll y creigiau fydd ei amddiffynfa ef; ei fara a roddir iddo, ei ddwfr fydd sicr. Dy lygaid a welant y brenin yn ei degwch: gwelant y tir pell," Esay xxxiii. 16, 17. Y mae addewid a gwaredigaeth ar gyfer pob amgylchiad; ond i ti weddio ar Dduw, ti gei ei gweled, a theimlo ei nerth. "Galw arnaf fi yn nydd trallod; mi a'th waredaf, a thi a'm gogoneddi," Sal. 50. 15.

### Y DDWYFED BRIODOLEDD AR BYMTHEG.

Y mae ffydd yn cyfarwyddo yr enaid at Dduw yn Nghrist. Os yw Crist yn ffordd, y mae ffydd yn llygaid i weled y ffordd, yn draed i gerdded y ffordd. Crist yw y *loadstone*, a ffydd yw y nodwydd i gyfarwyddo y morwr pa ffordd i hwylio. Mae fel y golofn dân yn yr anialwch, yn cyfarwyddo ac arwain i wlad Canaan. Ffordd gul, anhawdd, a llawer o droion dyrys ynddi ydyw; os na'n harweinir gan ffydd, ni safwn yn llonydd, neu ni awn yn ol, neu yntau i lwybrau gau a ffyrdd marwolaeth. Myned at Dduw am gyfarwyddyd y mae ffydd, pan yn rhy dywyll i symud yn y blaen. Pan oedd Esther yn y brofedigaeth fawr, nad oedd dim i'w wneyd ond esgeuluso dyledswydd, neu *mentro* bywyd, y mae ffydd yn ei chyfarwyddo i anturio yn y blaen, a rhoddi bywyd i lawr yn llwybr y gwirionedd a dyledswydd. Pe buasai yn ymgynghori â chig a gwaed, cawsai ei cham-arwain; eithr dylynodd gyfarwyddyd ffydd, ac y mae yn cael ei harwain i lwybrau y gwirionedd, serch colli bywyd; ond cafodd weled mai ffordd dyledswydd oedd ffordd dyogelwch. Pwy all ddirnad profedigaeth Abraham pan orchymynodd Duw iddo aberthu ei uniganedig fab? Buasai rheswm cnawdol yn gorchymyn iddo arbed ei fab; eithr dylynodd ffydd, a thywyswyd ef i ddyogelwch. "Trwy ffydd yr offrymodd Abraham Isaac, pan ei profwyd: a'i unig-anedig fab a offrymodd efe, yr hwn a dderbyniasai yr addewidion; wrth yr hwn y dywedasid, Yn Isaac y gelwir i ti had: gan gyfrif bod Duw yn abl i'w gyfodi ef o feirw; o ba le y cawsai efe ef hefyd mewn cyffelybiaeth," Heb. xi. 17—19. Felly y mae Moses hefyd yn gweithredu o dan ddylanwad yr un egwyddor. "Trwy ffydd Moses, wedi

myned yn fawr, a wrthododd ei alw yn fab merch Pharaoh; gan ddewis yn hytrach oddef adfyd gyda phobl Dduw na chael mwyniant pechod dros amser; gan farnu yn fwy golud ddirmyg Crist na thrysorau yr Aipht: canys edrych yr oedd efe ar daledigaeth y gwobrwy," Heb. xi. 24—26. Galwai llawer ef yn ffwl, yn ynfytyn, am wrthod gorsedd yr Aipht; ond chwi welwch fod ffydd yn gweled yn mhellach, am hyny yn gwrthod yr Aipht, yn yr olwg ar y nefoedd. Mae rhyw fath o ffydd, ond yn rhy wan i ymwrthod â phob peth, a dylyn y gwirionedd, ac y mae yn rhy wan hefyd i fyned â'i pherchenog i ogoniant. "Llawer o'r penaethiaid hefyd a gredasant ynddo; ond oblegyd y Phariseaid ni chyffesasant ef, rhag eu bwrw allan o'r synagog: canys yr oeddynt yn caru gogoniant dynion yn fwy na gogoniant Duw," Ioan xii. 42. Y mae gwahaniaeth annhraethol rhwng credu Moses a chredu y penaethiaid. Mae Moses yn credu, ac yn gadael y cwbl i ddylyn ei argyhoeddiad; y penaethiaid yn credu, ac yn methu gadael dim. Pe buasai ganddynt wir ffydd buasent yn glynu wrtho, a chymeryd pob canlyniad. Y ffydd hon oedd y diffyg yn nghrefydd y dyn ieuanc yn yr efengyl: pe buasai hon ganddo, ni fuasai yn troi ei gefn ar yr Arglwydd Iesu, a'i wyneb ar y "da lawer," ond glynasai wrth Grist, er iddynt hwy fyned i'r môr. Ond och! dylynodd rheswm cnawdol, gadawodd anwylyd ei enaid, glynodd wrth y byd presenol, a syrthiodd i ddinystr a cholledigaeth.

Y mae yn rhaid i ni wrth ffydd, neu golli y ffordd uniawn; canys y mae troion lawer yn y llwybrau sydd yn arwain trwy y byd: y mae y saint wedi eu gosod ar brawf yn aml yn y byd hwn, fel nad oes ganddynt ddim i'w wneyd ond gadael Duw, neu ei adael ef. Mae Crist a'r byd hwn wedi dyfod ar draws eu gilydd lawer gwaith, fel yr oedd yn rhaïd gwneyd dewisiad o'r naill neu y llall. Crist a chysuron y byd, Crist a pherthynasau, Crist a chyfoeth, Crist ac anrhydedd; os na ddewisir Crist o flaen y cwbl, nid ydym deilwng o hono; nid oes genym ffydd. Mae Crist a'i eglwys i fod o flaen tad a mam, brodyr a chwiorydd, tai a thiroedd. Mae rhyddid naturiol ar y ddaear, a rhyddid ysbrydol a thragywyddol yn cael eu rhoddi o'ch blaen: y ddaear a'r nefoedd, y corph a'r enaid; dewiswch chwithau rhyngddynt. Os na chewch eich arwain trwy ffydd, chwi ddyryswch yn nghanol y terfysg ofnadwy. Ond os bydd genych ffydd, chwi ewch drwyddo yn weddol dda, a chewch oleuni i lewyrchu ar eich llwybrau,

er gorfod gadael rhyddid, cyfeillion, cysuron, ïe, bywyd er mwyn Crist a'r efengyl. Fel hyn y gwnaeth canlynwyr yr Arglwydd Iesu yn mhob oes. Ac nid gwerthfawr ganddynt eu heinioes eu hunain hefyd, er mwyn Crist. Pan oedd un o ymerawdwyr Rhufain yn perswadio y saint i ymadael â Christ, neu eu bwrw yn uniongyrchol i garchar, atebasant hwythau, "Ymerawdwr da, rhoddwch i fyny ein cymhell i ymwrthod â Christ; bwriwch ni i garchar—dyna yr eithaf y gellwch chwi wneyd; wrth Dduw yr ydym yn bwriadu glynu, er carchar ac angau hefyd. Yr oedd Frederic, *Elector* Saxoni, yn garcharor gan Charles y bumed am ei ymlyniad wrth Brotestaniaeth. Cynygiodd Charles ei adferu i'w holl awdurdod a'i fawredd ond iddo ddyfod unwaith i'r *mass;* ond cyfarwyddodd ffydd ef i roddi yr ateb canlynol:—"Yr wyf yn foddlon i ufuddhau i'ch mawrhydi mewn pethau tymhorol, ond mewn pethau ysbrydol i neb ond Crist; ac y mae Crist yn werthfawrocach i mi mewn rhwymau na llys Cesar mewn rhyddid." Mae ffydd yn gwrthod doethineb y cnawd, ac yn myned at Dduw am gyfarwyddyd; yn taro cnawd yn ddall, ac yn rhodio yn ngoleuni wyneb Duw. Cymerwch Dduw yn gynghorwr, ac yna chwi fyddwch yn ddyogel. Mae y galon lygredig yn llawn ystyfnigrwydd yn erbyn y Bod Goruchaf a'i holl ffyrdd; ïe, gelyniaeth ffyrnig ydyw; ond unwaith y delo ffydd i mewn y mae yn arglwyddiaethu ar y cwbl, yn darostwng y cwbl, fel na chaiff reswm fod yn ben; ni chaiff fod yn gynghorwr, ac ni wna ffydd ufuddhau i'w orchymynion.

Y mae ffydd yn coroni Duw pob gwybodaeth yn Frenin, yn Gynghorwr, yn Gyfarwyddwr, ac yn dylyn ei hyfforddiadau. Yr hwn sydd yn cwympo wrth draed yr Arglwydd, ac yn cau ei lygaid ar y byd, ni chaiff fod mewn eisiau nerth na doethineb. Na cheisiwch fel Balaam, â chalon ddauddyblyg, yr hwn a fynai ei wobrwyo gan Dduw a dynion; neu fel y gwnaeth Israel, yn gofyn cyfarwyddyd gan yr Arglwydd, ac yn penderfynu ar yr un pryd i rodio yn eu ffyrdd eu hunain. Eithr ceisiwch â chalonau cywir a gostyngedig; ymofynwch y "ffordd i Sïon, a'ch wynebau tuag yno," gan benderfynu myned yn y blaen y ffordd y mae yr Arglwydd yn cyfarwyddo: ni aflwydda y cyfryw. Fel y mae effeithiau y lleuad yn peri i'r môr lanw a threio, felly y mae Jehofa yn taflu dylanwad i'r enaid i'w gario yn y ffordd y dylai fyned. Dylynwch eich doethineb eich hunain, chwi

ewch i'r ffos; dylynwch gyfarwyddyd yr Arglwydd, cewch eich dwyn i anrhydedd. Ymwrthodwch â chynghorion y cnawd, a chymerwch eich arwain gan yr Ysbryd Glân, a byddwch ar dir dyogel. Dylynodd Balaam a Saul eu cynghorion eu hunain, er iddynt yn rhagrithiol ofyn cynghor Duw, a syrthiasant i dywyllwch. Y mae dynion, wrth ddylyn eu cynghorion eu hunain, yn rhedeg i ddinystr, er eu bod hwy yn meddwl mai ysgoi dinystr y maent. Y peth goreu yw cau y llygaid i bob peth ond Duw, syrthio wrth ei draed, a dylyn ei gyfarwyddyd. Fe allai y gellid tybio mai ffyrdd dinystr ydynt yn awr, ond fe eglura goleuni yr hwyr mai llwybrau y bywyd ydynt.

## Y DDEUNAWFED BRIODOLEDD.

Y mae ffydd yn cadarnhau yr enaid; yn ei osod ar y fath sylfaen ddiysgog, fel nas gall dim ei symud byth. "Y rhai a ymddiriedant yn yr Arglwydd fyddant fel mynydd Sïon, yr hwn ni syflir, ond a bery yn dragywydd," Sal. cxxv. i. Cwymped lle y cwympo, y mae yn cwympo ar y graig; ni chwymp byth drosti. "Y mae ei galon yn ddisigl yn ymddiried yn yr Arglwydd." Y mae annghrediniaeth yn aflonyddu yr enaid â rhyw ddyryswch annyoddefol; y mae yn ein gosod ar arteithglwyd ofnau. Y mae yr annghredadyn fel tŷ heb sylfaen ar wynt mawr, neu long heb lwyth yn nghanol ystormydd geirwon, yn cael ei thaflu yma ac acw gan y don chwyddedig. Eithr y mae ffydd yn gwneyd dyn fel craig mewn ystorm; yn sefydlu y galon yn nghanol y dymhestl. Pan y mae ffydd yn fach y mae ofnau yn fawr; pan y mae y gwynt yn gryf y mae ffydd yn cryfhau, fel yr ydym yn gyffredin yn fwy sefydlog mewn ystorm nag ar dywydd teg. Bendigedig am gystuddiau, ond cael ffydd gref i gydio yn y graig dragywyddol. Y mae hi yn dadlwytho dyn, ac yn taflu pob llwyth ar Dduw. Y mae annghredinwyr a'u llwythau i gyd ar eu cefnau eu hunain; nid oes ganddynt neb i gario y croesau. O Arglwydd, pa beth ddelai o honof fi, fy nghorph, fy enaid, fy mhlant, fy nghwbl, heb le i fwrw fy mheichiau i lawr? Mi a lewygwn y fynyd hon, cyn myned yn mhellach; ond, gogoniant, y mae ffydd yn symud y cwbl oddiar fy ysgwyddau, a'u taflu ar Grist. Y mae yr Arglwydd Iesu yn dwyn yr holl feichiau droswyf. Y mae yn eich cymhell, fy nghyfeillion, i ddyfod ato i fwrw eich holl ofal arno. "Deuwch ataf fi, bawb ag y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi

a esmwythaf arnoch. Cymerwch fy iau arnoch, a dysgwch genyf; canys addfwyn ydwyf a gostyngedig o galon; a chwi a gewch orphwysdra i'ch eneidiau. Treigla dy weithredoedd ar yr Arglwydd, a'th feddyliau a safant. Bwrw dy faich ar yr Arglwydd, ac efe a'th gynal di; ni âd i'r cyfiawn ysgog byth," Mat. xi. 28, 29; Deut. xvi. 3; Sal. lv. 22.

Y mae yr annghredadyn a'i galon yn mron hollti gan ofn a braw, tra y mae ffydd wedi murio y saint i mewn yn nghanol dinas gadarn, yn berffaith ddyogel yn nghanol peryglon bywyd. Ni chaiff ofn dynion aflonyddu a gormesu; y mae gweled Duw yn ddigon i gyfarfod â phawb ac â phob peth. "Yr Arglwydd yw fy ngoleuni a'm iachawdwriaeth; rhag pwy yr ofnaf? Yr Arglwydd yw nerth fy mywyd; rhag pwy y dychrynaf? Pan nesaodd y rhai drygionus, sef fy ngwrthwynebwyr a'm gelynion, i'm herbyn, i fwyta fy nghnawd, hwy a dramgwyddasant ac a syrthiasant. Pe gwersyllai llu i'm herbyn, nid ofna fy nghalon; pe cyfodai câd i'm herbyn, yn hyn mi a fyddaf hyderus," Sal. xxvii. 1—3. "Yr Arglwydd yw fy ngoleuni;" dyma ffydd—pob peth arall yn dywyllwch. Dim ond rhodio yn ngoleuni ei wyneb ef, beth sydd gan fyd o ddynion i wneuthur? Bendigedig am Dduw yn blaid i'r gwan! Chwareu teg i fy enaid lechu dan ei gysgod. "Duw sydd noddfa a nerth i ni; cymhorth hawdd ei gael mewn cyfyngder. Am hyny nid ofnwn pe symudai y ddaear, a phe treiglid y mynyddoedd i ganol y môr. Er rhuo a therfysgu o'i ddyfroedd, er crynu o'r mynyddoedd gan ei ymchwydd ef. Y mae afon, a'i ffrydiau a lawenhant ddinas Duw, cysegr preswylfeydd y Goruchaf. Duw sydd yn ei chanol; nid ysgog hi: Duw a'i cynorthwya yn foreu iawn," Sal. xlvi. 1—5. Mae y gwirioneddau hyn, fy nghyfeillion, yn berwi fy ysbryd, a fy nghorph hefyd. A wyddoch chwi, yr wyf yn credu y fynyd hon, pe bai y ddaear yn myned ar dân heno, y neidiwn, ac y gwaeddwn Haleluia ar ei llwch hi cyn boreu y fory. "Duw sydd noddfa a nerth i mi; efe a'm cynorthwya yn foreu iawn." Diolch am ffydd; y mae yn helpu y credadyn yn wyneb ofni tlodi, angau, a'r farn. Y mae yn codi ei olwg i fyny i ddysgwyl bara o'r nefoedd pan y mae yn dywyll ar y ddaear; ac i ddysgwyl nerth i fyned trwy yr hen Iorddonen donog, a sefyll yn y diwedd wedi gorphen pob peth. Fe allai, wrth edrych i lawr, eich bod yn gweled tlodi yn eich edrych yn eich wynebau, ac y byddwch mewn eisiau cyn diwedd eich dydd, ac felly mewn

tywyllwch dudew. Y mae un weithred o eiddo ffydd y pryd hyn yn fwy o werth na deng mil o fydoedd, er cadarnhau a sefydlu yr enaid yn addewidion Duw. "Dyma yr addewidion," ebe ffydd, gan eu hysgwyd yn sypynau mawrion fel grawnwin addfed yn felus ac adlonol i'r enaid. Oni ddywedodd Duw, "Bydd eisiau a newyn ar y llewod ieuainc;" neu, fel y mae rhai yn darllen, Bydd eisiau a newyn ar y llewod mawrion; bydd y Nimrods mewn eisiau weithiau; er eu grym, ac er fod eu cydau yn llawnion; "ond y rhai a ymddiriedant yn yr Arglwydd, ni bydd arnynt eisiau dim daioni." Caiff gwŷr y cydau llawnion fod mewn eisiau cyn y cewch chwi. Cymerwch gysur, fy nghyfeillion, y mae *crop* da yn hen addewidion Duw. "Am hyny meddaf i chwi, Na ofelwch am eich bywyd, pa beth a fwytaoch, neu pa beth yr yfoch; nac am eich corph, pa beth a wisgoch. Onid yw y bywyd yn fwy na'r bwyd, a'r corph yn fwy na'r dillad? Edrychwch ar adar y nefoedd: oblegyd nid ydynt yn hau, nac yn medi, nac yn cywain i ysguboriau; ac y mae eich Tad nefol yn eu porthi hwynt. Onid ydych chwi yn rhagori llawer arnynt hwy? A phwy o honoch gan ofalu a ddichon ychwanegu un cufydd at ei faintioli? A phaham yr ydych chwi yn gofalu am ddillad? Ystyriwch lili y maes, pa fodd y maent yn tyfu; nid ydynt nac yn llafurio nac yn nyddu; eithr yr wyf yn dywedyd i chwi, Na wisgwyd Solomon yn ei holl ogoniant fel un o'r rhai hyn. Am hyny, os dillada Duw felly lysieuyn y maes, yr hwn sydd heddyw, ac yfory a fwrir i'r ffwrn; oni ddillada efe chwi yn hytrach o lawer, O chwi o ychydig ffydd? Am hyny na ofelwch, gan ddywedyd, Beth a fwytawn; neu beth a yfwn? neu â pha beth yr ymddilladwn? (Canys yr holl bethau hyn y mae y cenedloedd yn eu ceisio), oblegyd gŵyr eich Tad nefol fod arnoch eisiau yr holl bethau hyn. Eithr yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg," Mat. vi. 25—33. Nid ydynt yn hau nac yn medi, eto yn cael eu porthi. Clywsoch chwi ddim erioed am *farmer crow* yn hau ac yn medi, ac yn cywain i ysguboriau. Nid oes yr un *farmer crow* i gael; ac eto y mae eich Tad chwi yn trefnu fod y frân i gael byw ar gynyrch y tir. A ydych mor ffol a meddwl y portha efe y brain, a newynu y saint? Na, y mae wedi addaw pob peth er cynaliaeth ei blant, yn rhagluniaethol yn gystal ag ysbrydol; pob peth yn perthyn i fywyd a duwioldeb: "addewid o'r bywyd sydd yr awr hon ac o'r hwn a

fydd." Gogoniant mewn gwaed oer. Y mae yn porthi nid yn unig ei blant, ond ei elynion hefyd; a pha fodd gan hyny y gall annghofio ei gyfeillion? Os ydyw wedi rhoddi Crist i ti, a wyt yn amheu y rhydd efe y briwsionyn? A wna yr hwn sydd wedi rhoddi ei hun atal rhywbeth arall ag sydd eisiau? "Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab, ond a'i traddododd ef trosom ni oll; pa wedd gydag ef hefyd na ddyry efe i ni bob peth?" Rhuf. viii. 32.

Os gellwch ymddiried yn Nuw am eich eneidiau, y mae yn rhyfedd na ellwch ymddiried ynddo am eich cyrph. Nid yw ffydd yn neillduo rhyw wrthddrych allan i'w gredu, a gwrthod y lleill; yn credu un peth ac yn gwrthod credu y llall, ond yn credu y naill fel y llall, yn gymaint fod y cwbl yn eiriau yr un Duw. Yr hwn sydd yn ymddiried yn Nuw am bethau mawrion sydd hefyd yn ymddiried ynddo am bethau bychain. Fel y dywedodd Crist wrth Nicodemus, "Os dywedais i chwi bethau daearol, a chwithau nid ydych yn credu; pa fodd os dywedaf i chwi bethau nefol y credwch?" Ioan iii. 12. Os na ellwch gredu y gwna Duw eich cynal yn y byd hwn, pa fodd y gellwch gredu y rhydd efe i chwi fywyd tragywyddol na chyfrgollir byth? Y mae ffydd, fy nghyfeillion, yn rhoddi digon o nerth i *farw*, chwaithach i fyw. Y mae yn cryfhau y galon fel ag i beidio ofni "brenin y dychryniadau." O bob dychryn dyma y mwyaf ofnadwy; dychryn yr holl ddychryniadau ydyw. Y mae annghrediniaeth yn lladd y galon ag ofn cyn marw. Y dyn nad yw yn gwybod beth ddaw o'r enaid anfarwol am bob tragywyddoldeb, pa ryfedd fod arno ofn marw? Mae yn gorwedd ar ei wely angau, ac yn dywedyd fel Aristotl, "Yr wyf yn myned, nis gwn i ba le!" Neu yntau yn gweled angau yn agor ei safn, ac uffern yn dyfod i'r golwg y tu cefn iddo. "A mi a edrychais, ac wele farch gwelw-las, ac enw yr hwn oedd yn eistedd arno oedd Marwolaeth; ac yr oedd uffern yn ei ganlyn ef," Dat. vi. 8. Mae ffydd yn edrych, ac yn gweled wyneb Duw yn gwenu y tu cefn i farwolaeth; ac yn gwaeddi allan, Dacw yr Arglwydd yn yr hwn y gobeithiais, dacw Iesu yr hwn a'm prynodd, ac a'm golchodd oddiwrth fy mhechodau; dacw ddeng myrddiwn o'm hen gyfeillion, cyd-etifeddion o'r un addewid; "Yn wir, tyred Arglwydd Iesu." Y credadyn biau y cwbl y tu draw i'r llen; Duw yw fy Nhad, Crist yw fy Mrawd, nefoedd yw fy etifeddiaeth, gwlad o ogoniant yw fy rhan. I'r cyfryw y mae

angau wedi colli ei ddychryniadau, y maent yn barod i'w gyfarfod, gan ddywedyd gyda hen Simeon, "Yr awr hon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd yn ol dy air, canys fy llygaid a welsant dy iachawdwriaeth;" ac fel Paul, "Y mae genyf chwant i'm datod, a bod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw." Os nad oes gan ddyn ryw sicrwydd o *well* yn y byd a ddaw, nid rhyfedd ei fod am lechu yn hwn: "Y mae aderyn mewn llaw yn well na dau yn y llwyn." Mae yr addewid mewn llaw yn well na nefoedd mewn amheuaeth. Sicrwydd nefoedd, a gobaith nefoedd yn y galon sydd yn tori awch angau; y mae yr enaid yn taflu ei hun yn ewyllysgar i fyny i ddwylaw Duw. Mewn rhai pethau "ni frysia yr hwn a gredo;" ond yma, pa fwyaf yr ydym yn credu, mwyaf byth ydyw y brys i fyned at Dduw.

Y mae gweithrediadau ffydd yn gyru ofn uffern ar encil; y mae yn gwybod i Grist ddyoddef i roddi hawl i'r nefoedd, a gwared byth rhag trueni. Y mae hi yn tynu arswyd y farn fawr o'r meddwl trwy ddywedyd, "Y barnwr yw dy ddadleuwr a dy frawd; yr hwn sydd yn rhaid i mi ateb o'i flaen sydd wedi ateb troswyf, ac wedi rhoddi boddlonrwydd." "Codwch eich penau, mae eich gwaredigaeth yn agosâu." "Ie," ebe rhywun, "chwi ellwch gael y gobaith hwn yn awr, ac iddo fod yn mhell cyn marw, syrthio a cholli y cwbl, a myned i uffern yn y diwedd." Na, unwaith yn Nghrist, yn Nghrist am dragywyddoldeb. Gallwn syrthio a cholli ein cysuron, nid ein grasau. Yn wyneb cwympiadau y saint, mae ffydd yn gweithredu yn rymus er adferu cysur iddynt. Collodd Dafydd "orfoledd yr iachawdwriaeth;" ond nid yr iachawdwriaeth ei hun. Y mae efe yn cael ei nerthu trwy ffydd i weddio am adferiad o'r cysuron a gollwyd. "Dyro drachefn i mi o orfoledd yr iachawdwriaeth; ac a'th hael ysbryd cynal fi," Sal. li. 12. Gall fod hadau bywyd tragywyddol yn llechu dan y fron, pan yr ydym yn methu cael cysuron y bywyd ysbrydol i'n teimladau. Gallwn golli bywiogrwydd a gweithrediadau ysbrydol i ryw fesur, ond nid y bywyd ei hun. Fel dyn mewn trymgwsg sydd â bywyd ynddo, ond ei weithrediadau fel pe baent wedi darfod. Fe ddichon nad ydyw gyda chwi fel cynt, er eich bod yn meddwl myned allan fel Samson ac ysgwyd y cwbl yn chwilfriw, eto y mae y nerth, nid y bywyd, wedi cilio. "Eich bywyd a guddiwyd gyda Christ yn Nuw," Col. iii. 3. Gall adfeiliad gymeryd lle mewn ffydd, a gall sel gysgu, nid marw. "Cofia gan hyny o ba le y syrth-

iaist, ac edifarha, a gwna y gweithredoedd cyntaf," Dat. ii. 5. Nid syrthio oddiwrth, ond ymadael â'th gariad cyntaf a wnaethost, Dat. ii. 2. Colli bywiogrwydd, nid bywyd; nid wedi diffodd, ond wedi oeri. Nid colli calon ffydd, ond ei gweithred; nid colli enaid, ond y cariad cyntaf. "Ac eto bydd ynddi ddegwm, a hi a ddychwel ac a borir: fel y llwyfen a'r dderwen, y rhai wrth fwrw eu dail y mae sylwedd ynddynt: felly yr had santaidd fydd ei sylwedd hi," Esay vi. 13. Fel pren gweledigaethol Daniel, am yr hwn y dywedwyd, "Torwch ef, ysgythrwch ei wrysg ef, ysgydwch ei ddail ef, a gwasgerwch ei ffrwyth; cilied y bwystfil oddi tano, a'r adar o'i gangenau. Er hyny gadewch foncyff ei wraidd yn y ddaear, mewn rhwym o haiarn a phres," Dan. iv. 14, 15. Gallant syrthio yn isel, ond nid yn hollol a thragywyddol. Mae Crist yn eiriol drostynt yn ei weddiau, ac y mae y rhai hyny mewn grym yn awr yn y nefoedd. Cânt eu cadw, eu hamddiffyn, a'u sefydlu am byth cyn hir, heb ofni syrthio mwy. "Y rhai trwy allu Duw ydych gadwedig, trwy ffydd i iachawdwriaeth, parod i'w datguddio yn yr amser diweddaf," 1 Pedr i. 5.

Y mae cwympo i bechodau rhyfygus, ac ymdroi ynddynt am weddill yr oes, yn profi diffyg crefydd o gwbl, ac nid syrthiad oddiwrth ras. *A star fallen is not a star*—seren wedi cwympo, nid yw seren. "Oddiwrthym ni yr aethant hwy allan, eithr nid oeddynt o honom ni; canys pe buasent o honom ni, hwy a arosasent gyda ni; eithr hyn a fu, fel yr eglurid nad ydynt hwy oll o honom ni. Edrychwch, frodyr, na byddo un amser yn neb o honoch galon ddrwg annghrediniaeth, gan ymado oddiwrth y Duw byw," 1 Ioan ii. 19; Heb. iii. 12. Y mae dyn trwy ffydd ar sylfaen sicr. Yr ydoedd gynt yn sylfaen iddo ei hun; un dywodlyd oedd hono: ond yn awr Crist yw y graig gadarn, y sylfaen dragywyddol. Y mae y cyfamod yn sicr: "A mi a wnaf â hwynt gyfamod tragywyddol, na throaf oddiwrthynt heb wneuthur lles iddynt; a mi a osodaf fy ofn yn eu calonau, fel na chiliont oddiwrthyf," Jer. xxxii. 40. "Diedifarus yw doniau a galwedigaeth Duw." Nid yw efe yn dinystrio drachefn yr hwn a achubodd unwaith, nid yw yn taflu i lawr yr hyn a adeiladodd, nid yw yn dadwreiddio yr hyn a blanodd; ond y rhai "ni phlanodd y Tad nefol a ddadwreiddir." Mae ffydd yn amddiffyn y galon trwy gadw rhagrith allan; canys os bydd dyn yn bwdr mewn calon, beth bynag fyddo ei ymddangosiad

allanol, y mae yn sicr o syrthio. Os bydd afal yn bwdr yn y galon, ni phâr yn hir, er fod y lliw allanol yn ardderchog. Tu mewn drwg a ddystrywia y tu allan mwyaf prydferth yn mhen ychydig. Rhagrithiwr sydd wrthgiliwr llonydd, a gwrthgiliwr sydd ragrithiwr aflonydd.

Trwy ffydd y cedwir y golygon yn gymhwys, heibio i ddynion yn eu gwg a'u gwen, gan edrych ar Dduw, a rhodio yn ei ffyrdd, y rhai sydd hyfrydwch a dyogelwch. Mae hi yn gwneyd dyn yn wyliadwrus ar ei galon ei hun, ar ei eiriau, ei lygaid, ei glustiau, ei dueddiadau, a'i weithredoedd. Ni oddef claiarineb mewn cariad, oerfelgarwch mewn sel, ac esgeulusdod mewn dyledswyddau. Unwaith y delo i'r galon, nid yw yn llonydd nes enyn a chadw gwres priodol ynddi. Mae hi yn cadw i fyny yn y galon ofn santaidd rhag cwympo, yr hyn sydd yn amddiffynfa rymus yn erbyn cwympo. "Gosodaf fy ofn o'ch mewn;" sef y fath ofn ag a geidw y cnawd dan awdurdod, eto heb ddigaloni a gwanychu yr enaid. Ofn yn gweithio, nid yn rhwystro; ofn wedi ymuno â ffydd, ffydd wedi ymgymysgu ag ofn: yn ofnus ynddo ei hun, ac yn ffyddiog yn Nghrist; yn wan yn ei deimlad, eto yn gryf yn ei sylfaen. Bwrir allan anymddiried gwasaidd, ac amheuaeth anobeithiol.

Mae teimlad o ddyogelwch, yn ddiofn, yn ei natur. Eto pan yr ydym mewn perygl o fyned i eithafion, y mae ffydd yn dyfod â'r ofnadwy o flaen y meddwl, er rhwystro anturiaethau gwylltion. Duwinyddiaeth ddrwg yw caniatau achlysuron pechod, ac wedi hyny gwadu y pechod; fel y mae yn rhesymegyddiaeth ddrwg i ganiatau gwirionedd y rhagosodiad, a gwadu y cymhwysiad naturiol. Paid chwareu ag achlysuron pechod; dyna y ffordd oreu i gadw rhagddo; ac felly y mae ffydd yn ein dysgu i "ofni Duw, a chilio oddiwrth ddrygioni." Nid oedd y Nazareaid i yfed gwin, na phrofi hyd y nod cnewllyn y grawn, rhag y byddai hyny yn arwain i fwyta y grawn, ac i'w blas gynyrchu chwant yfed y gwlybwr. Dywedir am fam Augustine, iddi gwympo mewn cariad â'r cwpan ar y cyntaf wrth edrych, wedi hyny profi ychydig, ar ol hyny yfed dracht, ac yna drachtio yn ddiaros. Mae achlysuron pechod yn cael eu caniatau mewn duwinyddiaeth yn debyg i wrthuni mewn philosophyddiaeth. Caniatewch un cyfeiliornad, y mae myrddiynau yn canlyn. Cwympodd Adda, Dafydd, a Phedr, dynion ag oeddynt yn agos at Dduw; y maent nid yn anogaethau, ond yn rhybyddion i ni hyd y

dydd hwn. Ofnwch eich hunain, a ffowch at Grist am ddyogelwch. Efe yw y Tŵr cadarn.

Y mae ofn duwiol yn gweithio yr enaid i ymwneyd â holl foddion a dyledswyddau crefydd fel pethau cynaliaethol. Ychwanegwyd pymtheg mlynedd at fywyd Hezeciah; eto yr oedd yn rhaid iddo ofalu am ei fywyd yn y dull arferol, onide rhyfyg fuasai iddo ddysgwyl pymtheg mis. Mae yn rhaid i'r corph gael bwyd a dillad, gorphwysdra, a phob peth yn unol â deddfau natur, yna y mae bywyd yn cael ei ganiatau a'i sicrhau. Mae yr Arglwydd wedi addaw na "lithrwch chwi ddim byth tra fyddwch yn gwneuthur y pethau hyn." Defnyddiwch y moddion tuag at sefyll, onide yr ydych yn temtio Duw. Os ydych yn esgeuluso gweddio yr ydych yn sicr o gwympo, rhaid i chwi ddefnyddio yr ordinhadau sydd wedi eu gosod at fod yn gynaliaethol i grefydd. Mae mor hawdd i fyw yn naturiol heb ymborth â byw yn ysbrydol heb foddion. Peidiwch byth a meddwl eich bod yn rhy bell oddiwrth bechod i gwympo iddo, os na cheidw Duw chwi. Pwy allasai fod yn mhellach oddiwrth feddwi na Noah, yr unig ddyn sobr yn yr hen fyd meddw? Pwy yn mhellach oddiwrth odineb na Lot, yr unig ddyn diwair o fewn Sodom? Pwy yn mhellach rhag llofruddiaeth na Dafydd, y dyn y tarawodd ei galon ef am dori cwr mantell Saul? Pwy yn mhellach oddiwrth wadu Crist na Phedr, yr hwn oedd wedi dweyd ei fod yn foddlawn ac yn barod i farw gydag ef? Am hyny y mae yn rhaid i ni wrth ofn, gan nad oes un man mor ddyogel na allwn bechu ynddo. Pechodd yr angylion yn y nef, a syrthiasant i dywyllwch tragywyddol; pechodd Adda yn mharadwys; pechodd Judas yn eglwys Crist, a chwympodd i uffern oddiyno. Am hyny "ymddygwch mewn ofn dros amser eich ymdeithiad."

## HUNAN-YMHOLIAD A YDYM YN Y FFYDD.

"Profwch chwychwi eich hunain, a ydych yn y ffydd; holwch eich hunain. Ai nid ydych yn eich adnabod eich hunain, sef bod Iesu Grist ynoch, oddieithr i chwi fod yn annghymeradwy," 2 Cor. xiii. 5.

Y MAE Duw wedi rhoddi cyneddfau i ni yn wahanol i greaduriaid eraill, trwy ba rai y gallwn edrych arnom ein hunain, a barnu ein hunain. Y mae llawer o bobl er hyny yn astudio eraill yn fwy na hwy eu hunain; yn chwilio eraill, yn adnabod eraill, yn profi eraill, ac eto heb chwilio, adnabod, na phrofi eu hunain. Profwch eich hunain, holwch eich hunain, ceisiwch adnabod eich hunain, a ydych yn y ffydd ai peidio.

1. Y mae yn eglur fod y wybodaeth hon yn bosibl, onide ofer fyddai i'r apostol roddi y fath gynghor. Nid yw Duw yn ein gosod i wneyd pethau anmhosibl. Yn y gyfraith, fe ddichon ei fod yn gofyn yr hyn ni allem gyflawni, yn gymaint a bod dyn trwy bechod wedi colli y gallu i ufuddhau; ond yn yr efengyl, yr hyn a ofynir sydd yn cael ei wneyd yn bosibl yn ngras yr addewid. Cewch ddigon o oleuni yn yr efengyl, ond i chwi chwilio yn ddiduedd i wybod a oes genych ffydd ai peidio. Mae y Pabyddion yn dywedyd fod gwybod yn anmhosibl; eithr y mae yr ysgrythyr yn oleu ar y pwnc. "Profed pob un ei waith ei hun; ac yna y caiff orfoledd ynddo ei hun yn unig, ac nid mewn arall," Gal. vi. 4. Mae posiblrwydd y peth yn cael ei brofi yn amlwg, chwi welwch, yn y gorchymyn uchod. "A Phylip a ddywedodd, Os wyt ti yn credu â'th holl galon, fe a ellir. Ac efe a atebodd ac a ddywedodd, Yr wyf yn credu fod Iesu Grist yn Fab Duw," Act. viii. 37. "Yr wyf yn credu;" dyma ffydd mewn cristion ieuanc. Dylai yr hen gywilyddio wrth edrych ar y fath sicrwydd mewn un yn dechreu. Y *gwan* ei ffydd sydd yn dywedyd, "Yr wyf fi yn credu, Arglwydd; cymhorth fy annghrediniaeth." Y dysgyblion sydd yn dywedyd, "Yr ydym ni yn credu, ac yn gwybod mai tydi yw y Crist, Mab y Duw byw," Ioan vii. 69. "Yr wyf fi yn credu," ebe Martha, "pa bethau bynag a ddymunech di gan Dduw, y dyry Duw i ti. Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd: yr hwn sydd yn credu ynof fi, er iddo farw, a bydd byw. A wyt ti yn credu hyn? Dywedodd hithau wrtho, Ydwyf, Arglwydd: yr wyf fi yn credu mai ti yw y Crist, Mab Duw, yr hwn sydd yn dyfod i'r byd," Ioan xi. 20—27.

Y mae y credadyn yn gweled ffydd mewn gweithrediadau ar Dduw mewn Cyfryngwr. Mae y meddwl yn gweled ei weithrediadau ei hun, yn edrych i mewn iddynt, a'u barnu. "Y mae yr Ysbryd Glân hefyd yn cyd-dystiolaethu â'n hysbryd ni ein bod ni yn blant i Dduw. Y rhai yr ydym yn llefaru hefyd, nid â'r geiriau a ddysgir gan ddoethineb dynol, ond a ddysgir gan yr Ysbryd Glân; gan gydfarnu pethau ysbrydol â phethau ysbrydol. Eithr dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw: canys ffolineb ydynt ganddo ef, ac nis gall eu gwybod, oblegyd yn ysbrydol y bernir hwynt," 1 Cor. ii. 12—14. Dyma dystion, fy nghyfeillion, garia bob *treial*. Mae ffydd yn dyst, ysbryd dyn yn dyst, Ysbryd Duw yn dyst, a'r oll yn cyd-dystio fod ein barn a'n mater yn dda. Gogoniant! "Yr hwn sydd yn credu yn Mab Duw, sydd ganddo y dystiolaeth ynddo ei hun: yr hwn nid yw yn credu i Dduw, a'i gwnaeth ef yn gelwyddog, oblegyd na chredodd y dystiolaeth a dystiolaethodd Duw am ei Fab," 2 Ioan v. 10. Hyn yw ein cysur, hyn yw ein gorfoledd yn y byd, ein bod yn canfod ac yn teimlo ynom ein hunain ryw gymaint o sicrwydd gobaith. Hyn oedd cysur Hezeciah pan glafychodd hyd farw: "Dywedodd, Atolwg, Arglwydd, cofia yr awr hon i mi rodio ger dy fron â chalon berffaith, a gwneuthur o honof yr hyn oedd dda yn dy olwg," Esay xxxviii. 3. "Canys ein gorfoledd ni yw hyn; sef tystiolaeth ein cydwybod, mai mewn symlrwydd, a phurdeb duwiol, nid mewn doethineb cnawdol, ond trwy ras Duw, yr ymddygasom yn y byd," 1 Cor. i. 12. Os ydych yn adnabod pechod ynoch eich hunain er eich darostwng, paham nad ellwch adnabod gras ynoch eich hunain er eich cysuro? Os ydych yn caniatau un, paham y gwadwch y llall?

2. Er fod hunan-adnabyddiaeth yn beth posibl, eto y mae yn beth anhawdd. Mae y galon yn dwyllodrus, ïe, "yn fwy ei thwyll na dim, a drwg ddiobaith ydyw; pwy a'i hedwyn?" Jer. xvii. 3. Mae perygl rhag i'r "goleuni sydd ynom fod yn dywyllwch." Mae y rhai sydd yn adnabod eu calonau oreu, yn cael fod ynddynt ddyfnderau o drueni, ïe, uffern o dwyll. Y maent fel rhai darluniadau, angel un ochr, a satan yr ochr arall. Mae ffyrdd dyn yn uniawn yn ei olwg ei hun; ac os cymerwch y cwbl yn y *lump*, heb wneyd ymchwiliad, fe dwylla eich calonau eich hunain chwi. "Nesâ di," ebe Israel wrth Moses, "a chlyw yr hyn oll a ddywed yr Arglwydd ein Duw, a llefara di wrthym ni yr hyn oll a lefaro yr

Arglwydd ein Duw wrthyt wrthyt ti: a nyni a wrandawn, ac a wnawn hyny," Deut. v. 27. Mae yn debyg eu bod yn dywedyd fel yr oeddynt yn meddwl ar y pryd; eithr yr oedd yr Hwn oedd yn chwilio y calonau yn gweled yn ddyfnach na hwy i'w calonau eu hunain. "O," eb efe, "na byddai gyfryw galon ynddynt i'm hofni i, ac i gadw fy holl orchymynion bob amser; fel y byddai da iddynt ac i'w plant yn dragywydd." Yr oedd y bobl yn meddwl y peth oeddynt yn ddweyd ar y pryd, ac yn meddwl hefyd fod yn anmhosibl i'r fath galon-galedwch eu meddianu a gwrthod geiriau Duw, a chilio oddiar ei ol. Eithr nid oeddynt yn eu hadnabod eu hunain. Nid oedd Hazael yn adnabod ei galon pan yn siarad ag Eliseus yn nghylch y gweithredoedd a gyflawnai mewn amser dyfodol. "A Hazael a ddywedodd, Paham y mae fy arglwydd yn wylo? Dywedodd yntau, Am fy mod yn gwybod y drwg a wnai di i feibion Isrsel: eu hamddiffynfaoedd hwynt a losgi di â thân, a'u gwŷr ieuainc a leddi di â'r cleddyf, a'u plant a bwyi, a'u gwragedd beichiogion a rwygi. A Hazael a ddywedodd, Pa beth! ai ci yw dy was, fel y gwnelai efe y mawr beth hyn? Ac Eliseus a ddywedodd, Yr Arglwydd a ddangosodd i mi y byddi di yn frenin ar Syria," 2 Bren. viii. 12, 13. Nid oedd Hazael, chwi welwch, yn gallu meddwl y fath beth, ïe, ddim yn gallu goddef y meddwl yn awr; ond daeth yn ddigon ciaidd wedi hyn i wneyd y mawr ddrwg hwn yn ddideimlad. Nid ydoedd yn ei adnabod ei hunan. Am hyny "holwch eich hunain, profwch eich hunain."

Peidwch a chymeryd teimladau cyntaf y galon yn brofion heb eu profi; profwch a ydyw y tystiolaethau yn wir ai peidio. Y mae ffydd yn profi y profion: yn eu gogrynu a'u puro. "Canys yn Nghrist Iesu ni all enwaediad ddim, na dienwaediad; ond ffydd yn gweithio trwy gariad," Gal. v. 6. Y mae yn puro ein calonau ni trwy ffydd, Act. xv. 9. A ydyw dy galon wedi ei pherffeithio mewn cariad? Os ydwyt yn ei garu yr ydwyt yn cadw ei orchymynion, Ioan xiv. 15; yr ydwyt yn ymdrechu i ryngu ei fodd yn mhob peth. Ni bydd ein hysbrydoedd ni yn ddigonol er chwilio, a holi, a phrofi, i ddyfod â'r mater mawr hwn i'r goleu, heb gynorthwy yr Ysbryd Glân. Y mae yr ysbryd hwn yn cyd-dystiolaethu a'n hysbryd ni ein bod ni yn blant i Dduw. "A'r Ysbryd yw yr hwn sydd yn tystiolaethu, oblegyd yr Ysbryd sydd wirionedd." "Os tystiolaeth dynion yr ydym yn ei derbyn, y mae tystiolaeth Duw yn fwy. Eithr fel y mae yn ysgrifen-

edig, Ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn, y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef. Eithr Duw a'u heglurodd i ni trwy ei Ysbryd; canys yr Ysbryd sydd yn chwilio pob peth, ïe, dyfnion bethau Duw hefyd. Canys pa ddyn a edwyn bethau dyn, ond ysbryd dyn yr hwn sydd ynddo ef? Felly hefyd pethau Duw nid edwyn neb ond Ysbryd Duw. A nyni a dderbyniasom, nid ysbryd y byd, ond yr Ysbryd sydd o Dduw, fel y gwypom y pethau a rad-roddwyd i ni gan Dduw. Y rhai yr ydym yn eu llefaru hefyd, nid â'r geiriau a ddysgir gan ddoethineb dynol, ond a ddysgir gan yr Ysbryd Glân; gan gydfarnu pethau ysbrydol â phethau ysbrydol," Rhuf. viii. 16; 1 Ioan v. 6, 7, 8; 1 Cor. ii. 9—13. Mae y credadyn yn teimlo anhawsderau mawrion i benderfynu a ydyw yn y ffydd ai peidio, yn yr amgylchiadau canlynol:—

(1.) Mewn amser o ddarostyngiad a chaledi. Mae rhai yn galw drwg yn dda, ac eraill yn galw da yn ddrwg. Bydd rhai yn cymeryd cysgod yn lle sylwedd, ac eraill yn ofni fod sylwedd yn gysgod. Mae rhai yn pwyso ar seiliau gau; yr wyt tithau yn amheu gwirionedd y seiliau sicr a gwirioneddol. Mae rhai yn porthi gau grefydd; yr wyt tithau yn amheu crefydd gywir. Bydd rhai yn ymwresogi wrth dân lliwiedig; yr wyt tithau yn taflu dwfr, ac yn diffodd tân Duw. "Wele chwi oll y rhai ydych yn cyneu tân, ac yn eich amgylchu eich hunain â gwreichion; rhodiwch wrth lewyrch eich tân, ac wrth y gwreichion a gyneuasoch. O'm llaw i y bydd hyn i chwi; mewn gofid y gorweddwch," Esay 50. 11.

(2.) Mewn amser temtasiwn. Mae satan yn dweyd yn aml wrth ddyn fod ei holl rasusau yn *gounterfeits*, yn arian ffugiol; ac yn dyfod yn y blaen â lluaws o resymau i brofi hyn. Pa resymau bynag a ddygir yn y blaen gan y credadyn i brofi seiliau ei obaith, y mae satan yn dyfod â rhai cyferbyniol, nes gorthrechu y galon wan, a'i darostwng i wadu y cwbl. Y mae y dyn yn amheu ei ras, ac yn cymeryd plaid satan yn ei erbyn ei hun.

(3.) Mewn amser o guddiadau wyneb Duw. Mae yn anmhosibl darllen mewn tywyllwch; er gwisgo y *spectol*, y mae yn rhaid cael goleu. Tywyniad wyneb Duw ddaw â'r credadyn i ddarllen ei hawl. Mae pob peth yn dyfod i'r amlwg yn ngoleuni ei wyneb ef. Mae y gras oedd yn llechu yn nghudd yn dyfod i'r golwg pan bydd yr haul mawr yn tywynu. Mae y lleuad yn cymeryd benthyg goleuni yr

haul, ac yna yn goleuo y ddaear yn wanaidd; y mae mewn bod pan nad ydym ni yn ei gweled; ac y mae rhan o honi o'n golwg weithiau, ond nid wedi myned ar goll: daw y cwbl i'r golwg eto wedi y symudir pethau oddiar y ffordd ag sydd rhyngom a hi. Mae ffydd yn symud mynyddoedd oddiar y ffordd. Nid yw yr hwn sydd yn dywedyd, "Y mae llew ar y ffordd," ac yn ymrwystro, yn addas i fod yn filwr i Iesu Grist. Nid oedd hwnw gymhwys i wlad Canaan ag oedd yn ofni cewri. Ysbryd gwael yw cilio o ffyrdd Duw o herwydd anhawsderau. Mae anhawsderau lawer, fy nghyfeillion, ond nid anmhosiblrwydd. Mae sicrwydd ffydd wedi ei feddianu yn mhob oes; a chan fod eraill wedi llwyddo, paham na ellwch chwithau? Nid yn unig y mae hyn yn bosibl, ond hefyd y mae yn wir angenrheidiol. Heb hyn nid oes ond ychydig o gysur crefydd. Nid yw yn ddigon i wybod fod Crist yn Waredwr, eithr yn mae y rhaid gwybod fod Crist yn Waredwr i ni. Nid yw Crist yn gysur i chwi os nad ydych yn deall ei fod yn Grist i chwi. Nis gellwch dynu un cysur o hono yn angau heb i chwi wybod eich bod yn credu ynddo. Ond os ydych yn deall eich bod yn credu ynddo, y mae efe, a holl addewidion y Bibl ynddo, "yn ïe ac yn Amen" yn eich aros i'ch gwneyd yn ddedwydd. Os unwaith y gellwch ddyfod â'r mater hwn i eglurdeb, gellwch edrych dros yr holl addewidion fel *deeds* eich etifeddiaeth. Y mae yr addewid hon, a'r un acw, a'r un draw, ïe, y mae y cwbl yn eiddom ni. Y mae Duw yn eiddom, y mae Crist yn eiddom yn yr hyn oll ydyw: yn ei fywyd, yn ei ddyoddefiadau, yn ei weddiau, yn ei angau, yn ei waed, yn ei adgyfodiad, yn ei ddyrchafiad, yn ei eiriolaeth yn y nef. Bendigedig, nyni biau y cwbl; "y mae pob peth yn eiddom ni." O fy enaid, ni wyddost dy golled o herwydd esgeuluso gwneyd dy hawl yn eglur. Profwch eich hawl, fy nghyfeillion, i'r etifeddiaeth anllygredig. Mae yn rhaid i chwi fyw a marw yn ddigysur os na fyddwch byw mewn llafur i brofi eich hawl.

Y mae llawer yn byw mewn ofn dros eu bywydau, ac yn marw yn annghysurus, o herwydd peidio taflu mwy o lafur i'w crefydd, er cael pethau i dir mwy goleu; yn ymfoddloni ar wreichionen yn lle fflam. Yr ydych yn ymfoddloni ar chwarter hwyliau mewn bywyd, eto yn dymuno am lawn hwyliau wrth farw, i gael myned i mewn i borthladd y nefoedd mewn *full sail before a fair wind*. Fel hyn y mae llawer

yn esgeuluso y llafur mewn bywyd sydd yn angenrheidiol i feddianu y pethau hyn, ac eto yn ymddibynu llawer ar ei gael yn angau. Mae hyn yn beryglus, fy nghyfeillion; er y gellir bod yn ddyogel, ond ni ellir bod yn gomfforddus. Mae llawer yn meddwl fod perygl i ni gael sicrwydd, rhag i hyny ein gwneyd yn ddibris, yn ddiofal, ac yn segurllyd dros weddill ein hoes. Mae hyn yn gamsyniad mawr. Ein symbylu i ufudd-dod yw yr effaith, nid ein suo i gysgu. Gwybodaeth o'n hawl yn Nghrist a'n gwna i dreulio ac ymdreulio; llosgi allan, nid mygu allan. Os yn fyw, yn fywiol; yn rhydd-ewyllyswyr yn ngwasanaeth yr Arglwydd, yn chwysu ac yn cymeryd poen yn y winllan. Athrawiaeth Babyddol yw dywedyd fod yr adnabyddiaeth hyn yn gwneyd dyn yn esgeulus yn ei ddyledswyddau. A ydyw y teithiwr yn arafu ei gerddediad am ei fod yn gwybod ei fod ar y ffordd iawn? Eich cysur yw gwybod eich bod ar y llwybr union gartref, a bod pob cam yn eich trosglwyddo yn nes i dŷ eich Tad. Yr ydych yn teimlo hyfrydwch wrth wybod pob peth arall, ac a ymfoddlonwch i fod heb adnabod eich hunain? Yr ydych yn profi yr aur, yr arian, y *deeds;* a phaham na phrofwch eich hunain? Nid ydych yn cymeryd dim ag sydd yn werth rhyw beth yn ganiataol, heb ei brofi; ac a ydych yn foddlon ymgrogi eich hunain rhwng nefoedd a daear, fel Absalom, heb wybod pa un ai i'r nefoedd neu uffern y disgynwch byth? Os nad ydych, holwch eich hunain, a phrofwch eich hunain, a ydych yn y ffydd.

1. Profwch eich hunain wrth air yr Arglwydd. Cymerwch hwn yn rheol; canys y llyfr santaidd fydd eich prawf-lyfr yn y dydd diweddaf; os na ddeuwch ato yn awr, ato y bydd yn rhaid i chwi ddyfod o'r diwedd. Efe a'ch ceidw neu a'ch condemnia yn y dydd diweddaf, os ydych yn alluog i'w daflu ymaith yn awr.

2. Profwch eich hunain yn wyneb tystiolaeth yr holl gredinwyr, cryf a gwan. Mae rhai yn wan yn y ffydd, ac mae yn rhaid i ni gymeryd profion ffydd wan fel ffydd gref, rhag i ni lethu y gwan. Mae y fath beth a ffydd, ac heb sicrwydd ffydd. Cyfeiliornad mawr yw cymeryd yr holl brofion oddiwrth y radd uchaf o ffydd: wrth hyn y byddis yn taflu miloedd o gredinwyr gwirioneddol i golledigaeth, y rhai ydynt yn amddifad o sicrwydd. Mae yn rhaid i ni gymeryd gofal ar y "llin yn mygu," rhag ei ddiffodd, ar un llaw, a rhag porthi tân dyeithr ar y llaw arall. Mae yn rhaid peidio

digaloni y credadyn gwan, na chalonogi y rhagrithiwr cryf. Y mae yn rhaid cael y pethau canlynol:—

(1.) Argyhoeddiad o bechod a thrueni, yn nghydag anallu hollol i waredu ein hunain. Ni ddaw neb byth at Grist nes y teimlont yr angen o hono. Treuliodd y wraig â'r dyferlif gwaed y cwbl ag oedd yn ei helw cyn dyfod at Iesu; a phe buasai ganddi swllt arall buasai yn debyg o edrych am un crach-feddyg ychwaneg. Nid oes neb yn dyfod at Iesu tra fyddo swllt yn ei boced: trueni a gwae sydd yn dyfod â chreadur adref at Dduw. Rhaid ei dori oddiar yr hen gyff yn llwyr cyn ei impio i'r newydd; ei daflu oddiar dywod cyn y daw i orphwys ar y graig. "Ah," ebe rhyw un, "y mae yr ymadrodd yn rhy galed, y porth yn rhy gul; pwy all wrando? pwy all gymeryd y fath iau? a phwy all fyned i mewn trwy borth mor gyfyng? Beth! dynion i edrych ar eu trueni, i ymwadu â hwy eu hunain, tynu y llygad deheu, y pleser anwylaf yn y byd!" Fy enaid, os ydwyt wedi dy argyhoeddi o bechod nid oes dim yn rhy galed i'w wneyd, ond cael trugaredd. Pa gyffeiriau sydd yn chwerw i'r claf, os bydd gobaith gwellhad trwyddynt? Pa afael sydd yn rhy galed i godi dyn, pan yn boddi, i'r lan o'r dwfr? Pa delerau sydd yn rhy galed i bechadur yn yr olwg ar ei drueni, ond cael dianc byth gan ei Farnwr? Mae yn gwaeddi yn groch, pan yn y teimlad o'r sefyllfa hon, "Bywyd, bywyd, ar ryw delerau; Crist, trugaredd, iachawdwriaeth, diangfa i'r enaid rhag tân uffern, serch colli y fraich, y llygad, y pen, y bywyd; diangfa ar y telerau a fyno Duw." Y pethau hyn sydd yn hollol ddiwerth i ddyn heb ei argyhoeddi. Gwnaeth y rhai a wahoddasid yn ysgafn o'r ddarpariaeth; yr oedd ganddynt hwy ryw beth gwell mewn golwg. Yr oedd yr ychain gan un yn fwy na'r enaid, y wraig gan y nesaf, y tyddyn gan y llall. Y peth hawsaf i'w golli o bob peth yw enaid, gan ddyn yn byw mewn tywyllwch. Pwy gymer drafferth i gadw dim, os na fydd yn argyhoeddedig o'i werth? Y rhai sydd yn glaf, ac yn teimlo eu dolur, yn unig sydd ag eisiau meddyg; y clwyfus sydd yn gwaeddi am blastr, y llwythog sydd ag eisiau esmwythad, y tlawd sydd ag eisiau cyfoeth y nefoedd. Pan mewn carchar y gwelir gwerth maddeuant, mewn trueni y gwerthfawrogir trugaredd, mewn colledigaeth y mae Ceidwad yn dyfod o uchel bris. Nis gwelwch *werth* yn Nghrist hyd nes y teimloch ei eisiau; yna y mae yn dyfod yn benaf, yn rhagori ar ddeng mil. Mae y ddeddf yn dyfod

yn ysgolfeistr, yn athraw i ni at Grist; yn ein hargyhoeddi o bechod, ac yn ein lachio oddiwrth bechod, nes yr ydym yn ffoi rhag ein pechodau i fynydd Sïon; oddiwrth y gyfraith at yr efengyl, ac oddiwrth Moses at Grist.

Y mae Duw yn gweled digon yn nghyflawnder Crist i arbed am byth bawb a ddelo yno. Dewch yn y blaen, fy nghyfeillion; ffowch oddiwrth eich pechodau at waed y groes; y mae yma berffeithrwydd digon mawr i guddio anmherffeithrwydd y credinwyr i dragywyddoldeb. "Canys y gyfraith sydd yn gwneuthur dynion â gwendid ynddynt yn arch-offeiriaid: eithr gair y llw, yr hwn a fu wedi y gyfraith, sydd yn gwneuthur y Mab, yr hwn a berffeithiwyd yn dragywydd," Heb. vii. 28. Mae y Tad yn gweled digon yn y Mab, yr hwn a berffeithiwyd yn dragywydd, gogyfer a phechod yn ei holl ysgelerder anfeidrol a thragywyddol. Bydd pechod yn bla tragywyddol, oddieithr ei ddileu yn mherffeithrwydd Crist. Yr ydym wedi pechu yn erbyn yr Anfeidrol, a buasem wedi ei ddifodi, pe gallasem; felly y mae anfeidroldeb a thragywyddoldeb o ddrwg mewn pechod. Cospedigaeth *dragywyddol* sydd yn uffern am bechodau a gyflawnwyd mewn *amser*. Ond, bendigedig yn oes oesoedd, nid oes digon mewn anfeidroldeb a thragywyddoldeb o bechu i sychu i fyny ffynonell cyfiawnder yr Arglwydd Iesu. "Anchwiliadwy olud Crist!" Dyma werth nas gall y ffydd gryfaf ddirnad, na'r pechodau mwyaf sychu. Diolch, nid yn unig y mae y cyfiawnder hwn yn ddigon, ond y mae yn *rhad*. "Yr hyn oll y mae y Tad yn ei roddi i mi a ddaw ataf, a'r hwn a ddel ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim," Ioan vi. 37. Y mae ffydd yn rhedeg i'w freichiau agored, gan waeddi, "O cymer drugaredd arnaf;" fel plentyn yn rhedeg mewn ofn rhag rhyw berygl mawr i freichiau tad. Mae ffydd yn cydio yn Nghrist fel dyn pan yn suddo yn y dwfr, yn ymaflyd â'i holl egni yn y brigyn, neu y peth tebycaf i'w achub. Mae y pechadur yn ffoi rhag y gyfraith i freichiau a mynwes ein hanwyl Iesu, gan waeddi, "'Achub fi, darfu am danaf;' 'cudd fi yn yr agen sydd yn y graig;' yn y ddinas noddfa rhag dialydd y gwaed."

Y mae y dymuniadau yn gryfion, eithr y mwynhad sydd yn wan; eto y mae penderfyniad i lynu wrth Grist, ac ofn ar yr un pryd y gwrthodir ef. Mae yr enaid yn hoffi y Gwaredwr, ond yn ei weled yn rhy dda ac yn rhy fawr iddo ef. Mae yn dywedyd, "Nid wyf deilwng," er hyny yn ymborthi

ychydig ar yr un pryd ar y llo pasgedig. Mae efe yn wan, fel nas gall wneyd dim, ac eto yn dymuno gwneyd y cwbl. Os nad oes ganddo wybodaeth na gallu, y mae ganddo *ddymuniadau*. Os ydych am wybod a oes genych ffydd ai peidio, ymchwiliwch a ydyw Duw wedi gweithio ynoch deimlad o'ch pechadurusrwydd; a ydych yn deimladwy am yr angen am gyflawnder Crist i'ch achub? A oes genych ddymuniadau cryfion am Grist? a ydych yn ceisio ffoi ato bob dydd am gysgod? Mae graddau, chwi welwch, mewn ffydd; rhai yn gryf a rhai yn wan; eto y mae pawb yn gywir a gwirioneddol. "Y rhai a gawsant gyffelyb werthfawr ffydd a ninau, trwy gyfiawnder ein Duw ni, a'n Hachubwr Iesu Grist," 2 Pedr i. 1. Yr un o ran natur, nid maintioli. Yr ydym yn darllen am ffydd wan: "Chwi o ychydig ffydd;" ac am ffydd gref: "Mawr yw dy ffydd." Nid yw pawb dynion yr un oedran, o'r un maint, nac o'r un cryfder. Nid yw yr holl brenau yr un hyd; felly nid yw yr holl gredinwyr yr un cymaint mewn ffydd yn Nghrist. Mae rhai babanod, rhai dynion ieuainc, a rhai henafgwyr yn Nghrist. Mae y ffydd wanaf yn foddlon i gymeryd Crist ar delerau yr efengyl yn y cwbl ag ydyw; i roddi ufudd-dod iddo yn gystal a chaffael iachawdwriaeth ganddo; i wasanaethu yn gystal a derbyn rhagorfreintiau; glynu wrth ddyledswyddau yn gystal a derbyn trugareddau. Os trengaf, mi drengaf wrth dy draed. Mae llawer am gael gafael ar Waredwr i'w cadw rhag uffern, ond nid rhag pechodau; eu gwaredu rhag peryglon, nid eu santeiddio; eu gwneyd yn ddedwydd, nid yn lân; i faddeu eu pechodau, nid eu golchi oddiwrth aflendid; cael y gogoniant, nid y gras. Eithr y mae y credadyn gwan yn dywedyd gyda Dafydd, nid yn unig, "Cudd dy wyneb rhag fy mhechodau;" ond hefyd, "Crea galon lân ynof, O Dduw, ac adnewydda ysbryd uniawn o'm mewn." Yr oedd Balaam yn dymuno marw o "farwolaeth yr uniawn," a bod ei ddiwedd fel yr eiddo yntau. Eithr y mae y credadyn gwanaf yn y greadigaeth am *fyw* a *marw* gyda'r cyfiawn.

(2.) Yr ail wahaniaeth sydd rhwng y rhagrithiwr a'r credadyn gwan, yw bod dymuniadau crefyddol y rhagrithiwr yn ddarfodedig, nid yn barhaus. Dymuna feddianu Crist yn gysgod mewn gofidiau ac ystormydd cydwybod, eithr yn darfod gyda'r amgylchiadau. Mae dymuniadau y credadyn, er yn wan, yn barhaus. "Yn ymestyn hyd adgyfodiad y meirw."

(3.) Y mae dymuniadau y rhagrithiwr yn wamal ac arwynebol. Mae yn troi gyda phob peth; yn cael ei daflu a'i chwalu gan y don. Mae y credadyn yn angerddol; ni thry yn ol er dim. Fel y wraig o Ganaan, yn glynu fwyfwy er yr holl guro i lawr. "Nid gweddus cymeryd bara y plant a'i daflu i'r cwn. Gwir, Arglwydd; ond y mae y cwn yn cael y briwsion." Yr wyf fi yn foddlon ar y briwsion gyda'r cwn. Fy nghyfeillion, chwi welwch fod newyn yn tori trwy bob peth at y bara. Dymuniad, mewn credadyn gwan, a dŷn trwy fur o geryg. Mae fel cariad, "yn gryf fel angau;" ac fel syched Dafydd am ddwfr o ffynon Bethlehem; neu ddymuniad Crist yn nghylch bwyta y pasg olaf. "Mi a chwenychais yn fawr fwyta y pasg hwn gyda chwi cyn dyoddef o honof," Luc xxii. 15. Chwenychiad cryf oedd hwn. Boddlonir dymuniadau gwan â phethau bychain weithiau. Mae y plentyn yn dymuno y fron, a'r fam yn rhoddi rhyw degan yn ei law i'w ddifyru, a thrwy hyny ei lonyddu ar y pryd. Mae diafol yn fynych yn gosod elw neu ryw bleser yn llaw dyn, i'r dyben o dynu ymaith ei ddymuniadau oddiwrth Dduw; ac y mae yn llwyddo yn aml i ddifyru, a thrwy hyny dynu dymuniadau yr enaid oddiwrth yr Arglwydd, nes ei wanychu yn ddirfawr. Er hyny, nid oes dim a *ddigona* ond y pethau a *ddymunir*. Y mae dymuniadau gwirioneddol yn dywedyd, fel Rachel, "Dyro i mi blant, onide yr wyf yn marw." "Dyro Grist i mi," medd yr enaid, "onide yr wyf yn trengu." Mae y galon yn barod i lesmeirio mewn dymuniadau am yr Arglwydd Iesu. Nid oes dim ond gras a ddiwalla ras.

3. Y mae ffydd, er yn wan, yn llafurio i gyrhaedd ei dymuniadau. Oni wna efe ddarllen, gwylio, gweddio, ymarfer ei hun i dduwioldeb yn mhob rhyw fodd i gyrhaedd hyn? Mae dymuniadau angerddol am Grist yn cynyrchu ymdrechion annghyffredinol i'w feddianu. "Lliw nos yn fy ngwely y ceisiais yr hwn a hoffa fy enaid; ceisiais ef, ac nis cefais," ebe yr eglwys yn y Caniadau. "Codaf yn awr, ac âf o amgylch y ddinas, trwy yr heolydd a'r ystrydoedd; ceisiaf yr hwn a hoffa fy enaid; ceisiais ef, ac nis cefais. Y gwylwyr y rhai a aent o amgylch y ddinas a'm cawsant: gofynais, A welsoch yr hwn sydd hoff gan fy enaid? Nid aethum i nepell oddiwrthynt, hyd oni chefais yr hwn sydd hoff gan fy enaid: deliais ef, ac nis gollyngais, hyd oni ddygais ef i dŷ fy mam, ac i ystafell yr hon a'm hymddyg," Can. iii. 1—4.

4. Y mae ffydd wan yn cynwys ynddi *ufudd-dod.* Er na all hòni hawl yn yr addewidion, eto y mae yn cofleidio y gorchymynion; nid yw yn gallu cymeryd gafael *sicr* yn y bendithion, er hyny mae yn caru y gwasanaeth. Er nad yw yn berffaith sicr a yw y Tad wedi rhoddi ei Fab yn etifeddiaeth iddo, eto y mae yn gwybod ei fod yn ceisio rhoddi ei hun i Grist bob dydd. Nid yw yn gwybod a ydyw Crist yn ei dderbyn pan y mae yn ceisio dyfod ato; eto y mae yn parhau i ddyfod. Er na all ddywedyd gyda Mair, "Fy Ngwaredwr," gall ddweyd gyda Thomas, "Fy Arglwydd." Mae eisiau ychwaneg o nerth ar ffydd wan i ymdaflu i freichiau Crist am achubiaeth; y mae yn parhau i fwrw ei hun wrth ei draed mewn gwasanaeth. Er nad oes ganddi oleuni *cysur*, eto y mae yn rhodio wrth oleuni y gorchymynion. Er heb oleu yr haul, eto y mae yn rhodio wrth oleu y ganwyll. Nid oes yr un ddyledswydd gristionogol nad yw yn dymuno rhodio ynddi a'i chyflawni.

5. Y mae ffydd wan yn suddo mewn galar o herwydd ei gwendid. Mae yn gwneyd i fyny diffyg *gwybodaeth* mewn *ymostyngiad*. Mae eisiau *mwy* o wybodaeth, neu sicrwydd ffydd; y mae peth arwyddion, ond fod y *pulse* yn curo yn wan. Mae yn debyg i'r dyn yn yr efengyl, yn dymuno mewn dagrau am gynorthwyo ei annghrediniaeth. "O cymer afael arnaf, canys ni fedraf gymeryd gafael arnat ti. Pletha, O Arglwydd, freichiau trugaredd am danaf, y rhai nis dadblethir byth; ïe, breichiau cariad tragywyddol, y rhai nis gallant byth ymagor! Y Duw mawr, bendithiaf dy enw byth am ddyogelwch y breichiau tragywyddol: gwasg fi yn dy gol." Diolch! y mae dysgwyliwr gostyngedig wrth yr Arglwydd yn well na beilchion y byd. "Dysgwyliaf am yr Arglwydd; dysgwyl fy enaid; ac yn ei air ef y gobeithiaf," Sal. cxxx. 5. Fy mrodyr, fe ddaw y gwan yn gryf yn y man, ond i chwi ddal ati am dipyn bach.

6. Y mae *santeiddrwydd* mewn ffydd wan. "Eich santeiddiaf ffydd," Judas 20. Mae santeiddrwydd calon yn hanfodol i breswyliad ffydd. Mae yr enaid yn myned o dan lanhad yn ei gwbl oll, ac yn cael ei wneyd yn drysordy gras. Yn ol graddau santeiddrwydd y mae gweithrediad pob gras yn yr enaid. Fel ffynon a ffrydiau; nid yw y ffrydiau yn codi yn uwch na'r ffynon. Er bod ffydd yn wan, y mae yn cynyrchu santeiddrwydd: y mae rhyngu bodd Duw yn ei natur. Nid yw y pren bychan yn dwyn *cymaint* o ffrwyth

a'r pren mawr, eto y *mae* yn dwyn ffrwyth, a ffrwyth da hefyd.

7. Nid yw ffydd wan yn *ymfoddloni* mewn gwendid. Mae yn ymorchestu ac yn llafurio am ychwanegiad nerth. Mae yn tyfu yn raddol hefyd, canys y mae tyfiant a chynydd yn ei natur. Mae fel y baban, "yn chwenychu didwyll laeth y gair," i'r dyben i gynyddu trwyddo ef. Mae syched am fod yn ddyn yn y plentyn, ac y mae syched yn y cristion i fod fel Crist. Nid yw ffydd yn rhy wan i ddymuno bod yn gryfach, a sugno bronau gweinidogaeth yr efengyl. Fel hyn, fy mrodyr, y daw y gwan yn gryf, y dyn bach i'w gyflawn faintioli, yr "eiddil yn goncwerwr mawr." Bendigedig am obaith ymgyfarfod "yn undeb ffydd, a gwybodaeth Mab Duw, yn wr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist. Fel na byddom mwyach yn blantos, yn bwhwman, ac yn ein cylcharwain â phob awel dysgeidiaeth, trwy hoced dynion, trwy gyfrwysdra, i gynllwyn i dwyllo: eithr gan fod yn gywir mewn cariad, cynyddu o honom iddo ef yn mhob peth, yr hwn yw y Pen, sef Crist; o'r hwn y mae yr holl gorph wedi ei gyd-ymgynull a'i gyd-gysylltu trwy bob cymal cynaliaeth, yn ol y nerthol weithrediad yn mesur pob rhan, yn gwneuthur cynydd y corph, i'w adeiladu ei hun mewn cariad," Eph. iv. 13—16.

8. Y mae mewn ffydd wan ymlyniad diysgog wrth Grist. Mae diffygion gweled yn cael eu gwneyd i fyny mewn *ymlyniad*. Gofynwch i ffydd, ïe, ffydd wan, a werth hi Grist am y byd hwn a'i holl ogoniant? Ah, caech ateb buan i hyny yn ddibetrus. Dywedai fod un Crist yn fwy o werth na deng mil o fydoedd. Y mae "cadw enaid rhag angau, a chuddio lluaws o bechodau," yn nglyn ag ymddiried yn Nghrist; ac fe gollir yr enaid anfarwol byth mewn cysylltiad â mil o fydoedd. Gan hyny, Crist i mi, ac eled y byd ar dân. Byddai atebiad ffydd yn lled debyg ï ateb Naboth i Ahab yn nghylch y winllan. "Ac Ahab a lefarodd wrth Naboth, gan ddywedyd, Dyro i mi dy winllan, fel y byddo hi i mi yn ardd lysiau, canys y mae hi yn agos i'm tŷ i: a mi a roddaf i ti am dani hi winllan well na hi; neu, os da fydd genyt, rhoddaf i ti ei gwerth hi yn arian. Naboth a ddywedodd wrth Ahab, Na ato yr Arglwydd i mi roddi treftadaeth fy henafiaid i ti," 1 Bren. xxi. 2, 3. Mae rhyw fath o ffydd amserol, yr hon sydd yn ymglymu gyda chrefydd hyd nes delo profedigaeth, "eithr yn amser profedigaeth yn cilio."

Fel ceiliog y gwynt, yr hwn sydd wedi ei osod ar benau tai i droi gyda phob awel; y mae hwnw weithiau a'i ben tuag yma, ond mor gynted ag y try y gwynt, bydd ei ben lle y mae ei gynffon yn awr. Eithr y mae yn natur ffydd, bydded cyn waned ag y byddo, i ymlynu wrth Grist yn wyneb pob temtasiwn, trwy y tew a'r tenau, hyd y diwedd. "Mi a adwaen dy weithredoedd," ebe Crist wrth eglwys Philadelphia. "Wele, rhoddais ger dy fron ddrws agored, ac ni ddichon neb ei gau: canys y mae genyt ychydig nerth, a thi a gedwaist fy ngair, ac ni wadaist fy enw," Dat. iii. 8. Mae yn bosibl i ffydd wan, a chryf hefyd, o ran hyny, gwympo am amser o flaen temtasiynau, fel y gwnaeth Pedr a llawer eraill. Mae nerth llygredigaeth yn gryf iawn, a gall orthrechu ffydd; ond y mae ffydd yn codi ei phen eilwaith, er ei churo i lawr ganwaith, ac fel y nodwydd, yn cyfeirio i'r *North Pole.* Peidiwch a digaloni, fy anwyl frodyr, os ydych yn weiniaid; canys—

(1.) Y mae y radd leiaf o wir ffydd yn gadwedigol yn gystal a'r radd fwyaf. "Canys trwy ras yr ydych yn gadwedig, trwy ffydd; a hyny nid o honoch eich hunain: rhodd Duw ydyw. Nid o weithredoedd, fel nad ymffrostiai neb. Canys ei waith ef ydym, wedi ein creu yn Nghrist Iesu i weithredoedd da, y rhai a ddarparodd Duw, fel y rhodiem ni ynddynt," Eph. ii. 8—10. Mae y wreichionen yn dân mor berffaith a'r fflamau sydd yn llosgi i entrych awyr; y mae y dyferyn yn ddwfr mor wirioneddol a'r ffrydiau cryfion, neu y moroedd llydain. Felly mae ffydd, er yn wan, mor wirioneddol a chadwedigol a'r un fwyaf yn y byd; y mae cadwedigaeth yn gylymedig wrthi. Bendigedig, dyma le i'r gwan gael tipyn o'i anadl ar y rhiwiau.

(2.) Er bod ffydd yn wan, y mae yn *cynyddu.* Y mae gweithredoedd Duw mewn natur a gras yn gyffredin o ddechreuad bychan, ac yn myned rhagddynt mewn cynydd graddol. Maent wedi eu creu i gynyddu. Fe welwyd y gedrwydden uchaf un diwrnod yn frigyn gwan. Gwelwyd y dderwen gadarnaf yn Nghymru yn fesen dyner. Mae y tân mwyaf a welwyd, fe allai, wedi ei gyneu gan y wreichionen leiaf. Felly fe ddechreuodd y ffydd fwyaf mewn hedyn bach; cyneuwyd tân na ddiffydd byth â gwreichionen fach o gariad at y Gwaredwr. Y pethau hyny na fwriadodd Duw iddynt gynyddu, fe'u creodd yn berffaith ar unwaith, megys haul, lloer, &c.; eithr y rhai y bwriadodd gynydd iddynt a wnawd

yn fychan. Y mae yr Arglwydd Iesu yn cydmaru ffydd i'r pethau hyny ag sydd yn cyrhaedd perffeithrwydd trwy gynyddu. Y mae, eb efe, "megys gronyn o had mwstard, yr hwn a gymerodd dyn, ac a hauodd yn ei faes; yr hwn yn wir sydd leiaf o'r holl hadau; ond wedi iddo dyfu, mwyaf un o'r llysiau ydyw, ac y mae efe yn myned yn bren; fel y mae adar y nef yn dyfod, ac yn nythu yn ei gangau ef," Mat. xiii. 31, 32. Hedyn yw ffydd, fy nghyfeillion, ond hedyn yn tyfu, a hedyn i fod yn bren mawr yn y diwedd. Na ddigalonwch os yw ffydd yn wan; meithrinwch hi: mae defnydd cynydd ynddi. Mae yr hedyn mwstard, er cyn lleied ydyw, i ledu ei gangenau, ac i fod yn ddigon mawr i roddi cysgod i holl adar y nefoedd. Diolch, mae gobaith i'r gwan ei ffydd!

(3.) Y mae ffydd, er yn wan, yn ffurfio undeb â *Gwaredwr cryf*. Y mae yn dyfod ag enaid at Grist, yn ei impio i mewn iddo ef; yn ei wneyd yn aelod o'i gorph ef; yn gangen yn y winwydden, ac y mae yn tynu rhinwedd o'r gwreiddyn yn gystal a'r gangen fwyaf. Er yn wan, y mae mewn cymundeb â phethau cryfaf Duw; sef angau, gwaed, a theilyngdod ei anwyl Fab. Os ydwyt ti yn wan, fy nghyfaill, y mae Duw yn gadarn; os ydwyt yn anmherffaith, y mae efe yn lân, ac yn glanhau; os ydwyt yn dywyll ac yn anwybodus, y mae efe yn oleuni ac yn ddoethineb. Mae ei burdeb, ei ddoethineb, ei allu, ïe, ei gwbl yn eiddot ti trwy ffydd. *The palsied hand can tie the marriage knot*—mae y llaw wan yn gallu cylymu y cwlwm priodas. Bendigedig! y mae ffydd *wan* wedi cylymu cylymau na ddetyd holl allu amser a thragywyddoldeb hwynt byth. "Y mae yn ddyogel genyf na all nac angau, nac einioes, nac angylion, na thywysogaethau, na meddianau, na phethau presenol, na phethau i ddyfod, nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd," Rhuf. viii. 38, 39.

(4.) Y mae gan ffydd wan hawl gyflawn yn nghariad a holl addewidion Duw. Mae gwahaniaeth rhwng *gwendid* ac *angau;* ac y mae gwahaniaeth dirfawr rhwng ffydd *wan* ac *annghrediniaeth;* ïe, y mae cymaint o wahaniaeth rhyngddynt ag sydd rhwng nefoedd ac uffern. Diolchwch am y radd leiaf o wir ffydd, canys aur pur ydyw; ac y mae hwnw yn werthfawr, bydded cyn lleied ag y byddo. *It is the pure metal*—y fetel pur ydyw. Peidiwch a diystyru yr ychydig am nad oes genych lawer, eithr marchnatewch nes yr elo y

dalent yn ddeg: bwytewch, a chynyddwch. "Y bychan a fydd yn fil, a'r gwael yn genedl gref: myfi yr Arglwydd a brysuraf hyny yn ei amser," Esay lx. 22. Bellach, fy mrodyr, ni a edrychwn ychydig ar weithrediadau ffydd *gref*, a gadawn yr un wan i gynyddu.

Y mae ffydd gref yn gosod *gwerth* uchel iawn ar yr Arglwydd Iesu. Y mae ffydd wan yn cyfranogi o Grist, deallwch, eithr heb ddyfod eto i roddi y fath bris annhraethadwy arno ag y bydd pan y daw yn gryfach. Mae Crist yn codi mewn bri yn y meddwl gyda chynydd ffydd. Yn ol y ffydd y gwerthfawrogir Crist. Pob gradd o gynydd ar ffydd, y mae yr Arglwydd Iesu yn codi gradd yn meddwl y pechadur. "I chwi y rhai ydych yn credu y mae yn urddas;" a pha fwyaf y credoch ynddo, mwyaf gwerthfawr y bydd gan eich eneidiau.

Y mae ffydd fawr yn codi Crist yn yr enaid uwchlaw cysuron, dedwyddwch, golud, perthynasau, ïe, holl uchder y bywyd hwn, a'r hwn a fydd hefyd. Nid oes dim ar y ddaear heb Grist, na dim yn y nefoedd heb Grist. Crist yn gyntaf, pob peth arall wedi hyny. "Pwy sydd genyf fi yn y nefoedd ond tydi? ac ar y ddaear ni ewyllysiais neb gyda thydi." "Nesâu at Dduw sydd dda i mi; yn yr Arglwydd Dduw y gosodais fy ngobaith, i draethu dy holl weithredoedd." Mae ffydd gref yn gweled yn glir holl ddefnyddiau dedwyddwch yn yr Arglwydd Iesu. "Eithr y pethau oedd elw i mi, y rhai hyny a gyfrifais i yn golled er mwyn Crist. Ië, yn ddiamheu, yr wyf hefyd yn cyfrif pob peth yn golled, o herwydd ardderchawgrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd; er mwyn yr hwn y'm colledwyd yn mhob peth, ac yr wyf yn eu cyfrif yn dom fel yr ynillwyf Grist. Ac y'm ceir ynddo ef heb fy nghyfiawnder fy hun, yr hwn sydd o'r gyfraith, ond yr hwn sydd trwy ffydd Crist, sef y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd. Fel yr adnabyddwyf ef, a grym ei adgyfodiad ef, a chymdeithas ei ddyoddefiadau ef, gan fod wedi fy nghydffurfio â'i farwolaeth ef," Phil. iii. 7—10.

Y mae ffydd gref yn cynyrchu yn yr enaid deimlad cryf o'r angen am Grist, a theimlad cryf o angen yn gwasgu yn gryf at yr Hwn yn unig all ddiwallu. Fel y mae yr enaid yn gweled euogrwydd ynddo ei hun, y mae yn gweled hefyd yr angenrheidrwydd am gyfiawnhad trwy ffydd yn Nghrist Iesu. Pan y mae yn gweled halogedigaeth, y mae hefyd yn gweled angen y "gwaed sydd yn glanhau oddiwrth bob

pechod." Pan y mae yn edrych, ac yn canfod grym pechod, y mae yn ymddiried fwyfwy yn ngrym Crist. Pan y gwelir yn oleu nad oes dim ond marw i bob tragywyddoldeb heb Grist, y mae yn rhaid fod pris uchel yn cael ei roddi ar Geidwad yn yr olygfa hono. Y mae ffydd *wan* yn adnabod Crist, ond y mae gan ffydd gref wybodaeth mwy perffaith o hono. Mae yn wir mai nid *gwybodaeth* o bethau sydd yn eu gwneyd yn werthfawr; yr oeddynt yr un mor werthfawr cyn i ni wybod am danynt: eithr gwybodaeth o honynt sydd yn eu gwneyd yn werthfawr i ni. Gall fod tlysau yn nwylaw dyn anwybodus, eithr nid ydyw efe yn eu gwerthfawrogi am na ŵyr eu gwerth. Ond pan y delo yr *un* pethau i ddwylaw y gwybodus, y maent yn cael y gofal a'r parch mwyaf; felly adnabod Crist sydd yn ei wneyd yn werth anmhrisiadwy i'r enaid. Yr ydych yn gweled fod i chwi ran ynddo, a hono yn etifeddiaeth dragywyddol, am hyny yr ydych yn rhwym o roddi pris uchel arno. Cael Crist yw cael pob peth; ei golli yw colli y cwbl. Er nad yw Crist heddyw yn werth dim gan filoedd, y mae yn werth anfeidrol yn ngolwg y rhai oll ag sydd yn ei feddianu; a pha fwyaf y ffydd, mwyaf y gwerth sydd mewn Ceidwad. Y mae Crist i filoedd yn nghudd o dan ryw dwmpath o dywod; eithr y mae ffydd yn troi y *rubbish* ymaith, yn symud yr holl sorod oddiar y ffordd, ac yn canfod y wythien aur, y cyfoeth tragywyddol yno. Y mae yn canfod Crist, ac yn gallu dywedyd yn yr olwg arno, "Y mae efe yn eiddo i mi yn ei gwbl. Myfi biau ei gyfiawnder—dyna fy nillad i; myfi biau y goludoedd gras sydd yn drysoredig ynddo—dyna fy nghyfoeth i am dragywyddoldeb; myfi biau ei ogoniant—dyna fy nefoedd i; ïe, myfi a'i piau ef ei hun a'r cwbl fedd." Gogoniant! "Fy anwylyd sydd eiddo fi, a minau yn eiddo yntau," Can. ii. 16. Bellach, gadewch i ni sylwi ar rai o'r arwyddion o fod Crist yn werthfawr gan ein heneidiau.

1. Y mae dynion yn cymeryd poen yn nghylch y pethau y maent yn eu gwerthfawrogi. Nid oes dim yn ormod i'w wneyd, fy nghyfeillion, i enill Crist, na dim yn ormod i'w wneyd er talu parch iddo, wedi ei enill.

2. Ymfoddlonir i golli y cwbl er mwyn Crist, os bydd galwad. Nis gwerthfawrogir yr Arglwydd Iesu oll, os na werthfawrogir ef uwchlaw y cwbl.

3. Nid oes byth digon o Grist gan y rhai sydd yn ei wir werthfawrogi. Y maent am yfed rhagor, ac wrth yfed yn

sychedu fwyfwy, nes yfed gydag ef yn dragywydd yn nheyrnas nefoedd. Mae yr holl ymddygiad yn profi a oes genym wir barch i'r Arglwydd Iesu. Os nad ydych yn cymeryd poen i'w sicrhau yn eiddo i chwi, ac yn foddlon i ymadaw â'r cwbl er mwyn ei gadw, nid ydych yn eiddo iddo.

4. Os ydyw yn *werthfawr*, y mae yn werthfawr i *gyd*. Nid yn unig yn werthfawr yn ei berson a'i waed, ond hefyd yn ei lywodraeth, ei ddeddfau, a'i wirionedd. Nid ydym i dynu allan rai pethau yn Nghrist, a gwrthod y lleill; y mae yr oll o Grist yn werthfawr i'r hwn sydd yn ei garu, ac nid oes dim i'w wrthod. Mae y gwir gristion wedi gweled cymaint o ardderchawgrwydd yn ngwirionedd Crist, fel y mae wedi anturio a pheryglu y cwbl yn hytrach nag aberthu un o'r gwirioneddau hyn. Llawer o'r saint, yn nyddiau Mari waedlyd, a anturiasant i golledigaeth mewn byd amserol, er mwyn cadw gwirionedd Crist, a byw yn dragywyddol drwyddynt. Y mae yn rhaid peidio a phlygu i'r ddelw aur, os bydd Duw yn dyweyd wrthych am beidio. Os ydych yn gryf yn y ffydd, yr ydych yn gryf yn mhob gras arall; os yn wan mewn ffydd, yn wan yn mhob peth. Y mae cryfder ffydd yn gweinyddu nerth i bob dawn ysbrydol.

(1.) Y mae i ffydd gref serchiadau cryfion. Pa fwyaf y ffydd, mwyaf a ganfyddir o ogoniant ac ardderchawgrwydd yn yr Arglwydd Iesu. Mae ffydd wan yn gweled Crist fel mewn ystafell gul, yn debyg fel yr ydym yn gweled darlun o'r byd; eithr y mae ffydd gref yn ei weled fel yr ydym yn gweled y byd hwn, yn fwy tebyg iddo ei hunan. Mae yr olygfa yn fwy goleu a chlir. Y mae llygaid ffydd fel gwydryn llosgedig, pan yn edrych ar ogoniant Crist, ac yn gosod y galon hefyd ar dân o gariad ato.

(2.) Y mae gan ffydd gref *sicrwydd* cryf. Mae yn teimlo nid yn unig fod Crist yn werth anfeidrol, ond hefyd fod y gwerth anfeidrol hwnw yn feddiant sicr. Mae meddiant yn sail cariad yn gystal a gogoniant. Yr ydym yn caru ein gwragedd a'n plant yn fwy, o gymaint mai ein meddiant ni ydynt. Nid oes dim gwaith dros Grist yn rhy galed i gariad ei wneyd; braidd y mae cariad yn adnabod caled-waith. Nid oedd Jacob yn gweled y blynyddoedd yn ddim y gwasanaethodd am Rachel. Nid oedd yr amser yn hir, na'r gwaith yn drwm; yr oedd y beichiau yn ysgafn, canys yr ydoedd yn ei charu. "A Jacob a hoffodd Rahel, ac a ddywedodd, Mi a'th wasanaethaf di saith mlynedd am Rahel, dy ferch ieu-

angaf. Felly Jacob a wasanaethodd am Rahel saith mlynedd: ac yr oeddynt yn ei olwg ef fel ychydig ddyddiau, am fod yn hoff ganddo efe hi," Gen. xxix. 18, 20. Os ydym ninau yn caru Crist, ni bydd dim yn feichus a wneir er ei fwyn. Dyoddefodd y merthyron garchar ac angau, ac "nid gwerthfawr ganddynt eu heinioes eu hunain," mewn cymhariaeth i'r Arglwydd Iesu. Ië, fy nghyfeillion, nid gwerthfawr dim ar y draul o golli Crist. Y mae cariad at y Gwr fu ar y groes yn dân anniffoddadwy; y mae yn llosgi yn y dwfr, ac y mae "dyfroedd lawer yn methu ei foddi" na'i ddiffoddi, er arllwys arni am fwy na deugain mlynedd. Bendigedig! fe sych y wreichionen gariad yr afon fawr yn y man. Pan y mae Duw yn gorfod rhoddi llawer o gystuddiau, nid ydynt yn sychu cariad ato yn yr enaid. "Pe lladdai efe fi, eto mi a obeithiaf ynddo ef," Job xiii. 15. Nid yw ein gweithredoedd ni tuag at Dduw yn lleihau dim ar ei gariad tuag atom; felly nid yw goruchwyliaethau Rhagluniaeth, er yn arw, yn oeri dim ar ein cariad ninau tuag ato yntau. "Arglwydd," ebe Calfin, "os ydwyt yn fy ngharu, gwna beth a fynot i mi." "Hyn oll a ddaeth arnom," medd yr eglwys; "eto ni'th annghofiasom di, ac ni buom anffyddlon yn dy gyfamòd. Ni throdd ein calon yn ei hol, ac nid aeth ein cerddediad allan o'th lwybr di; er i ti ein curo yn nhrigfa y dreigiau, a thoi drosom â chysgod angau; os annghofiasom enw ein Duw, neu estyn ein dwylaw at dduw dyeithr; oni chwilia Duw hyn allan? Canys efe a ŵyr ddirgeloedd y galon. Ië, er dy fwyn y'n lleddir beunydd; cyfrifir ni fel defaid i'w lladd," Sal. xliv. 17—22. Os na byddom mewn llawer o gystuddiau mewn cysylltiad â gwasanaeth Duw, y mae perygl i'n serchiadau oeri tuag ato. Mae ffydd yn gweithredu yn gryfach mewn tywydd garw. Tyr ffydd gref drwy y môr, trwy yr anialwch, ïe, trwy bob profedigaethau ac anhawsderau at Grist. Mae cariad yn tynu yn y blaen; nid oes dim a fyno hi i edrych yn ol. Os yw Duw yn elyn, edrych yn ol y mae yr enaid, a chilio oddiwrtho; ond pan y canfyddir ef yn gyfaill, trwy ffydd, oll yn hawddgar a chariadus, nis gall yr enaid lai na'i garu. Os ffydd gref, gobaith cryf hefyd; os rhaff gref, angor gref.

(3.) Lle y mae ffydd gref, y mae amynedd *cryf*. Mae eisiau ysgwyddau cryfion i gario beichiau gorthrymderau. Mae ysgwyddau gweinion yn tori i lawr o dan feichiau trymion. Bydd yr Arglwydd yn cyfartalu beichiau a grym. Gall

ffydd gref dderbyn trugareddau, a bod yn *ddiolchgar;* a cholli trugareddau, a bod yn *amyneddgar.* "Canys myfi a ddysgais yn mha gyflwr bynag y byddwyf, fod yn foddlon iddo. A mi a fedraf ymostwng, ac a fedraf ymhelaethu: yn mhob lle ac yn mhob peth y'm haddysgwyd i fod yn llawn, ac i fod yn newynog; i fod mewn helaethrwydd ac i fod mewn prinder. Yr wyf yn gallu pob peth trwy Grist, yr hwn sydd yn fy nerthu i," Phil. iv. 11—13. Y mae arwyddion mabwysiad yn ngweithrediadau ffydd gref; y mae yn gweled Tad tirion yn mhob peth, ac yn ymostwng iddo. *It is like the philosopher's stone that turns everything into gold*—maen y philosophydd yw ffydd, yn troi bob peth yn aur. Y mae yn gweled Duw yn y cystudd yn burwr a glanhawr; yn edrych arno yn cymeryd y wyntyll yn ei law, ac yn codi gwynt cryf, ond i nithio, nid i chwalu; i gael y gwenith yn bur oddiwrth yr ûs. Y mae hi yn edrych ar yr Arglwydd yn cyneu tân, ac yn bwrw yr aur i'r ffwrn; eithr yn gweled y dyben grasol yn nghanol goruchwyliaethau chwerwon; *puro*, nid *dyfetha* yw yr amcan. "Ond efe a edwyn fy ffordd i: wedi iddo fy mhrofi, myfi a ddeuaf allan fel aur," Job xxiii. 10. Mae arnom eisiau goruchwyliaethau cryfion er marwhau llygredigaethau cryfion. Mae y garddwr yn gwybod pa bryd i ysgythru y coed, fel y dygont fwy o ffrwyth; y mae tymhor priodol i'w wneyd, pe gwnelid hyny mewn amser anmhriodol, crinai y prenau. Mae ffydd yn ymddiried yn noethineb y Garddwr mawr, ac yn ymostwng i'w driniaethau, gan gredu fod y cwbl er daioni. Y mae Duw yn ysgythru yr annuwiol, nes y mae yn gwywo a marw, ac yna ei fwrw yn y tân a'i lwyr losgi; eithr y mae yn trin y saint fel y dygont fwy o ffrwyth.

(4.) Cynyrch ffydd gref yw ufudd-dod cryf. Yn ol y ffydd y mae yr ufudd-dod. Gall y pren ieuanc, bychan, ddwyn cystal ffrwyth a'r pren mawr, ond nid *cymaint.* Cynyrchir ufudd-dod cyffredinol i Dduw gan ffydd *wan*, ac y mae ynddi *ddymuniadau* eang; eithr y mae ei gweithrediadau yn llai grymus. Y mae plentyn yn gallu gwneyd llawer o bethau, ond nid mor rymus a dyn mawr. Y mae ffydd wan yn gweddio, eithr nid mor gryf a chadarn a ffydd gref. Gwelir ffydd gref yn dylyn Duw yn wrol pan y mae ffydd wan bron yn llewygu. Ffydd gref sydd yn dylyn yr Oen pa le bynag yr elo. Trwy golled a thrwy enill, mewn dyoddefiadau ac mewn llwyddiant, mewn gwg a gwen, trwy barch ac anmharch, clod ac annghlod, hyd y diwedd. Edrychwch ar Abraham

yn ufuddhau i'r gorchymyn i aberthu ei fab, a gwelwch ffydd fawr yn cynyrchu ufudd-dod mawr. Yr oedd dyryswch yn y mater hwn hefyd, canys yr oedd fel pe buasai yn tori llawer o orchymynion a deddfau wrth gyflawni y gorchymyn hwn. Y mae dyledswydd fel yn gwrthwynebu dyledswydd; nid yn unig yr oedd natur a rheswm yn gwrthwynebu y weithred hon, ond y *gair* hefyd. Yr oedd yr ufudd-dod hyn yn ymddangos fel yn wrthwyneb i orchymynion, eto ufuddhaodd Abraham, gan adael yr anhawsderau i'w cysoni i'r Duw oedd yn gorchymyn. Yr oedd efe yn gadarn yn y ffydd, am hyny credodd i Dduw o dan yr anfanteision mwyaf. Y ffydd hono gredodd Duw ar ei air y cai fab, pan oedd pob annhebygoliaeth, sydd yn awr yn ufuddhau i'r gorchymyn, ac yn myned i fyny i'r mynydd i'w ladd. Chwi welwch, fy nghyfeillion, fod ffydd gref yn cynyrchu ufudd-dod cryf, yn *ddyoddefol* a *gweithredol.*

Y mae hi yn llawenhau wrth ddyoddef anmharch dros yr Arglwydd Iesu. "Gan ddewis yn hytrach oddef adfyd gyda phobl Dduw, na chael mwyniant pechod dros amser: gan farnu yn fwy golud ddirmyg Crist na thrysorau yr Aipht: canys edrych yr oedd efe ar daledigaeth y gwobrwy." "Canys er mwyn hyn yr ydym yn poeni, ac yn cael ein gwaradwyddo; o herwydd i ni obeithio yn y Duw byw." "Cymerasoch eich ysbeilio am y pethau oedd genych yn llawen; gan wybod fod genych i chwi eich hunain olud gwell yn y nefoedd, ac un parhaus;" Heb. xi. 25; 1 Tim. iv. 10; Heb. x. 34. "Cymerasoch eich ysbeilio am y pethau oedd genych yn *llawen;*" fel pe buasai y gelyn wedi gwneyd caredigrwydd mawr â hwynt, trwy symud baich trwm oddiar eu cefnau. Os bydd eisiau, gall ffydd gref roddi y bywyd i lawr dros yr Arglwydd Iesu. Edrychwch ar yr apostolion, a'r llu ardderchog o ferthyron; dyna "gwmwl o dystion wedi ei osod o'n hamgylch" i'n cynorthwyo i redeg yr yrfa a osodwyd o'n blaen ni. "Gan edrych ar Iesu, Pentywysog a Pherffeithydd ein ffydd ni; yr hwn, yn lle y llawenydd a osodwyd iddo, a ddyoddefodd y groes, gan ddiystyru gwaradwydd, ac a eisteddodd ar ddeheulaw gorseddfainc Duw. Ystyriwch gan hyny yr hwn a ddyoddefodd gyfryw ddywedyd yn ei erbyn gan bechaduriaid, fel na flinoch, ac nad ymollyngoch yn eich eneidiau," Heb. xii. 1, 2, 3. Mae Stephan yn galw ar Dduw wrth gael ei labyddio, ïe, yn gwneuthur mwy na hyny; y mae yn ymbil ar Dduw dros y rhai sydd yn ei lofruddio.

Os gwelir fod gogoniant Duw yn cael ei ddal i fyny a'i egluro trwy ddyoddefiadau ac angau, y mae ffydd gref yn gorfoleddu ac yn llawenhau yn eu hwyneb. Nid ydyw yn rhoddi pwys ar ei chwymp ei hun yn y byd hwn, ond gallu dal i fyny enw yr Arglwydd Iesu yn dragywydd; y mae am fynegi ei rinweddau ef, er dinystrio ei hun yn y byd hwn; cadw anrhydedd Duw, er syrthio i warth ei hunan.

Dywedir am Epimondes, ei fod yn benderfynol i amddiffyn ei darian hyd angau; a phan y clwyfwyd ef yn farwol, gwaeddodd allan, "A ydyw y darian yn ddyogel? os ydyw, *pob peth* yn dda." Felly, os gall y credadyn yn ei holl ddyoddefiadau gadw ei darian yn ddyogel, sef Duw a'i ogoniant, y mae yn marw yn dawel; y mae pob peth yn dda. Mae yn anmhosibl i demtasiynau diafol, a holl resymau dynion, siglo ffydd gref; gall ffydd wan gael ei rhesymu allan, nes gwrthddywedyd y pethau a ddywedodd gynt; y mae satan yn ei gwneyd yn anesmwyth, ac yn peri iddi amheu ei phenderfyniadau blaenorol, gan roddi i fyny yr achos mewn digalondid ar brydiau. Eithr ffydd gref sydd yn dal at y penderfyniadau a wnaeth, gan sefyll yn gryf yn erbyn satan a rhesymegyddiaeth dwyllodrus y byd presenol. Mae hi wedi cael cynifer o brofion amlwg ac anwadadwy o Dduw fel Tad tirion, fel y mae satan yn methu myned y tu hwnt iddi. Mae satan yn dywedyd yn fynych, "Nid yw Duw yn Dad i ti; ni wna arddel perthynas â thydi byth. Ond glynu y mae ffydd gref wrth ei gwrthddrych yn ddiysgog; cadwed ef gymaint o swn ag a fyno. Siarad â Duw, nid siarad â satan y mae hi. "Canys," ebe hi wrth Dduw, "ti yw ein Tad ni, er nad edwyn Abraham ni, ac na'n cydnebydd Israel; ti, Arglwydd, yw ein Tad ni, ein Gwaredydd; dy enw sydd erioed," Esay lxiii. 16. "*Fy* Nuw, *fy* Nuw;" dyna iaith ffydd. "Paham y'm *gadewaist?*" dyna iaith teimlad. Diolch; y mae ffydd yn parhau, ac yn byw y tu hwnt i deimladau.

Pan y mae gelynion yr enaid wedi myned yn ddall, y mae llygad ffydd yn gweled. "Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Am i ti fy ngweled, Thomas, y credaist: bendigedig yw y rhai ni welsant, ac a gredasant," Ioan xx. 29. Fe ymddiried ffydd gref yn Nghrist yn mhellach nag y gall llygad o gnawd ganfod. Pan y mae llygaid dynol yn methu ei ddylyn mwyach, y mae ffydd yn "*sicrwydd* y pethau nid ydys yn eu gweled." Y mae hi yn ymddiried yn yr addewidion am drugaredd yn yr ymddifadrwydd o *deimlad* trugaredd. "Pan y

mae y credadyn yn rhodio mewn tywyllwch, ac heb lewyrch iddo, gall obeithio yn enw yr Arglwydd, ac ymddiried yn ei Dduw," Esay 50. 10. Y mae ffydd *wan* pan mewn eisiau teimlad cysurus, yn suddo i lawr i ddigalondid, eithr ffydd gref sydd yn *gobeithio* yn *erbyn* gobaith; yn credu yn erbyn synwyr a theimladau; ac yn dywedyd, "Y mae Duw yn eiddof fi, er ei fod yn cuddio ei wyneb rhagof." Y mae yn ymddiried ynddo fel Tad, er y gellid meddwl ei fod yn cuddio ei wyneb, ac yn ymddwyn fel gelyn ar y pryd.

Y mae ffydd yn gallu darllen cariad yn ei olygon digllon, a chyda Job yn dywedyd, "Pe lladdai efe fi, mi a obeithiaf ynddo;" canys er i ti guddio dy wyneb rhagof, er hyny nis gelli "*wadu* dy hun." Bydd satan yn dweyd yn aml, "Pe byddai Duw yn dy garu, ni wnelai fel hyn â thi; gan hyny 'melldithia Dduw, a bydd farw.'" Mae ffydd wan yn cael ei llethu fel hyn yn aml, nes y bydd amheuaeth yn llenwi y galon, a goleuni a chysur wedi cilio. Eithr y mae ffydd gref yn troi ar satan, ac yn cymeryd ei bastwn o'i law, ac yn hollti ei ben â'i law-ffon ei hun. Mae ffydd yn codi ac yn dywedyd, "Satan, am fod Duw yn fy ngharu y mae yn fy ngheryddu, 'fel na'm damnier gyda'r byd.' Y pethau sydd genyt ti i brofi nad oes genyf grefydd, yw y pethau sydd genyf fi yn arwyddion sicr o grefydd. Ymaith, satan: 'dos yn fy ol i.' Mae yn wir fod y byd yn gwgu arnaf, ond fel na charwyf ef; yr wyf yn cael fy nghroeshoelio *yn* y byd, fel y'm croeshoelier *i'r* byd. 'Canys os ewyllysiaf ymffrostio, ni byddaf ffol; canys myfi a ddywedaf y gwir; eithr yr wyf yn arbed, rhag i neb wneuthur cyfrif o honof fi uwchlaw y mae yn gweled fy mod, neu yn ei glywed genyf. Ac fel na'm tra-dyrchafer gan odidogrwydd y datguddiedigaethau, rhoddwyd i mi swmbwl yn y cnawd, cenad satan, i'm cernodio, fel na'm tra-dyrchefid. Am y peth hwn mi a atolygais ar yr Arglwydd deirgwaith, ar fod iddo ymadael â mi. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Digon i ti fy ngras i; canys fy nerth i a berffeithir mewn gwendid. Yn llawen iawn gan hyny yr ymffrostiaf fi yn hytrach yn fy ngwendid, fel y preswylio nerth Crist ynof fi. Am hyny yr wyf yn foddlon mewn gwendid, mewn anmharch, mewn angenion, mewn erlidiau, mewn cyfyngderau er mwyn Crist: canys pan wyf wan, yna yr wyf gadarn,'" 2 Cor. xii. 6—10. Mae efe yn ceryddu corph i achub enaid; y mae yn dy garu yn dyner pan y mae yn ceryddu drymaf; ïe, am ei fod yn caru y mae yn ceryddu. "Wele, gwyn ei

fyd y dyn a geryddo Duw; am hyny na ddiystyra gerydd yr Hollalluog. Fy mab, na ddirmyga gerydd yr Arglwydd, ac na flina ar ei gospedigaeth ef;" Job v. 17; Diar. iii. 11. Cymerodd yr Arglwydd gyfoeth Job ymaith; cystuddiodd ef yn ei gorph, edrychodd gyda gwg ar ei enaid, fel ag yr oedd Duw, satan, ei hen gyfeillion, a'r cwbl yn ei erbyn; er hyny nid yw y cwbl yn peri iddo wadu ei benderfyniadau blaenorol. Mae yn penderfynu byw a marw a'r ymadrodd hwn yn ei enau: "Canys myfi a wn fod fy Mhrynwr yn fyw, ac a saif yn y diwedd ar y ddaear. Ac er ar ol fy nghroen, i bryfed ddyfetha y corph hwn, eto caf weled Duw yn fy nghnawd: yr hwn a gaf fi i mi fy hun ei weled, a'm llygaid a'i gwelant, ac nid arall, er i'm harenau ddarfod ynof. Eithr chwi a ddylech ddywedyd, Paham yr erlidiwn ef? canys gwreiddyn y mater a gaed ynof," Job xix. 25—28.

Y mae ffydd gref, fy nghyfeillion, yn ymddiried yn Nuw yn y cyfyngderau mwyaf, trwy foddion gwael. Mae moddion gwael yn ddigon yn llaw Duw galluog a gogoneddus. Codwyd Jeremiah o'r daear-dy a "hen garpiau a hen bwdr fratiau;" felly gall Duw arfer moddion gweinion a dirmygus i gwblhau y dybenion gogoneddusaf. "Ac Asa a waeddodd ar yr Arglwydd ei Dduw, ac a ddywedodd, O Arglwydd, nid yw ddim i ti gynorthwyo, pa un bynag ai gyda llawer ai gyda'r rhai nid oes ganddynt gryfdwr: cynorthwya di ni, O Arglwydd ein Duw; canys pwyso yr ydym ni arnat ti, ac yn dy enw di y daethom yn erbyn y dorf hon: O Arglwydd, ein Duw ni ydwyt ti, na orfydded dyn i'th erbyn," 2 Cron. xiv. 11. Gall ffydd gref ymddiried yn yr Arglwydd, nid yn unig trwy foddion gwael, ond *heb* foddion o gwbl. Duw yw gwrthddrych ffydd, nid unrhyw foddion. "Gadawaf ynot hefyd bobl druain dlodion, ac yn enw yr Arglwydd y gobeithiant hwy." Eithr ni a gawsom ynom ein hunain farn angau, fel na byddai i ni ymddiried ynom ein hunain, ond yn Nuw, yr hwn sydd yn cyfodi y meirw." "Eithr yr hon sydd wir weddw ac unig, sydd yn gobeithio yn Nuw, ac yn parhau mewn ymbiliau a gweddiau nos a dydd;" Seph. iii. 12; 2 Cor. i. 9; 1 Tim. v. 5. Mae y "wir weddw," chwi welwch, heb ddim i ymddibynu arno, na pherthynasau na chyfoeth, eto yn gallu ymddiried yn Nuw am bob peth, er heb ddim. Bendigedig, ni obeithiodd neb yn ofer ynddo: "Tad yr amddifaid, a Barnwr y gweddwon" ydyw; gall gwblhau ei amcanion heb foddion, yn gystal a thrwyddynt. Neu, os

ewyllysia, gall greu moddion newydd at waith newydd. Pan y mae moddion yn pallu, a'r *props* i gyd yn cwympo, nid yw ymddiried yn Nuw yn siglo dim. Gogoniant! "Y mynydd-oedd a giliant, a'r bryniau a symudant, ond cyfamod fy hedd ni syfl."

Y mae ffydd wan yn digaloni pan nad yw y moddion tuag at gyrhaedd rhyw ddyben yn y golwg. Os nad yw *braich* yr Arglwydd yn y golwg, nid yw wedi "byrhau fel na allo achub;" ymddiriedwch ynddi o hyd. Os bydd newyn ar y ddaear, nid oes newyn yn y nefoedd. Nid oes gan Dduw ond agor ffenestri y nefoedd, a dyna fendith yn disgyn, a'r ysgub-oriau yn llawn yn union. Os na welwch chwi foddion a thebygoliaeth, yr ydych yn myned i wadu Duw hefyd. "Llefarasant hefyd yn erbyn Duw; dywedasant, A ddichon Duw arlwyo bwrdd yn yr anialwch? Wele, efe a darawodd y graig, fel y pistyllodd dwfr, ac y llifodd afonydd; a ddichon efe roddi bara hefyd? A ddarpara efe gig i'w bobl?" Sal. xxxviii. 19, 20. Peth rhyfedd oedd gweled y fath gyflawnder mewn cyn lleied o amser; yr oedd yn ormod i ffydd y bon-eddigion hyn. Mae yn syndod na buasent yn meddwl am ei weithredoedd blaenorol. "Gofyn i ti arwydd gan yr Ar-glwydd dy Dduw; gofyn o'r dyfnder, neu o'r uchelder oddi-arnodd. Ond Ahaz a ddywedodd, Ni ofynaf, ac ni themtiaf yr Arglwydd," Esay vii. 11, 12. "Ni themtiaf yr Arglwydd," meddai. Mae llawer yr un fath ag yntau yn y byd; yn tyb-ied fod gofyn yn absenoldeb moddion yn temtio Duw. Nid oes ymddiried ynddo o *gwbl*, os na ymddiriedir ynddo yn *hollol*. Nid yn unig ymddiried ynddo trwy foddion gwael, ac ymddiried ynddo heb foddion, ond hefyd ymddiried ynddo yn GROES i foddion. "A oes rhyw beth yn rhy anhawdd i'r Arglwydd?" Yr oedd clai a phoeri yn *groes* i foddion priodol i gymhwyso at lygaid, er hyny y mae y dyn dall yn dyfod i weled, er syndod i bawb. Yn y *llaw* y mae y rhinwedd, nid yn y clai. Daew Moses, a'r creigydd hyll ar bob llaw, y môr yn mlaen, a Pharaoh yn ol; nid yn unig nid oes moddion gwaredigaeth, eithr y mae y cwbl oll yn *erbyn* gwaredigaeth, ac yn foddion naturiol dinystr. "Sefwch, ac edrychwch ar iachawdwriaeth yr Arglwydd," ebe Moses. Dyma ddyn yn ymddiried yn ei Dduw am iachawdwriaeth yn nghanol modd-ion dinystr. Ac ni siomwyd ef ychwaith, oblegyd—

"Wele'n dod, yn ddio'd,
Y waredigaeth fwya' erio'd."

(5.) Ffrwyth ffydd gref yw heddwch cryf. Mae ffydd yn byw naill ai yn y gwledydd fry, uwchlaw ystormydd, neu yn y llwch, islaw iddynt. Mae hi yn dyrchafu i fyny yn fynych i'r "aneddau llonydd," uwchlaw terfysgoedd y bywyd hwn, ac yn gorphwys yno. Os yw y tywydd yn arw yma, diolch! y mae yn deg yn y nefoedd. "Y mae genym heddwch tuag at Dduw." "A Duw y gobaith a'ch cyflawno o bob llawenydd a thangnefedd gan gredu, fel y cynyddoch mewn gobaith trwy nerth yr Ysbryd Glân." "Ti a gedwi mewn tangnefedd heddychol yr hwn sydd â'i feddylfryd arnat ti; am ei fod yn ymddiried ynot;" Rhuf. v. 1; xv. 13; Esay xxvi. 3. Bendigedig am heddwch yn y nefoedd fry, a heddwch ar y ddaear isod yn y gydwybod; ïe, heddwch yn mhob man, trwy y nefoedd a'r ddaear, trwy ein Harglwydd Iesu Grist. Nid heddwch marw, yn deilliaw o gydwybod gysglyd, yw hwn, eithr heddwch ysbrydol, sylweddol, a gwirioneddol. Heddwch ar ol rhyfel, ac eto yn nghanol rhyfel. Heddwch â Duw, a rhyfel â phob peth sydd yn groes iddo. Mae yma ddefnydd cysur a llawenydd, fy mrodyr, yn nghanol holl ofidiau y bywyd hwn. Gofidiau yn y byd, a llawenydd mewn crefydd; wylo mewn cysylltiad a'r ddaear yn aml, a llawenhau mewn mwynhad o bethau y nefoedd. "Llawenhewch mewn dagrau." Yr ydym "yn credu, ac yn mawr lawenhau â llawenydd annhraethadwy a gogoneddus," 1 Pedr i. 8. Mae y saint yn *waterproof* ac yn *fire-proof*. Mae ganddynt ffordd i fyned trwy y tân heb losgi, a thrwy y dwfr heb foddi. *Persecution and tribulation proof.* Bendigedig! y mae gobaith diangfa byth yn berwi fy nghorph a fy enaid. "Gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw. Ac nid felly yn unig, eithr yr ydym yn gorfoleddu hefyd mewn gorthrymderau." Rhuf. v. 3. Mae llawer yn llawenhau yn nghanol eu golud, eu cysuron, eu teuluoedd, eu hiechyd, a'u llwyddiant; ond beth a wnewch pan ânt i gyd ar goll? Och, fe fydd eich llawenydd yn y pethau hyn wedi darfod yn y man; eithr y mae ffydd yn bwrw yr holl bethau hyn dros y drws, chwi welwch, ac yn "mawr lawenhau," heb gyfoeth, heb deulu, heb gysuron y bywyd hwn, ïe, heb ddim ond "Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio."

(6.) Y mae llygredigaethau cryfion yn ddarostyngedig i ffydd gref. Mae hi yn troi gallu Crist o'i phlaid yn erbyn gallu pechod, ac yn buddugoliaethu ar bob pechod. Mae yn

cyfarfod â phob llygredigaeth ac aflendid â gwaed Crist, "yr hwn sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod."

(7.) Y mae ffydd gref yn darostwng a gorchfygu temtasiynau cryfion. Mae yn "sathru satan dan draed;" yn cyfrif gogoniant y byd yn dom ac yn golled, gan ddiystyru ei wg mewn ymddiried cadarn a diysgog yn Nuw. Mae ein ffydd ni yn rhoddi goruchafiaeth ar bob peth; y mae wedi eu geni i fod yn fuddugoliaethus.

(8.) Y mae amheuon cryfion yn gorfod plygu o flaen ffydd gref. Mae ofnau ac amheuon yn y cryfaf o gredinwyr tra y byddont yn y byd hwn, eithr y mae ffydd yn gwneyd iddynt oll ffoi yn "ngwysg eu cefnau" ar brydiau. "Ac nid amheuodd efe addewid Duw trwy annghrediniaeth; eithr efe a nerthwyd yn y ffydd, gan roddi gogoniant i Dduw. Gorchfygodd ffydd y tro hwn bob amheuaeth: yr oedd gwendid ac amheuaeth yno yn gryf, eithr yr oedd ffydd gryfach yno, fel ag yr ydoedd yn cario pob peth o'i blaen. "Efe yn ddiegwan o ffydd nid ystyriodd ei gorph ei hun, yr hwn oedd yr awr hon wedi marweiddio, ac efe yn nghylch can mlwydd oed, na marweidd-dra bru Sara," Rhuf. iv. 19, 20. Mae credinwyr gwan yn llawn o amheuaeth; y maent fel clorianau, i fyny ac i lawr bob yn ail, yn troi fel hyn ac fel arall. Weithiau yn ceisio gobeithio fod y pechodau wedi eu maddeu, brydiau eraill yn amheu y cwbl oll: *ychydig* o obaith iachawdwriaeth a *llawer* o ofn colledigaeth yn gymysg a'u gilydd; eithr y mae ffydd gref yn dywedyd, "Y mae Crist yn eiddof fi, ac nis gwrth-ddywedaf hyny byth." Mae ffydd gref yn cydio yn y cyfamod pan y mae yn methu sugno cysur o'r addewid; ïe, y mae yn cydio yn Nuw pan y mae yn methu gweled trwy drefn Rhagluniaeth. Diolch! y mae ffydd gref yn chwythu y cymylau ymaith ag sydd rhyngom a gorsedd Duw, nes y byddom yn gweled "trigfa ei orseddfainc ef" pan y mae lleithig ei draed yn dywyll. "Er nad yw fy nhŷ i felly gyda Duw, eto cyfamod tragywyddol a wnaeth efe â mi, wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr, canys fy holl iachawdwriaeth a'm holl ddymuniad yw, er nad yw yn peri iddo flaguro," 2 Sam. xxiii. 5.

(9.) Y mae ffydd gref yn cynyrchu gweddi gref. Yr oedd gweddi gref gan y wraig o Ganaan; ac yr ydym yn gweled fod hyny yn effaith ffydd fawr. Yn ol maint y ffydd y mae nerth y weddi. Gweddi ddi-ffydd sydd weddi heb nerth; nid yw yn gallu dim; marw ydyw, a hi yn unig. Sylwch ar yr

ymdrech mawr oedd yn ngweddi y wraig hon. O, fel yr ymdrechodd â'r Arglwydd Iesu! Yr oedd ei hachos yn amheus am amser hir ar y cyntaf; cafodd ei phrofi yn ddirfawr. Profwyd hi yn ei hamynedd; canys nid oedd yr Arglwydd yn ei hateb na gwneyd un sylw o honi pa beth bynag a ddywedai. "Eithr nid atebodd efe iddi un gair." Prawf caled ydyw, pan y byddo Duw yn cuddio ei wyneb â chwmwl, ac yn gomedd ateb gweddi. Eto ni ddigalonodd hyn ffydd gref; parhaodd i weddio nes i'r dysgyblion fyned i weddio drosti, er mwyn cael gwared o'r swn o'u clustiau. "A daeth ei ddysgyblion ato, ac a atolygasant iddo, gan ddywedyd, Gollwng hi ymaith; canys y mae hi yn llefain ar ein hol." Dyma yr Arglwydd Iesu yn troi ac yn dechreu siarad â hi, eithr siarad profedigaethus ydoedd hwnw, canys yr oedd chwerwder yn ei eiriau, ac annghefnogaeth i'r weddi. "Ac efe a atebodd ac a ddywedodd, Ni'm danfonwyd i ond at ddefaid colledig tŷ Israel; ac nid wyt ti yn perthyn i'r etholedigaeth, a'r cyfamod a wnaeth Duw ag Abraham, Isaac, a Jacob. Yr wyf wedi dyfod at yr eiddof fy hun, nid atat ti; am hyny dos ymaith, nid oes a wnelwyf â thi." Ni a welwn hefyd brawf ar falchder; y mae hunanoldeb yn cael ergyd marwol. "Ac efe a atebodd ac a ddywedodd, Nid da cymeryd bara y plant, a'i fwrw i'r cwn." Yr wyt ti yn un o'r cwn sydd oddiallan i gyfamod Duw. Er hyn oll y mae ffydd gref yn *glynu*, ac yn tori trwy yr holl anhawsderau hyn, ac yn gorchfygu yn y diwedd. "'Ond hi a ddaeth ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Arglwydd, cymhorth fi.' Yr wyf yn cyfaddef mai un o'r cwn ydwyf; y mae hyn yn ddigon gwir, Arglwydd, eto 'y mae y cwn yn bwyta o'r briwsion sydd yn syrthio oddiar fwrdd eu harglwyddi.' Ci ydwyf, Arglwydd, er hyny, dy gi *di* ydwyf. Ac os na chaf fwyta y danteithion gyda dy blant, gad i mi gael y briwsion sydd ar ol y plant, ag sydd yn syrthio i lawr oddiar y bwrdd. A gaf fi gasglu y briwfwyd sydd yn myned i golli?" Y mae yr Iesu yn methu dal yn hwy o flaen ffydd gref. "Yna yr atebodd yr Iesu, ac a ddywedodd wrthi, Ha wraig, mawr yw dy ffydd; bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio. A'i merch a iachawyd o'r awr hono allan," Mat. xv. 21—28. *Well done, strong faith;* ti gynyrchaist weddi daer, ac y mae gweddi daer wedi gorchfygu Duw. "Bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio;" gofynaist y briwsion, ond cerdda at y dorth os ydwyt yn ewyllysio. Gall ffydd gref gyd-ddwyn ag oediad

hir, ac aros amser Duw. Arosodd ffydd yn hir am ddyfodiad yr Arglwydd Iesu; yn "dda ei hamynedd" hefyd. "Ond pan ddaeth cyflawnder yr amser, y danfonodd Duw ei Fab," Gal. iv. 4. Y mae gan Dduw amser i bob peth, ac y mae yn rhaid i chwi wrth ffydd fawr, i aros amser Duw yn amyneddgar. Y mae ffydd wan yn treulio allan yn gyflym, yn myned yn anamyneddgar ac yn methu aros i amser Duw; ac am nad yw yr Arglwydd yn ateb yn union, y mae hi yn myned i ddywedyd na etyb efe yn dragywydd. Y mae hi yn suddo i anobaith, ac yn eistedd yn y llwch i wylo. Rhywbeth fel hyn yr oedd ar y ddau ddysgybl oedd yn myned i Emmaus, "dan rodio ac yn wyneb-drist." Yr oeddynt wedi anobeithio wrth weled yr amser wedi myned yn mhell. "Ond yr oeddym ni yn gobeithio mai efe oedd yr hwn a waredai yr Israel. Ac heblaw hyn oll, heddyw yw y trydydd dydd er pan wnaethpwyd y pethau hyn. A hefyd rhai gwragedd o honom ni a'n dychrynasant ni, wedi iddynt fod yn foreu wrth y bedd: a phan na chawsant ei gorph ef, hwy a ddaethant, gan ddywedyd, weled o honynt weledigaeth o angylion, y rhai a ddywedent ei fod ef yn fyw. A rhai o'r rhai oedd gyda nyni a aethant at y bedd, ac a gawsant felly, fel y dywedasai y gwragedd, ond ef nis gwelsant," Luc xxiv. 21—24. Gallasent aros ychydig yn hŵy heb fyned mor wyllt; canys er fod y trydydd dydd wedi *dyfod*, nid oedd wedi myned *heibio;* gallesid gwneyd pethau mawrion cyn nos eto. Eithr y mae aros yn brofedigaeth lem i ffydd wan bob amser. "Ac efe eto yn ymddyddan â hwynt, wele y genad yn dyfod i waered ato ef: ac efe a ddywedodd, Wele, y drwg hwn sydd oddiwrth yr Arglwydd; paham y dysgwyliaf wrth yr Arglwydd mwy?" 2 Bren. vi. 32. "Ha fab dyn, beth yw y ddiareb hon genych am dir Israel, gan ddywedyd, Y dyddiau a estynwyd, a darfu am bob gweledigaeth?" Ezec. xii. 22. Fel hyn mae y gwan ei ffydd yn siarad; eithr y mae ffydd gref yn dal yn y blaen yn wyneb oediad, fel Dafydd pan oedd ei "gnawd a'i galon yn pallu," yn parhau mewn ymdrechion â Duw.

Pa fwyaf y gwrthwynebiadau yr oedd y dyn dall hwnw yn eu cyfarfod, mwy o lawer y gweddiai. Y mae y saint yn gwybod mai yr unig ffordd i gael, yw parhau mewn gweddiau nos a dydd. Dacw ddrws y carchar yn agor, o herwydd "gweddi ddyfal a wnaed gan yr eglwys," a Phedr, y carcharor, yn rhodio allan, heb un gadwyn am ei draed a'i ddwylaw. Y mae Jacob yn gweddio trwy y nos; Dafydd yn galw ar

Dduw ddydd a nos; Jonah tri diwrnod a thair nos; Daniel un diwrnod ar ugain; Moses ddeugain diwrnod a deugain nos. Mae Duw yn oedi weithiau i godi pris ei drugareddau, a gwneyd y derbynwyr yn fwy cymhwys i'w derbyn. Nid yn unig y mae ffydd fawr yn gallu *aros* yn wyneb *oediad*, ond hefyd y mae yn gallu ymostwng a dysgwyl yn wyneb *gwrthodiad*. Mae Dafydd yn gweddio am i'r plentyn gael byw, eithr y mae yr Arglwydd yn gwrthod ei gais; eto y mae ei dymher yn dawel, ac agwedd ei feddwl yn ymostyngar, er syndod i bawb. Mae ffydd fawr yn gallu canfod trugareddau mewn bod Duw yn gwrthod gwrando ein gweddiau: y mae yn gwrthod caniatau i ni ein hewyllysiau, eto yn cyfranu daioni. Bendigedig fyddo Duw am beidio rhoddi i ni ein dymuniadau yn fynych. Trugaredd annhraethol yw peidio gwrando ein gweddiau yn aml. Am hyny ymostyngwn i farn ac ewyllys yr Arglwydd.

Y mae cymaint o ddaioni dwyfol mewn gwrthod ein gwrando, ambell dro, ag sydd *yn* ein gwrando brydiau eraill. Gallwn ddymuno llawer peth, ac, yn ol ein tyb ni, yn dda ac i bwrpas mawr; eithr y mae Duw yn gweled effeithiau a chanlyniadau pethau, yr hyn sydd yn ddirgelwch i ni. Mae efe yn gweled y gwna y cyfryw beth niwed, ac am hyny yn ei omedd. Swyddogaeth ffydd, gan hyny, yw ymostwng i ewyllys a doethineb yr Arglwydd yn mhob peth, gan ei ddylyn yn rhwydd ac ewyllysgar, fel y mae dyn dall yn dylyn ei arweinydd. Nid yw yr Arglwydd yn gwrthod dim i'w blant ond y pethau a'u drygant. Mae y tad yn pallu y gyllell, ond fel na byddo i'r plentyn dori ei law. Y mae Duw yn gweled peryglon mewn lleoedd nad ydych chwi yn gweled dim. Y mae llawer fel Paul, yn dymuno cael y swmbwl allan o'r cnawd, eithr y mae yr Hollwybodol yn ei adael yno i ddarostwng balchder yr ysbryd. Mae eisiau ffydd i ymostwng pan y byddo yr Arglwydd yn gwrthod boddhau dymuniadau ein calonau. Dywedwn, "Dy ewyllys di a wneler." Felly un ewyllys fydd i Dduw a chwithau, yn wyneb gweithrediadau ffydd gref. Y Duw mawr, yr wyf yn teimlo fy enaid yn foddlon i ymostwng i dy ewyllys fendigedig; gwna y peth goreu er dy ogoniant dy hun, hyny fydd y peth goreu er fy lles inau hefyd.

Nid yw yn bechod i chwi ddymuno perffeithrwydd gras yn y bywyd hwn—y mae yr holl saint yn dymuno bod yn berffaith; eithr y mae yr Hollwybodol yn gweled yn oreu i

adael llygredigaeth aros ychydig yn dy lestr, fel gwaddod gyda'r gwin, i'w gadw yn felus—i dy ddarostwng, a'th gadw i lawr. Mae efe yn cadw y swmbwl yn yr ystlys i'th symbylu yn y blaen tua'r nefoedd. Gellwch ddymuno gwybodaeth fawr, fel y byddoch fel Saul, o'ch ysgwyddau i fyny yn uwch na phawb; neu fel Dafydd, yn ddoethach na'ch athrawon; eithr fe allai y cenedlai hyny falchder ac ymchwydd, ac felly yn ormod o *sails* i lestr bychan, ac yn fwy tebyg o'i ddymchwelyd na'i gyru yn y blaen. Gellwch ddymuno tywyniad haul gwastadol, fel ymerodres; eithr y mae y Penarglwydd yn gweled ei fod yn well i chwi fod yn mro wylofain weithiau, ac nid yn mynydd gorfoledd yn wastad; ac i chwi gael diwrnodau cymylog a niwlog yn gymysg a rhai goleu a haulog; tymhorau ystormus yn gystal a rhai tawel a thymherus. Pan y mae ffydd yn arwyddo yr *articles* y mae yn ymostwng i'r telerau, gan gydnabod fod cwbl yr Arglwydd er gwell. Nis gallwn gael llawer o gysur ar y ddaear, rhag i ni ymgodi yn ein hysbrydoedd, myned yn falch, a pheri i ni garu y ddaear, ac nid y nefoedd. "Codwch, nid yma y mae eich gorphwysdra." Chwi welwch fod ffydd yn gryf mewn dymuniadau, yn amyneddgar yn wyneb gohiriadau, ac yn ymostyngol yn wyneb gomeddiadau.

(10.) Y mae ffydd gref nid yn unig yn gorchfygu ofn angau, ond hefyd yn creu dymuniadau cryfion i fyned at Grist wedi marw. Mae y credadyn yn treulio bywyd mewn *amynedd*, er fod angau mewn *dymuniadau.* Bywyd yw y môr lle y mae yn cyfarfod ag ystormydd a thymhestloedd; angau yw y porthladd lle y mae yr ystorm yn myned yn dawel, ac y dygir ef i'r hafan a ddymunodd. Y ddaear yw y ffordd; gwesty ar y goreu; angau yw y drws sydd yn myned i mewn i'r cartrefle tragywyddol, lle y mae y Tad a'r holl frodyr yn byw. Y gwan yn y ffydd sydd yn ofni marw; mae ei brofion heb ei selio. Arwydd o ffydd fawr yw "chwant datod, a bod gyda Christ." Yr oedd Simeon yn dal yr Arglwydd Iesu yn ei freichiau pan yn dywedyd, "Yr awr hon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd, yn ol dy air; canys fy llygaid a welsant dy iachawdwriaeth," Luc ii. 29, 30. "Fel y brefa yr hydd am yr afonydd dyfroedd, felly yr hiraetha fy enaid am danat ti, O Dduw. Sychedig yw fy enaid am Dduw, am y Duw byw: pa bryd y deuaf ac yr ymddangosaf ger bron Duw?" Sal. xlii. 1, 2. Nid yw Dafydd yn foddlon fod dim yn achosi pellder rhyngddo ef a Duw, canys

nid oedd dim ond bod ger bron Duw allasai ei wneyd yn ddedwydd. "Brysia, fy anwylyd, a bydd debyg i iwrch, neu lwdn hydd, ar fynyddoedd y pêr-lysiau," Can. viii. 14. "Paham," ebe mam Sisera, "yr oeda ei gerbyd ddyfod? paham yr arafodd olwynion ei gerbydau?" Barn. v. 28. Yr oedd yr awydd am weled ei mab yn dychwelyd yn fuddugoliaethus o faes y frwydr, wedi myned bron yn annyoddefol. Mewn rhyw ystyr, "ni frysia yr hwn a gredo;" ond yn yr ystyr yr ydym yn son yn awr, nid oes neb yn brysio cymaint a'r "hwn a gredo;" efe yw yr hwn sydd yn gwneyd y brys mwyaf. Yma yn y byd hwn yr ydym yn cael ein dyweddio; ond angau a'r farn yw adegau gweinyddiad llwyr y briodas; y pryd y dygir priodas-ferch gwraig yr Oen i fyw ato yn dragywydd. Mae hiraeth yn y greadigaeth faith am weled dydd y briodas. Mae ffydd wan yn dymuno dyfodiad, eithr nid yn awr; y mae eisiau cael pethau yn well i drefn. Y mae yn rhyw beth tebyg i'r wraig yn dymuno gweled y gwr yn dyfod adref; ond ni charai iddo ddyfod am awr neu ddwy, nes y byddo hi wedi gorphen gosod y tŷ mewn trefn. Y mae yr enaid gwan, ynte, yn gwaeddi "Paid â mi, fel y cryfhawyf cyn fy myned, ac na byddwyf mwy," Sal. xxxix. 13. Mae pob peth yn barod gan ffydd gref, ac yn aros i'r *stage coach* i'w chyrchu adref. Neu, fel llong wedi ei llwytho, a phob peth mewn parodrwydd, dim ond aros i roesawi y gwynt a'r llanw, i godi y llestr i fyny a'i gyru i'r môr mawr.

Yn awr, fy nghyfeillion, ni a wnawn ychydig sylwadau mewn ffordd o gymhwysiad oddiwrth yr hyn a ddywedwyd. Gwelwn,—

1. Yr angenrheidrwydd i weddio am ffydd. Mae dynion, chwi welwch, yn llafurio am bethau y ddaear â'u holl egni, ac yn esgeuluso pethau nefol; yn dyrchafu y presenol, ac yn dibrisio bywyd tragywyddol. Y mae grasusau yr efengyl, yn ystyriaeth y byd, yn "ysgubion, ac yn sorod pob dim." Nid yw yr annuwiol yn cynyg dim am y pethau hyn; y maent yn aros ar law yn y farchnad. Y mae yn gofalu am gorph, eithr yn ddibris am enaid; yn porthi corph, yn newynu enaid; yn dilladu corph, ac yn gadael enaid yn noeth am dragywyddoldeb. O ynfydrwydd! O drueni!

2. Y mae ffydd yn *anhebgorol angenrheidiol*. Yr ydym yn euog o fyrddiynau o feiau; yn aflan ac yn frwnt, ac yn byw o dan arglwyddiaeth ein llygredigaethau, heb obaith byth cael gwellhad, ond trwy ffydd yn ngwaed Iesu Grist yn unig.

Trwy ffydd y mae yn bosibl ein cyfiawnhau oddiwrth yr holl bethau hyn, a'n glanhau oddiwrth bob halogedigaeth. Nis gallwn gyflawni un ddyledswydd yn gymeradwy hebddi: mae yn ymgorpholi â phob dyledswydd. "Eithr yr hwn sydd yn petruso, os bwyty, efe a gondemniwyd, am nad yw yn bwyta o ffydd: a pheth bynag nid yw o ffydd, pechod yw," Rhuf. xiv. 23. Y pethau heb ffydd sydd oll o'r hen Adda. "Pa fodd gan hyny y galwant ar yr hwn ni chredasant ynddo? a pha fodd y credant yn yr hwn ni chlywsant am dano?" Rhuf. x. 14. Ffydd yw yr hyn sydd yn halltu a phereiddio pob dyledswydd. Bywyd yr enaid, ïe, enaid yr enaid ydyw. Mae pob dyledswydd yn farw, a phechod yn teyrnasu hebddi. Mae ffydd i ddyledswydd y peth yw enaid i gorph—yn fywyd. Nis gellwch byth lefain Abba Dad mewn gweddi heb ffydd. Nid yw gweddi ond natur yn cwyno, neu galon anobeithiol yn llefain hebddi. Nid yw y bygythion yn darostwng, na'r addewidion yn codi a chysuro, heb weithrediadau ffyddiog. Mae yr hwn sydd yn myned at yr ordinhadau heb ffydd, yn myned i weithio heb offer. Y mae yn rhaid i chwi ei chael cyn y gellwch ddyfod yn hyderus i bresenoldeb Brenin y breninoedd. "Nesawn â chalon gywir mewn llawn hyder ffydd, wedi glanhau ein calonau oddiwrth gydwybod ddrwg, a golchi ein corph â dwfr glân," Heb. xi. 22. Mae i'w defnyddio yn holl ordinhadau Duw: rhaid ei bod trwy y *cwbl* cyn y cewch les trwy *ddim:* gwrando y gair, gweddio, cymuno, a phob peth arall. Gwyn ŵy heb halen yw yr holl ordinhadau crefyddol heb ffydd. Y mae annghrediniaeth yn troi y daioni yn ddrwg, y bendithion yn felldithion. "Beth bynag nid yw o ffydd, pechod yw." Y mae y bara a'r gwin yn y cymun nid yn unig yn ddiles, eithr yn wenwyn ysbrydol. "Canys i ninau y pregethwyd yr efengyl, megys ag iddynt hwythau; eithr y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy, am nad oedd wedi ei gyd-dymheru â ffydd yn y rhai a'i clywsant," Heb. ix. 2. Pe bai ffydd genych, ni allech godi eich penau yn wyneb bygythion y Duw mawr; ïe, pe bai genych gystal ffydd a'r cythreuliaid, chwi grynech ger ei fron. Y mae pob diffyg crefyddol yn y diffyg o ffydd: canys er arfer y moddion sydd yn achub a chysuro y saint, nid yw yr annghredadyn yn ynill dim trwy hyny; nid yw yn mwynhau un cysur mewn unrhyw amgylchiad oddiwrth ei grefydd. Mae eisiau crefydd arnom, fy nghyfeillion, yn ein holl gylchoedd a'n sefyllfaoedd yn y byd;

mewn llwyddiant, yn gystal ag adfyd ac aflwyddiant; iechyd, yn gystal a chlefyd; ynill, yn gystal a cholledion. Fel y dywed Paul am amynedd, y ferch, y gellir dywedyd am ffydd, y fam; "Canys rhaid i chwi wrth ffydd, fel wedi i chwi wneuthur ewyllys Duw, y derbynioch yr addewid," Heb. x. 36. Mae yn rhaid i chwi wrth ffydd mewn llwyddiant,—(1.) I weled fod pob peth yn rhoddion daionus y nefoedd. (2.) I'ch galluogi i wneuthur defnydd da o honynt. (3.) I felusu y mwynhad o honynt. Nid ydych yn mwynhau trugareddau o ganiatad yn unig, ond yn hytrach o gariad; nid oddiwrth ragluniaeth gyffredinol, eithr addewidion neillduol. (4.) I edrych y tu hwnt i'r sefyllfa bresenol yn mhob amgylchiad. I edrych ar y dimeiau a'r ffyrlingau hyn yn ernes o bethau gwell, a mwy parhaus; yn dipyn mewn llaw, o'r pethau mawrion sydd mewn gobaith. (5.) I weled calon y Rhoddwr yn y rhodd. Edrychwch ar ei ewyllys da i chwi yn ei gyfraniadau; mwynhewch Dduw trugarog yn ei drugareddau. Y mae yr annghredinwyr yn methu gwneyd i fyny y *swm hwn;* y mae y tu hwnt yn mhell i'w *vulgar fractions* a'u *algebra* hwynt. Nid pawb sydd yn deall y *rule* hon: canys y mae llawer yn meddwl mai arwyddion cariad Duw atynt hwy yw y lluosogrwydd trugareddau y maent yn eu derbyn, pan ar yr un pryd nad ydynt yn gwneyd dim wrth drysori cyfoeth ond trysori tanwydd, i losgi eu hunain yn oes oesoedd. Mae cyfoeth miloedd wedi gwneyd eu huffern yn saith poethach. Mae yn rhaid i ni hefyd wrth ffydd mewn *cystuddiau.* Mae hi yn gweled "pob peth yn gweithio er daioni," yn gwneyd y defnydd goreu o honynt, er ein darostwng a'n diddyfnu oddiwrth y byd presenol. Mae yn gweled daioni mewn drygfyd, ac yn tynu trugaredd allan o gymylau duon.

3. Cynyddwch yn y gras hwn. Mae hi o ran natur yn berffaith ynoch, llafuriwch hefyd am berffeithrwydd mewn graddau. "Ewch rhagoch at berffeithrwydd;" cyrhaeddwch sicrwydd, ymestynwch hyd "adgyfodiad y meirw." Y mae ffydd wan yn achub, ond y mae ffydd gref yn *achub* ac yn *cysuro;* o ganlyniad yn dwyn mwy o ogoniant i Dduw. Canys pa fwyaf o ffydd, mwyaf yr edifeirwch, a pha fwyaf yr edifeirwch, mwyaf yw yr ufudd-dod. Os ffydd fach, ufudd-dod a gwaith bach; a pha leiaf a wnawn dros Dduw, mwyaf o le sydd gan satan i chwareu arnom. Mae dynion yn y byd hwn yn edrych ar y rhai sydd yn gyfoethocach na hwy, ac nid ar

y rhai sydd yn dlotach; o ganlyniad yn anesmwyth am na byddont gystal a'r goreu: ond mewn pethau ysbrydol yr ydys yn edrych islaw nid uwchlaw, yn ol ac nid yn mlaen, ar y rhai sydd yn dyfod yn fyr o'n mesur, ac nid ar y rhai sydd y tu hwnt i ni, ac felly yn ymfoddloni â'r peth sydd. Fy nghyfeillion, thâl hi ddim fel yna. Y mae yn rhaid "annghofio y pethau sydd o'r tu ol, ac ymestyn at y pethau sydd o'r tu blaen." Os yw dy ffydd yn wirioneddol, y mae hefyd yn gynyddol.

Os ydych am ffydd, mynwch y weinidogaeth fwyaf ymchwilgar ac efengylaidd, lle y mae graslondeb calon Duw yn cael ei ddatguddio. Cadw dy lygaid yn agored ar y gair, a'th glustiau yn agored ar y weinidogaeth. "Am hyny ffydd sydd trwy glywed, a chlywed trwy air Duw." "Efe a agorodd eu deall hwynt, fel y deallent yr ysgrythyrau." "Eithr y pethau hyn a ysgrifenwyd fel y credoch chwi mai yr Iesu yw Crist, Mab Duw; a chan gredu, y caffoch fywyd yn ei enw ef;" Rhuf. x. 17; Luc xxiv. 45; Ioan xx. 31. Mae gweinidogaeth yr efengyl yn cenedlu ffydd. "Am hyny y mae yn rhaid i ni ddal yn well ar y pethau a glywsom, rhag un amser i ni eu gollwng hwynt i golli." "Edifarhewch, a chredwch yr efengyl," yna y cewch faddeuant. Rhaid i chwi ddyfod â ffydd ac edifeirwch at yr addewidion i gael hawl ynddynt. Mae rhai addewidion yn ddiamodol, "heb arian, ac heb werth." Mae Duw yn addaw rhoddi i chwi gymhwysder i gyfarfod â'r addewidion eraill sydd yn gofyn y cymhwysderau hyny fel amodau. Nid yn unig y mae yn addaw iachawdwriaeth i berchenogion ffydd, ond hefyd yn addaw ffydd i'r di-ffydd. Rhaid i chwi ddyfod â ffydd at un addewid, a dyfod am dani at y llall. Mae cymeryd ymaith y galon gareg yn addewid hollol rydd a diamodol. Rhodd Duw yw ffydd, yr hon sydd yn ein gweithio "i ewyllysio a gweithredu." "O," ebe rhyw un, "pe bai genyf ffydd ac edifeirwch, deuwn inau at Dduw am drugaredd wedi hyny." Enaid, os ydwyt heb ronyn o ffydd, tyred yn y blaen i'w chael. Gweddiwch ar Dduw am ffydd i weddio yn iawn. Mae ysbryd ffydd a gweddi yn dyfod o'r nefoedd; y mae uwchlaw gallu dyn,—nerth Duw ydyw; ïe, "rhagorol fawredd ei nerth tuag atom ni y rhai y'm yn credu, yn ol gweithrediad nerth ei gadernid ef," Eph. i. 19.

Gweddiwch am help hollalluogrwydd Duw i weithio. Y peth anhawsaf yn y byd yw bwrw dyn allan o hono ei hunan,

ei dori oddiar yr hen gyff, a'i daflu oddiar yr hen sylfaen: ac ar ol y gwneyd hyn, y mae yr un mor anhawdd dyfod â'r dyn hwn at Grist, a'i wneyd i orwedd yn llwyr arno. Ymwasgwch at y dysgyblion, hwy a ddywedant wrthych pa fodd y gweithredodd Duw ffydd ynddynt hwy, a pha fodd y mae eto yn rhoddi ffydd i'r annghrediniol. "A hwy a ddywedasant wrth eu gilydd, Onid oedd ein calon ni yn llosgi ynom tra yr ydoedd efe yn ymddyddan â ni ar y ffordd, a thra yr ydoedd efe yn agoryd i ni yr ysgrythyrau?" "A hwn (Apolos) a ddechreuodd lefaru yn hŷ yn y synagog; a phan glybu Acwila a Phriscila, hwy a'i cymerasant ef atynt, ac a agorasant iddo ffordd Duw yn fanylach;" Luc xxiv. 32; Act. xviii. 26.

Cynyddwch mewn ffydd, fy nghyfeillion, trwy fyfyrio ar eich gwagter eich hunain, ac ar gyflawnder Crist. Deliwch eich gwagter yn gyson gogyfer a chyflawnder yr Arglwydd Iesu, nes y byddo y naill yn methu byw heb y llall. Gwelwch mor dyner y mae efe wedi ymddwyn tuag atoch, a thuag at bawb ag sydd wedi dyfod ato am drugaredd. Beth all gynyddu ffydd ynddo yn fwy nag edrych yn graff ar ei dynerwch i chwi? Derbyniodd Manasseh, hen Magdalen, Saul yr erlidiwr, ïe, y *gwaethaf* o bechaduriaid. O Iesu anwyl! pwy all ddigaloni, gan nad ydwyt yn gwrthod "pwy bynag a ddel." Yr ydwyt yn derbyn Mair wylofus, publicanod a phechaduriaid, y lleidr edifeiriol, y wraig odinebus, a'r dysgybl a wadodd ei Arglwydd dan dyngu a rhegu. O fy anwyl Iesu, os derbyniaist y rhai hyn oll, yr wyf yn hyderu yn gryf na wnei fy ngwrthod inau; gan i ti faddeu eu beiau hwynt, y mae digon o ras ynot i faddeu fy meiau mawrion inau. Diolch! Myfyriwch ar eich trueni, fel y byddo i gyflawnder Crist ddyfod yn fwy gogoneddus o flaen eich llygaid. Os yw eich pechodau fel mynyddau, ac mor aml a'r "tywod sydd ar fin y môr yn aneirif," y mae Crist yn sylfaen safadwy, yn alluog i ddal unrhyw bwysau, ond ymddiried ynddo, ac yn barod hefyd i dderbyn y pechaduriaid mwyaf. Mae yn cadw tŷ agored, ac yn cymhell yn daer bawb i droi i mewn yno. "Oh deuwch i'r dyfroedd, bob un y mae syched arno; ïe, yr hwn nid oes arian ganddo; deuwch, prynwch, a bwytewch; ïe, deuwch, prynwch win a llaeth, heb arian, ac heb werth." "A'r hwn a ddel ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim;" Esay lv. 1; Ioan vi. 37. Bydded eich pechodau y peth a fyddont, o ran natur, rhif, a pharhad, y mae digon yma i faddeu y cwbl.

"Pa Dduw sydd fel tydi, yn maddeu anwiredd, ac yn myned heibio i anwiredd gweddill dy etifeddiaeth? ni ddeil efe ei ddig byth, am fod yn hoff ganddo drugaredd," Micah vii. 18.

Mae y duedd ag sydd mewn dynion i amheu daioni a thrugarogrwydd yr Arglwydd, yn eu cadw yn wan. Bydd rhai yn amheu ei allu weithiau. "A all yr Arglwydd, yn unol â'i briodoliaethau, achub y fath bechadur a myfi? a all efe faddeu fy mhechodau gwaeddfawr i? Y maent yn hen bechodau gwaedlyd a phorphoraidd, na fu eu bath erioed. Pe buasent y fath bechodau a llawer, ni buaswn yn amheu; eithr y maent mor fawr ac ofnadwy, pa fodd y mae yn ddichonadwy i'r Hollallug faddeu y cyfryw rai?" Bydd y creadur, brydiau eraill, yn amheu ei ewyllysgarwch. "'Arglwydd, os myni, ti a elli fy nglanhau;' y mae genyt ddigon o nerth, yr ydwyt yn barod i faddeu, er maint yr anogaethau a gefaist i ddigofaint: y mae ynot fôr o drugaredd, digon i suddo *mynyddoedd*, chwaithach *twmpathau gwaddod*. Ond yr wyf yn amheu a *wna* efe ddangos trugaredd i'r fath bechadur truenus." Yn awr, fy nghyfeillion, y mae eisiau i chwi fod yn argyhoeddedig o allu ac ewyllys da yr Arglwydd Iesu, i'r dyben o ddyfod ato.

Y mae yn rhaid cael ffydd yn Nghrist cyfan; ffydd yn ei allu, a ffydd yn ei drugarogrwydd hefyd, yna chwi ddewch ato mewn hyder. "Ac yr oedd pedwar gwr gwahan-glwyfus wrth ddrws y porth; a hwy a ddywedasant wrth eu gilydd, Paham yr ydym ni yn aros nes ein meirw? Os dywedwn ni, Awn i mewn i'r ddinas, newyn sydd yn y ddinas, ac ni a fyddwn feirw yno; ac os trigwn yma, ni a fyddwn feirw hefyd. Am hyny deuwch yn awr, ac awn i wersyll y Syriaid; os cadwant ni yn fyw, byw fyddwn; ac os lladdant ni, byddwn feirw," 2 Bren. vii. 3, 4. Pan yn gweled dim ond marwolaeth yn eu sefyllfa, y maent yn penderfynu gwneyd symudiad, a chychwyn tua gwersyll y Syriaid; yr oedd yn anmhosibl iddi fod yn *waeth na marw* yno. Yr oedd y debygoliaeth gryfaf o lawer hefyd mai eu lladd a gawsent yno; eithr yr oedd angau yn *sicr* lle yr oeddynt, am hyny yr un peth oedd marw wrth *geisio* byw, a gwell o lawer hefyd; canys yr oeddynt yn gwneyd eu heithaf fel hyn. Maent yn myned; dacw hwy yn cychwyn tua gwersyll y Syriaid, heb nemawr o obaith, canys yr oedd pob tebyg mai marw fuasai eu rhan, ac nid cael byw. Oblegyd yn (1.) Iuddewon oeddynt, am hyny yn elynion. (2.) Gallesid eu drwgdybio yn ysbiwyr, yr hyn oedd yn ddigon naturiol, ac yna buasai eu

marwolaeth yn sicr. (3.) Yr oeddynt yn wahan-glwyfus; yr oedd holl wersyll y Syriaid mewn perygl wrth eu derbyn i mewn. Felly ni a welwn nad oedd y radd leiaf o obaith i gynorthwyo y meddwl i ddysgwyl am fywyd. Er y cwbl, nid oedd dim i wneyd o dan yr amgylchiadau ond anturio i'r lle yr oedd bara. Fy eneidiau, os byddwch yn teimlo eich truenusrwydd, eich newyn, eich colledigaeth ysbrydol, eich sefyllfa ddamniol, yr ydych yn sicr o ddyfod at yr Arglwydd Iesu, er na wyddoch a wna efe eich derbyn ai peidio. Dyfod *ato*, enaid, yw dy bwnc di, ac nid siarad yn nghylch pethau nad ydynt yn perthyn i ti. Wrth ddyfod ato y deui i ddeall a wna efe dy dderbyn ai peidio. Meddyliwch am gariad, trugaredd, a melusder tymher yr Arglwydd Iesu, fel y byddo yn anmhosibl i chwi amheu mwy. Yr ydych yn meithrin meddyliau am Dduw sydd yn groes i'r hyn a ddywed y datguddiad dwyfol am dano; yn troi y gair grasol yn eich erbyn eich hunain, yn ysgrifenu pethau chwerwon lle y mae yr Arglwydd wedi ysgrifenu pethau melusion; yn yfed bustl o'r cwpanau y mae efe wedi rhoddi gwin ynddynt, ac yn ymborthi ar wermod yn lle pêr-lysiau ag sydd yn ngardd paradwys. Yr ydych yn agor eich clustiau i lais Sinai, cydwybod euog, a satan, ac yn peidio gwrando dim ar lais trugaredd, cariad, a gras, a chymeryd cysur yn ewyllysgarwch Duw i'ch achub.

Y mae amheu trugarogrwydd Duw yn dyrchafu ac yn cynorthwyo gwaith y diafol; yn cryfhau ei resymau, ac yn awchu ei arfogaeth yn dy erbyn, ac yn diffodd cynhyrfiadau Ysbryd Duw. Mae tuedd ynom i edrych i ormodedd i ochr dywyll y cwmwl; edrychwch yr ochr arall weithiau; y mae hono yn oleu i gyd. Yr ydych yn cymhwyso y bygythion atoch eich hunain â'ch holl nerth, ac yn taflu yr addewidion "mawr iawn a gwerthfawr" naill ochr. Yr ydych yn meithrin meddyliau am fawredd pechod ac euogrwydd, yn nghyda thrueni presenol a thragywyddol, ac yn bwrw ymaith feddyliau am drugaredd a maddeugarwch y Bod anfeidrol, er ei fod yn eu cynyg hwynt i chwi trwy ei Ysbryd. Nid yw hon yn ffordd i gael ffydd, na'i chynyddu a'i chryfhau wedi ei chael. Os ydych am gynyddu ymddiried yn Nghrist, astudiwch ei drugarogrwydd a'i ewyllysgarwch i'ch derbyn fel yr ydych, ac yna gallaf sicrhau y ffy eich amheuon o flaen ei ogoniant. Rhoddaf ychydig eiriau yn y fan yma er eich cyfarwyddo i gynyddu a chryfhau eich ffydd.

1. Darllenwch y Bibl, fel y mae yn air Duw atoch chwi. Darllenwch ef, a meddyliwch eich bod yn siarad â Duw wyneb yn wyneb. Darllenwch ef fel pe baech yn myned i geisio Duw ynddo i chwi eich hunain. Gair yr Arglwydd sydd yn cynyrchu ffydd, yn ei magu, ac yn ei phorthi. "Canys pa bethau bynag a ysgrifenwyd o'r blaen, er addysg i ni yr ysgrifenwyd hwynt; fel trwy amynedd a dyddanwch yr ysgrythyrau y gallem gael gobaith. Anwylyd, na chredwch bob ysbryd, eithr profwch yr ysbrydion ai o Dduw y maent: oblegyd y mae gau-brophwydi lawer wedi myned allan i'r byd," 1 Ioan iv. 1.

2. Byddwch ffyddlon gyda phob ordinhad grefyddol, canys yma y mae Duw wedi addaw dangos ei wyneb i chwi. Mae efe wedi rhoddi addewidion, cyfamodau, a llwon, er eich sicrhau yn y ffydd, ac wedi ychwanegu seliau y sacramentau, i chwi gael gweled â'ch llygaid. Hwn yw y Testament Newydd "yn fy ngwaed." Yr oedd yr Arglwydd Iesu yn adnabyddus o'n gwendidau, am hyny y mae yn pentyru mynyddau o dystiolaethau er ein cadarnhau yn y ffydd. Mae Duw wedi rhoddi i chwi fwy o sicrwydd nag a ddysgwyliech oddiwrth un *dyn onest*. Gallesid meddwl fod ei *air* yn ddigon, pan yr ystyrir pwy sydd yn llefaru; eto y mae yn ychwanegu llw, ac yn rhoddi y sacrament santaidd i arwyddo fod y cwbl wedi eu selio â gwaed. Pwy all annghredu bellach? Nid gorchest yw credu; y mae yn haws credu na pheidio.

3. Gweddiwch fwy na mwy am gryfhad yn y ffydd. Y mae gweddi yn danwydd ac yn ymborth i ffydd. Yr un peth i ddyn geisio byw heb ymborth ag i ffydd fyw heb weddi. Mae yr enaid yn byw trwy ffydd, a ffydd yn byw trwy weddi. Mae ffydd yn cynorthwyo gweddi, a gweddi yn cynorthwyo ffydd. *All hands upon deck* i dynu wrth raffau yr addewidion. Mae cymundeb rhwng ordinhadau a grasusau; mae y naill yn cynorthwyo y llall, a'r cwbl yn cynorthwyo eu gilydd. Mae y gair yn helpu gweddi, a gweddi yn helpu y gair, a ffydd yn cael ei chyd-dymheru â'r cwbl. Nis gall gweddi ddywedyd wrth ffydd, "Nid rhaid i mi wrthyt;" na ffydd ddywedyd wrth weddi, "Nid rhaid i mi wrthyt;" gan fod y naill yn ymddibynu ar y llall. Mae ffydd yn dywedyd wrth weddi, "Cynorthwya fi i gredu trwy weddi, minau a'th gynorthwyaf dithau i weddio trwy gredu." Mae cristionogion yn eu sefyllfa eglwysig wedi eu cyfansoddi yn y fath fodd, fel ag y mae pawb yn ymddibynu ar eu gilydd, a thrwy hyny

yn cynorthwyo grasau eu gilydd. Mae un yn cynorthwyo sel y naill, ac yntau yn cynorthwyo gwybodaeth y llall. "Dygwch feichiau eich gilydd, ac felly cyflawnwch gyfraith Crist."

4. Byddwch fyw yn fwy a'ch ymarweddiad yn y nefoedd. Byddwch fyw uwchlaw i chwi eich hunain, canys ni chynyddodd neb erioed yn y ffydd, heb fyw ar bethau uwchlaw iddo ef ei hun.

5. Rhodiwch mewn ufudd-dod i orchymynion Duw. Y mae ffydd ac ufudd-dod yn ogyhyd eu hesgeiriau. Os bydd ffydd yn cryfhau, y mae ufudd-dod hefyd yn ychwanegu, a thrwy weithredoedd y cyfiawnheir ffydd.

6. Gwnewch fod yn gyfoethog mewn ffydd yn brif amcan; yna bydd eich prif lafur a'ch ymestyniad cyson am ei sicrhau. Nid oes dim yn ormod o drafferth a llafur i'r dyn bydol ond iddo allu cyrhaedd ei amcan o sicrhau cyfoeth. Byddwch chwithau, fy nghyfeillion, yn ddiorphwys yn eich llafur crefyddol er sicrhau y *gwir* olud, y "golud gwell a'r un parhaus."

7. Trysorwch i fyny y profion sicraf o ffydd; byddant yn ddefnyddiol i chwi yn mhob amgylchiad cyfyng.

8. Byddwch yn ddiolchgar am y radd leiaf o honi. Y ffordd i gael ychwaneg yw bod yn ddiolchgar am yr hyn gafwyd. Y mae ychydig bach o ffydd yn fwy na byd o bob peth arall; a chwi wyddoch y dylem fod yn ddiolchgar am y byd hwn.

9. Byddwch yn ostyngedig. Mae Duw yn rhoddi "gras i'r gostyngedig." Mamaeth y grasusau yw gostyngeiddrwydd.

10. Byddwch yn gydnabyddus â meddwl calon Duw. Darllenwch ei galon, yn ddatguddiedig yn ei air, yn ei Fab, ac yn ei ragluniaeth.

11. Cesglwch a thrysorwch i fyny eich profiadau goreu; gwnant gryfhau ffydd mewn amseroedd tywyll. Cedwch *gatalogue* o brofiadau santaidd o gariad Duw tuag atoch mewn amseroedd a aethant heibio, yn ffordd iachawdwriaeth, a rhagluniaeth hefyd. Mae y pethau hyn i gyd, fel tanwydd, yn enyn y fflam pan y mae yn wan, ac fel swn buddugoliaethau a enillwyd gynt, yn cynhyrfu at ymladd y frwydr bresenol.

12. Ymarferwch ffydd er nerthu ffydd. Y ffordd i gryfhau aelod yw trwy ymarferyd yr aelod hono. Pa fwyaf yr ymarferwch ffydd, mwyaf byth y bydd yn cryfhau. Bydded yr ymarferiad yn gyfartal i fesur y ffydd a dderbyniwyd. Os gellwch arfer mesur helaethach o ras, chwi a'i cewch; ni

rydd ychwaneg nag sydd eisiau, neu a wneir defnydd o hono. Ni âd efe ei *stock* i orwedd yn farw yn ein dwylaw ni. Yr oedd y talentau yn ol gallu pob un, o un i fyny i bump. Y mae y dyn ag sydd yn rhoddi llawer allan yn rhwym o fod yn derbyn llawer i mewn. Y mae cyfiawnhad trwy ffydd, fy nghyfeillion, yn dyfod â *stock* cryf i mewn. Nid yw Duw am i'w blant ddechreu *busnes* ar *gredit*. Mae yn wir fod dy ddyled yn fawr, dy bechodau yn aml; "eithr Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhau;' a "rhoddi gras mwy y mae." Dyma ddigon o ras i faddeu y cwbl ar unwaith; ac nid hyny yn unig, ond hefyd rhoddi *stock* da mewn llaw i ddechreu y byd o newydd. Bendigedig, nid ydym i fyw ar drugaredd y cythraul a'i blant; ac nid codi masnach ar goel; eithr y mae y fasnach yn rhydd, yr holl ddyled wedi ei dalu, a digon mewn llaw i fyned yn y blaen. Mae genym fodd i gyfarfod â'r *bills* bellach. Bendigedig! "Fel y bydd dy ddydd y bydd dy nerth." "Pe byddai eich pechodau fel ysgarlad, ânt cyn wyned â'r eira: pe cochent fel porphor, byddant fel gwlan. Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gwr anwir ei feddyliau; a dychweled at yr Arglwydd, ac efe a gymer drugaredd arno; ac at ein Duw ni, o herwydd efe a arbed yn helaeth," Esay i. 18; lv. 7. Mae y ddeddf yn wan trwy y cnawd, Rhuf. viii. 3; eithr y mae gras yn ddigon cryf: "Duw a ddanfonodd ei Fab ei hun, yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus; ac am bechod a gondemniodd bechod yn y cnawd." Diolch! dyma le i gwbl-iachau!

Nid oes cymaint o ddrwg mewn pechod ag sydd o haeddiant yn Mab Duw. "A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Pob peth a all fod i'r hwn a gredo," Marc ix. 23. A dy bechodau mawrion heibio fel cwmwl, ac fel us o flaen y gwynt, fel pe byddent yn ddim, ond i ti ddyfod â hwy i ymyl aberth Crist. Eto y mae yn rhaid i chwi hiraethu nid yn unig am faddeuant o'r holl anwireddau, ond hefyd am fod yn lân oddiwrth halogedigaeth. Ymddiriedwch yn Nghrist am santeiddrwydd a glanhad. Bendigedig fyddo Duw, y mae ynddo ddigon i lanw byd cyfan o galonau â'i ras. "Ni a welsom ei ogoniant ef, gogoniant megys yr unig-anedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd," Ioan i. 14. Os oes arnoch eisiau ychwaneg o edifeirwch, sel, cariad, hyder, a chysuron, cerddwch at Grist, y mae digon ynddo ef i gael, nid oes yn rhaid i chwi fod yn brin. Cerddwch at Grist am help i ddarostwng y tueddiadau llygredig: y mae ei weddiau a'i addewidion

o'ch plaid; yr ydych yn sicr o gael ond gofyn. "Santeiddia hwynt yn dy wirionedd; dy air sydd wirionedd." "Efe a ddychwel, efe a drugarha wrthym: efe a ddarostwng ein hanwireddau; a thi a defli ein holl anwireddau i ddyfnderoedd y môr;" Ioan xvii. 17; Micah vii. 19. Y mae cyflawnder o rym ynddo i ddarostwng; ïe, sethrir "satan dan ei draed ar frys." "Yr hwn a gyfnewidia ein corph gwael ni, fel y gwnelir ef yr un ffurf â'i gorph gogoneddus ef, yn ol y nerthol weithrediad, trwy yr hwn y dichon efe, ïe, ddarostwng pob peth iddo ei hun," Phil. iii. 21. Byddwch yn eon i fyned ato, canys rhan o'i swydd gyfryngol yw eich santeiddio a'ch glanhau. "Yr hwn a'i rhoddes ei hun drosom, i'n prynu ni oddiwrth bob anwiredd, ac i'n puro iddo ei hun, yn bobl briodol, awyddus i weithredoedd da." Nid yn unig y mae yn Waredwr, ond purwr a glanhawr. Mae ei deilyngdod nid yn unig yn noddfa i redeg iddi, ond hefyd yn ffynon i ymolchi ynddi. "Y dydd hwnw y bydd ffynon wedi ei hagoryd i dŷ Dafydd ac i breswylwyr Jerusalem, i bechod ac i aflendid," Zec. xiii. 1. Gellwch ymddiried yn Nghrist am bob peth, canys y mae pob peth ynddo. Tynwch nerth o hono, fel y galloch "sefyll yn y dydd drwg." "Yr Arglwydd a fedr wared y rhai duwiol rhag profedigaeth," 2 Pedr ii. 9. Os bydd yn dywyll, ei wyneb wedi ei guddio rhagoch, a llewyrch-iadau yr Ysbryd Glân wedi eu hatal, glŷnwch wrtho trwy y cwbl, canys Duw trugarog yw. "Pwy yn eich mysg sydd yn ofni yr Arglwydd, yn gwrando ar lais ei was ef, yn rhodio mewn tywyllwch, ac heb lewyrch iddo? Gobeithied yn enw yr Arglwydd, ac ymddirieded yn ei Dduw," Esay 50. 10. Ym-ddiriedwch ynddo yn y nos dywyllaf: bwriwch angor i fyny o fewn y llen, gall Duw orchymyn iddi fyned yn ddydd, a llewyrchu goleu ar yr enaid; er iddi fod cyn dywylled ag uffern, gall ei gwneyd cyn oleued a'r nefoedd.

Os nad oes dim i dy gysuro, i mewn, nac allan, nac o un tu, bwrw angor i'r nefoedd; mae yno fraich hollalluog i orphwys arni. Mae rhyw beth o hyd i fyny, pan y mae pob peth i lawr yn myned i'r dim. "Tŵr cadarn yw enw yr Arglwydd: ato y rhed y cyfiawn, ac y mae yn ddyogel," Diar. xviii. 10. Mae dyogelwch yn y tŵr pan y bydd yr amddiffynfeydd allanol wedi eu cymeryd ymaith; felly pan y byddo yr ordin-hadau wedi ein gadael, a phob ymarferiad allanol wedi cilio, trwy ba rai yr arferasom dderbyn ein cysur a'n dyogelwch, bydd genym *enw* yr Arglwydd wedi ei adael, yr hwn sydd yn

ddigon heb ddim arall. Diolch, y mae y Tŵr cadarn yn sefyll, i ni ffoi yno; y graig dragywyddol yn ddisigl, i ni orphwys arni byth. Mae yn rhaid i Dduw ei hunan suddo, neu yr wyt yn ddyogel yn oes oesoedd. Yr ydym yn ddyogel rhag ergyd dryll a magnel yn y tŵr. Er dy fod mewn ystormydd mawrion, yr ydwyt yn y llong, nid yn ngwaelod y môr; mewn cyfamod nad annghofir byth, mewn peryglon, nid wedi dy lwyr adael. Mae yr Arglwydd wedi rhoddi nid yn unig nefoedd, daear, haul, lleuad, môr, a thir, at dy wasanaeth, ond ei *hunan*. Mae wedi gwystlo ei air, ei drugaredd, ei allu, ïe, ei gwbl, i gadw y rhai a ymddiriedant ynddo. "Ein tadau a obeithiasant ynot: gobeithiasant, a gwaredaist hwynt. Arnat ti y llefasant, ac achubwyd hwynt: ynot yr ymddiriedasant, ac nis gwaradwyddwyd hwynt," Sal. xxii. 4, 5. Suddai gorsedd y Mawredd, a'r holl nefoedd gyda hi, pe collid un o'r rhai a obeithiasant yn yr Arglwydd. Dyma gysur yn mhob adfyd allanol, fy nghyfeillion, pa un ai personol ai gwladwriaethol. Mae Duw wedi ymweled â llawer o wledydd, fel yr ymwelodd â Jerusalem, â barnau trymion. "Wele fi yn dwyn drwg ar Jerusalem a Judah, fel y merwino dwy-glust y sawl a'i clywant: a mi a estynaf linyn mesur Samaria ar Jerusalem, a phwys tŷ Ahab: golchaf hefyd Jerusalem fel y gylch un gwpan, yr hwn pan olcho, efe a'i try ar ei wyneb," 2 Bren. xxi. 12, 13. Ond bendigedig am hyny, y mae genym ni heddwch a llawnder; eto, pe bai yn myned yn brinder yn ein gwlad ninau, a barnau Duw yn sychu ffynonau y dyfnder, y mae genym fodd i fyw byth. Diolch! y mae llongau aneirif yn hwylio atom bob dydd ar hyd foroedd yr efengyl, wedi eu llwytho â thrugareddau tragywyddol, ac y maent yn glanio yn ymyl ein preswylfeydd. Eto dylem ofni y wialen, ac edifarhau am ein pechodau. Nid oes yr un esiampl yn ngair Duw, nac yn y byd erioed, am neb wedi ei golli a ymddiriedodd yn yr Arglwydd. "Y neb a ymddiriedo yn yr Arglwydd, trugaredd a'i cylchyna ef," Sal. xxxii. 10. Cylchynir â thrugaredd o bob tu. Mae trugaredd yn cofleidio y credadyn, a'r credadyn yn cofleidio trugaredd; ïe, y mae Duw ei hunan â'i freichiau am dano; y mae efe yn rhwymo ei briodoliaethau am dano.

Y maent yn dyweyd fod ganddynt gylch yn y *black art*, a diafol yn sefyll o'i fewn, tua ei ganol; ac os bydd rhyw un yn myned i mewn, y bydd yn anhawdd iawn ei gael allan. Y mae cylch, fy nghyfeillion, yn y *white art* hefyd: y mae

cylch yn nghelfyddyd yr achub, eithr y mae satan wedi ei gau allan o'r cylch hwnw o gwbl. Duw sydd yn y canol. Mae ei drugaredd, ei allu, ei ddoethineb, yn gaerau a rhagfuriau o amgylch y credadyn. Mae ffydd yn troi priodololiaethau Duw o'i gwmpas, ac yn gwaeddi, "Rhag pwy yr ofnaf? beth sydd gan ddyn i wneyd i mi?" Wel, fy nghyfeillion, os ydych yn proffesu ymddiried yn yr Arglwydd, byddwch byw yn deilwng i'ch proffes. "Gweithiwch allan eich iachawdwriaeth eich hunain mewn ofn a dychryn." Trwy ffydd y cyfiawnheir eich personau ger bron Duw, a thrwy weithredoedd y cyfiawnheir eich ffydd ger bron dynion. Anadl ffydd yw gweithredoedd. Mae ffydd yn farw, fel pob creadur arall sydd yn byw wrth anadlu, os na all anadlu. Plant ffydd yw gweithredoedd. "Dyro i mi blant," ebe Rahel, "onide yr wyf yn marw." Felly y mae ffydd yn dywedyd, Yr wyf yn marw os na chaf weithredoedd. Mae rhai yn dywedyd ein bod yn pregethu gweithredoedd i lawr, ond nid yw hyny yn wir. Mewn cyfiawnhad ger bron Duw yr ydym yn eu pregethu i lawr; ymaith a'ch gweithredoedd o'r fan hon. Cyfiawnhau "heb weithredoedd y ddeddf." Eithr nid ydym yn dywedyd nad ydynt yn werth dim oblegyd eu bod yn ddiwerth mewn cyfiawnhad. Nid yw yr haul yn goleuo dyn dall; ond a ydyw hyny yn profi nad yw yn goleuo neb, ac nad ydyw yn werth dim? Nis gall aur dori syched na newyn; a ydyw o ganlyniad yn hollol ddiddefnydd? Y mae gweithredoedd yn angenrheidiol mewn ufudd-dod tuag at Dduw, a gogoneddu ei enw; i ddatgan ein diolchgarwch, ac i anrhydeddu ei air trwy ufuddhau iddo. Maent o ddefnydd gyda golwg arnom ein hunain, i wneyd ein "hetholedigaeth a'n galwedigaeth yn sicr," ac i fod yn esiampl i eraill. Maent yn ddefnyddiol i loni ymysgaroedd y saint, ac i gau geneuau y drygionus, y rhai bob amser ydynt yn barod i gablu yr efengyl.

## PREGETH VII.

### CARIAD AT GRIST.

**"Fel y carodd y Tad fi, felly y cerais inau chwithau; aroswch yn fy ngliariad i," Ioan xv. 9.**

DYWEDODD un, wrth edrych ar y bwa yn y cwmwl, y gallai ddarllen ynddo gyfamod Duw; yn cynwys sicrwydd na foddai y ddaear byth mwy. "Ond, ah," meddai, "beth yw hyny i mi, os boddir fi? gallaf fi gael fy mhoddi heb foddi y byd. Y mae yn wir fod y Bibl yn dywedyd fod Duw yn caru ei eglwys, ac hefyd fod Crist yn caru yr eglwys, 'fel y carodd y Tad yntau;' eto beth fyddaf fi yn well, os nad wyf yn un o'r eglwys hono, ac yn 'aros yn ei gariad ef?' Er achub yr eglwys, gallaf fi fod yn uffern am byth. Oblegyd 'od oes neb nid yw yn caru yr Arglwydd Iesu, bydded Anathema, Maranatha,'" 1 Cor. xvi. 22. Os ydych am wybod a ydych yn aros yn ei gariad ef, chwiliwch eich calonau yn drwyadl am y profion o hyny. Cofiwch fod twyll y galon yn gorwedd yn ddwfn, am hyny gwnewch ymchwiliad dwfn. Y mae llawer wedi gwneyd ymchwiliad arwynebol, yn cymeryd i fyny brofion gau o gariad at yr Arglwydd Iesu, a thrwy hyn esmwythau eu hunain yn nghanol peryglon tragywyddol. Byddwch yn ofalus rhag ymfoddloni ar brofion amheus; mynwch brofion goleu a chryfion, canys y mae pwys tragywyddol yn y mater. Edrychwch ar agwedd cyffredinol eich meddyliau; nid yn eu teimladau *goreu*, ond yn eich dull mwyaf cyffredinol. Gall dyn fod mewn teimladau gwresog ar amseroedd, ac wedi hyny mewn gwaed oer yn teimlo dim. Y peth ydych mewn cysondeb yw y prawf goreu. "*Aros* yn nghariad Crist."

Eithr rhag i chwi ddigaloni wrth edrych i chwi eich hunain, yr wyf am gyfeirio eich meddyliau at Grist ei hunan. A ydych yn gweled rhyw beth yn Nghrist sydd yn wir werthfawr gan eich eneidiau; ïe, pethau y mae eich eneidiau yn eu caru uwchlaw pob peth? A oes yn eich mynwesau ryw dân ysbrydol, wedi ei enyn yn yr olwg ar Grist? Mae yr enaid yn adlewyrchu yn ol ar Grist: os yw Crist wedi egluro ei gariad i ti, yr ydwyt tithau yn ei garu yntau. "Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni," 1 Ioan iv. 19. Y mae Crist yn ymhyfrydu yn ei saint, ac y maent hwythau trwy hyny yn cael eu hynill i ymhyfrydu ynddo

yntau. Y mae efe yn ein *hadwaen*, ac yr ydym ninau yn dyfod i'w adnabod ef. "Myfi yw y Bugail da; ac a adwaen yr eiddof fi, ac a'm hadwaenir gan yr eiddof fi," Ioan x. 14. Y mae Iesu Grist yn ein *dewis*, ac yr ydym ninau yn ei ddewis yntau. Mae yr Iesu bendigedig yn gweled rhyw beth ynom ag y mae yn hoffi, ac yr ydym ni yn gweled *pob* peth ynddo ef ag sydd deilwng o'n bryd a'n serch yn oes oesoedd. "Y wraig a ddywedodd wrtho ef, Arglwydd, Mi a welaf mai prophwyd wyt ti," Ioan iv. 19. Paladr o Dduw ei hunan yw ein cariad ni ato, ag sydd yn taro yn ol arno. Ond cyn y gellwch garu Crist,—

1. Rhaid i chwi ei adnabod. Mae adnabyddiaeth yn rhagflaenu cariad; nis gellwch garu pethau anadnabyddus. Mae Crist idd ei adnabod yn y datguddiad dwyfol, a'i garu, "er nas gwelsoch," 1 Pedr i. 8. Mae cariad at Grist yn deilliaw o'r canfyddiad o ragoroldeb Crist ynddo ei hun, yn nghyda'r cariad anfeidrol a amlygodd tuag atom ni yn ei ymddangosiad yn ein deddfle. Y mae yn anmhosibl, fel y gwyddoch, i ddyn dall ganfod ardderchawgrwydd mewn dim; ac y mae yr un mor anmhosibl i ddyn anwybodus o Grist ganfod ei degwch. Y mae Crist i'r sawl nad yw yn ei adnabod, fel cloddfa o aur yn guddiedig dan sorod, neu fel perlau a *diamonds*, yn nghudd o dan dywod. Mae y Messiah gogoneddus mewn gwisg wael, fel ag y mae yn rhaid cael llygad ffydd i dreiddio trwy y dillad gwael at y Duw gogoneddus sydd o'u mewn. "Canys efe a dyf o'i flaen ef fel blaguryn, ac fel gwreiddyn o dir sych: nid oes na phryd na thegwch iddo: pan edrychom arno, ni bydd pryd fel y dymunem ef," Esay liii. 2. Y mae dynion cnawdol yn ddynion deillion i bethau y nefoedd, y maent yn methu gweled dim tegwch yn nhegwch nef y nefoedd; dim gwerth yn y trysor anfeidrol, ïe, yn yr unig drysor sydd o werth i'r pechadur am bob tragywyddoldeb. Er hyny, fy nghyfeillion, y mae tegwch annghydmarol yn yr Arglwydd Iesu i'r edifeiriol, yr hwn sydd dan wasgfa a llwythi trymion. Crist wedi ei groeshoelio yw y tegwch penaf a'r trysor mwyaf ar y ddaear ac yn y nefoedd, i'r pechadur sydd yn suddo o dan deimlad o bwys pechod. Yr olygfa hyfrytaf dan haul i hwn yw canfod Crist, wedi ei ddyrchafu yn "dywysog ac yn Iachawdwr, i roddi edifeirwch, a maddeuant pechodau." Bywyd o feirw yw gallu canfod goludoedd yr hwn fu farw ar y groes, pan yn rhwym yn nwylaw angau tragywyddol. Diolch am Iachawdwr wedi ei ddyrchafu i le amlwg, lle y

gall dynion â llygaid gweinion ei weled. "A'r Arglwydd a aeth heibio o'i flaen ef, ac a lefodd, Jehofah, Jehofah, y Duw trugarog a graslawn, hwyrfrydig i ddig, ac aml o drugaredd a gwirionedd; yr hwn sydd yn cadw trugaredd i filoedd, gan faddeu anwiredd, a chamwedd, a phechod," Ex. xxiv. 6, 7. Y mae cael golwg ar Dduw, yn ol y datguddiad hyn o hono, yn llanw yr enaid â llawenydd "annhraethadwy a gogoneddus." Mae yr enaid yn barod i suddo weithiau mewn môr annherfynol o ryfeddodau sydd yn ganfyddadwy yn ngogoniant graslondeb yr Arglwydd. O, y fath gofleidio a'r fath gariad sydd rhwng Crist a'r enaid pan ymgyfarfyddant yn nhrefn achub. Y mae golwg ar ragoriaethau y Cyfryngwr mawr yn *weledigaeth* o *ogoniant!* yn borth y nefoedd mewn teimlad. Y mae presenoldeb Crist mewn cystudd, yn iechyd; mewn tlodi, yn gyfoeth; ac mewn carchar, yn rhyddhad. Os darfu i chwi weled ei wyneb mewn addewid, a theimlo ei bresenoldeb grasol mewn tywydd garw, a chlywed ei lais tyner mewn ystorm yn dywedyd, "Myfi yw," y mae yn anmhosibl i chwi beidio ei garu.

2. Os ydych yn caru Crist nid ydych yn annghymedrol yn eich cariad at ddim arall. Mae y melusder sydd yn Nghrist i'r rhai sydd yn ei garu, yn gorchfygu pob melusder ag sydd mewn natur. Anwybodaeth dynion yw yr achos eu bod yn ceisio ac yn llafurio cymaint am bethau bychain; nid ydynt ond *trifles* mewn cyferbyniad i'w ardderchogrwydd ef. Mae y byd, ïe, yr holl fydoedd yn dywyllwch yn yr olwg ar ei gyflawnder anfeidrol ef. Y maent oll yn llestri gweigion, heb ddwfr ynddynt; a pha agosaf yr ydym yn tynu tua y nefoedd, y mae cynwysiad pob peth arall yn myned yn ddim yn ein golwg. Pe byddech yn sefyll ar ben tŵr, byddai dynion yn ymddangos yn fychan o danoch; a phe bai yn bosibl i chwi fyned i fyny i'r haul, elai y ddaear o'r golwg. Y mae cariad Crist yn codi dyn i fyny i'r nefoedd, uwchlaw yr haul, ac oddiyno y mae yn gweled pethau islaw yn diflanu, ac yn myned yn ddim. "Ië, yn ddiamheu yr wyf hefyd yn cyfrif pob peth yn golled, o herwydd ardderchogrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd: er mwyn yr hwn y'm colledwyd yn mhob peth, ac yr wyf yn eu cyfrif yn dom, fel yr enillwyf Grist," Phil. iii. 8.

3. Mae dyn yn byw i'r peth y mae yn ei garu. Mae y bydol-ddyn yn caru y byd yn fwy na dim arall; am hyny y mae yn byw iddo yn hollol. Y mae y trythyll yn caru ei

bleserau uwchlaw pob peth; ac i'w bleserau y mae yn byw. Nis gall fyw allan o honynt, yn fwy na physgodyn allan o'r dwfr, neu aderyn allan o'r awyr. Felly nis gall credadyn fyw ond yn Nghrist, ac i Grist. Mae yn rhaid iddo yntau fyw "i'r hwn a fu farw drosto, ac a gyfodwyd." "Mi a groeshoeliwyd gyda Christ: eithr byw ydwyf; eto nid myfi, ond Crist sydd yn byw ynof fi: a'r hyn yr ydwyf yr awr hon yn ei fyw yn y cnawd, ei fyw yr ydwyf trwy ffydd Mab Duw, yr hwn a'm carodd, ac a'i dododd ei hun drosof fi," Gal. ii. 20. Crist sydd yn rhoddi bod i'r credadyn, fel y mae yr haul yn rhoddi bod i'r paladr, a'r tân yn rhoddi bod i'r gwreichion. Mae yn anmhosibl i baladr fod heb haul, ac mae yn anmhosibl i wreichion fod heb dân; felly mae yn anmhosibl hefyd i gredadyn fodoli a byw heb Grist. "Byw i mi yw Crist." Os ydych yn ei garu, yr ydych yn byw ynddo ac iddo. Mae eich holl gysuron a'ch holl ddedwyddwch, presenol a dyfodol, wedi ymlapio i fyny ynddo. Fel y dywed Judah am Benjamin a Jacob y mae y credadyn yn dywedyd wrth Grist, "Y mae fy hoedl yn nglyn wrth dy hoedl di." Y mae fy mywyd a'm llawenydd wedi eu rhwymo wrthyt. "Fy holl ffynonau sydd ynot ti. Pwy sydd genyf fi yn y nefoedd ond tydi? ac ni ewyllysiais ar y ddaear neb gyda thydi;" Sal. lxxxvii. 7; lxxiii. 25. Y mae genym daith bell, fy nghyfeillion; nis gallwn fyw heb *gysur*, mwy nag y gallasai Elias fyw heb *fwyd*. A ydyw Crist yn gysur i chwi? Os ydych yn ei garu, y mae y cwbl sydd ynddo at eich pwrpas. Mae llawer o bydewau gan yr annuwiol, ond y maent i gyd wedi eu cracio; pydewau toredig ydynt, "heb ddwfr ynddynt." Mae ffynon wedi ei hagor i chwi yn Nghrist sydd yn sicr o ddal digon o ddwfr i chwi yn oes oesoedd. Os bydd Crist yn sych, dyna ddarfod am ddaear a nefoedd hefyd. Ond bendigedig, chymer hyny byth le, y mae "cyflawnder y Duwdod" yn ddigon i bawb i dynu arno byth.

4. Mae gwerthfawrogi Crist uwchlaw daear a nefoedd yn arwyddo ac yn profi cariad ato. Nid gwerth mewn dealltwriaeth a barn yn unig, ond hefyd yn y serchiadau a'r ewyllys. Nid gweled fod Crist o werth mawr i farw a myned i'r byd nesaf, eithr ei fod o werth annhraethol yn awr i'r teimlad. Mae efe yn hyfrydwch yr enaid ar y ddaear. Mae cariad Crist yn gymhelliad i'r enaid i weithredu tuag ato yn gydweddol a'r *farn* am dano: os Crist yw y mwyaf yn y byd mewn barn, efe hefyd ddylai fod y mwyaf yn y byd mewn ymddygiad ato.

Fel y marchnatawr yn yr efengyl, nid yn unig fe farnodd fod y perl yn werthfawr, eithr dangosodd hyny mewn ymddygiad; canys "efe a aeth ac a werthodd yr hyn oll a feddai, ac a'i prynodd ef." Mae llawer o bobl a ddywedant wrthych, "Y mae Crist yn fwy o werth na'r byd, eto ni adawant un pechod, un pleser, er ei fwyn. Gall annghredadyn ryfeddu uwchafiaeth ei berson fel Duw-ddyn, a rhoi rhyw gymaint o werth ar ei waed i'w waredu rhag uffern; eithr nid oes ynddo ddim syched am ei waed i'w lanhau oddiwrth bechod. Y mae gwerth yn Nghrist i waredu, nid i olchi; i gadw rhag y tân, nid i gadw rhag y drwg. Ceisio rhanu Crist y mae y dynion hyn. Mae yn rhaid i chwi garu Crist cyfan, fy nghyfeillion. Crist yn glanhau yn gystal a Christ yn gwaredu; Crist yn ei santeiddrwydd, Crist yn ei gyfreithiau, Crist yn ei lywodraeth, Crist yn ngwirionedd yr efengyl, Crist yn ei groes, Crist oll yn oll, neu ddim.

Nid yw ffydd yn neillduo rhyw bethau allan o Grist i'w credu, ac nid yw cariad yn neillduo ryw bethau i'w caru; eithr y mae ffydd yn credu y cwbl, a chariad yn caru y cwbl. Nid oes dim yn Nghrist i'w gadael allan; tegwch heb ddim anferthwch ydyw, a gogoniant heb ddim gwarth. Mae gogoniant yn nhlodi Crist; Crist yn y preseb lle y gorweddodd, yn yr ystabl lle y ganwyd ef, yn y goron ddrain; ïe, y mae bri tragywyddol yn "ngroes ein Harglwydd Iesu Grist." Mae rhai am dderbyn y goron, a gwrthod y groes; eithr dynion heb adnabod Crist ydyw y rhai hyny. Mae y rhai a'i adnabuant wedi gweled cymaint o werth ynddo ag i roi eu heinioes eu hunain i lawr er ei fwyn: collasant eu hunain yn y byd hwn er mwyn enill Crist am dragywyddoldeb. Gwnaeth llawer yr anturiaeth eon hyn dros Grist yn nyddiau Mari Waedlyd. Caru Crist, gan hyny, yn wirioneddol yw ei garu yn ei gwbl; canys "y mae efe oll yn hawddgar." "Os myn neb ddyfod ar fy ol i, ymwaded ag ef ei hun, a chyfoded ei groes, a chanlyned fi," Mat. xvi. 24. "Os myn neb;" pwy bynag, yn ddiwahaniaeth. Nid yn unig y tlawd, nad oes ganddo nemawr i golli, ond hefyd y rhai sydd ganddynt diroedd, tai, coronau, teyrnasoedd, a chyfoeth o bob natur. Mae y tlawd yn gyfoethog, a'r cardotyn yn dywysog yn Nghrist. Rhaid i ni ymwadu â ni ein hunain, nid yn unig mewn pethau *annghyfreithlon*, ond *cyfreithlon* hefyd. Nid ymwadu â phechodau yn unig, ond hefyd cysuron, etifeddiaethau, y cwbl, os byddant ar y ffordd,

neu os geilw yr Arglwydd Iesu am danynt. Gadawodd Abraham ei wlad, Moses a wrthododd ei alw yn fab merch Pharaoh; "gan ddewis yn hytrach oddef adfyd gyda phobl Dduw, na chael mwyniant pechod dros amser; gan farnu yn fwy golud ddirmyg Crist na thrysorau yr Aipht: canys edrych yr oedd efe ar daledigaeth y gwobrwy," Heb. xi. 24—26. Mae Dafydd yn edrych ar y ddaear yn garchar, a'r nefoedd yn wag heb Dduw. "Pwy sydd genyf fi yn y nefoedd ond tydi? ac ni ewyllysiais ar y ddaear neb gyda thydi," Sal. lxxiii. 25. Paradwys yr ynfyd yw dysgwyliadau dychymygol am bleser mewn rhyw le gwych a gogoneddus; eithr nid oes un nefoedd i gael ond a ddylifa o Dduw yn Nghrist. Pleser yn y mwynhad o Dduw yw y nefoedd. "Byddai yn well genyf," ebe un gwr da, "gael Crist heb nefoedd, na chael nefoedd heb Grist." Felly, fy nghyfeillion, cerwch yr Arglwydd Iesu uwchlaw daear a nefoedd.

5. Y mae syched am gyfeillach Crist yn hanfodol i'w garu. Os ydych yn ei garu, yr ydych yn ymhyfrydu meddwl am dano, siarad am dano, a byw mewn dysgwyliad wrtho. Mae dymuno bod yn agos ato yn brawf o gariad gwirioneddol. Mae Crist yn agos at y galon wrth fyned i'r gwely y nos, ac wrth ddihuno y boreu. "Fy anwylyd sydd i mi yn bwysi myr; rhwng fy mronau yr erys dros nos." "Pan ddeffrowyf gyda thi yr ydwyf yn wastad;" Can. i. 13; Sal. cxxxix. 18. Y mae llawer o feddyliau eraill yn bod, eithr beichiau ydynt, nid pleserau; traws-ymwthwyr, nid cyfeillion. Y drygionus sydd yn eu meithrin, ac yn ymbleseru ynddynt fel eu cyfeillion anwylaf. "O Jerusalem, golch dy galon oddiwrth ddrygioni, fel y byddech gadwedig: paham y lletyi o'th fewn goeg amcanion?" Jer. iv. 14. Yr ydwyt nid yn unig yn gadael y drws yn agored iddynt, ond hefyd yn eu cymhell i mewn, yn rhoddi llety iddynt, yn hulio bwrdd iddynt, ac yn gwasanaethu arnynt dy hunan. *Intruders* ydynt ar y saint, tylwyth yn dyfod i mewn heb roesaw. I Grist y mae y cristion yn caru agor y drws, rhoi llety iddo, hulio bwrdd ger ei fron, gwasanaethu arno, a chwedleua am dano. Am Grist y mae y cristion yn chwenych siarad, nid am hen bechodau drewedig ac aflan; ac y mae y genau, fel y gwyddoch, yn eglurhad o'r galon, a thrwy y genau y mae y galon yn dyfod allan yn weledig i'r byd. "Genau y cyfiawn a fynega ddoethineb, a'i dafod a draetha farn. Deddf ei Dduw sydd yn ei galon ef," Sal. xxxvii. 30, 31. Y rhai sydd yn gweled gogoniant Crist,

ac yn teimlo ei fawredd, sydd yn llefaru â'u geneuau am ei ardderchogrwydd. "Dywedant am ogoniant dy freniniaeth." Y mae Crist, fy nghyfeillion, yn werth i chwi siarad am dano; os bydd eich calonau yn oer, bydd ymddyddan am Fab Duw yn debyg o enyn tân ynoch, a pheri i'ch calonau losgi o gariad ato. Gwag yw pob siarad mewn cymhariaeth i ymddyddan am Iesu. Byddwch yn fuan wedi cyrhaedd diwedd y pethau eraill, wedi plymio y llynoedd oll, ac wedi cael y gwaelod; eithr y mae Crist yn fôr diderfyn, heb waelod na glanau. Gellwch ymddyddan am dragywyddoldeb, a phethau newyddion yn codi o flaen eich llygaid yn oes oesoedd. Diolch! y mae fy enaid yn gweled ei ogoniant y fynyd hon. Eled y ddaear a'i thegwch i ganol y môr. "Mi a edrychaf yn dy wyneb mewn cyfiawnder: digonir fi pan ddihunwyf â'th ddelw di." Y mae yn anmhosibl, fy eneidiau, i chwi gael pwnc melusach na hwn; melusder ydyw i gyd, heb ddim chwerwder ynddo; ïe, pob cyflawnder o felusder diddiwedd. "Rhosyn Saron;" rhosyn heb ddrain ydyw, heb bigiadau; blodeuyn hardd, heb wywo i dragywyddoldeb. Rhosynau wedi eu hamgylchu â drain yw pethau y byd hwn; ychydig o felusder, a llawer o chwerwder; croesau yn amlach na chysuron; cystuddiau yn fwy na iechyd yn fynych; eithr melusder i gyd yw yr Arglwydd Iesu; dim ond melusder, dim ond cysur, dim ond tegwch. "Teg ydwyt ti, fy anwylyd, megys Tirsah, gweddus megys Jerusalem, ofnadwy megys llu banerog. Tro dy lygaid oddiwrthyf, canys hwy a'm gorchfygasant: dy wallt sydd fel deadell o eifr, y rhai a ymddangosasant o Gilead. Dy ddanedd sydd fel deadell o ddefaid a ddai i fyny o'r olchfa, y rhai sydd bob un yn dwyn dau oen, ac heb un yn ddiepil yn eu mysg. Dy arleisiau rhwng dy lawethau sydd fel darn o bomgranad. Melus odiaeth yw ei enau; ïe, y mae efe oll yn hawddgar. Dyma fy anwylyd, dyma fy nghyfaill, O ferched Jerusalem," Can. vi. 4—7; v. 16. Dyma degwch heb frycheuyn, gardd flodau heb chwyn, yr hon sydd yn llawn perffeithrwydd a hyfrydwch: nis gellwch edrych ar yr un blodeuyn heb gael eich boddloni a'ch lloni.

Crist Iesu yw hyfrydwch nefoedd a daear; efe yw hyfrydwch fy enaid tlawd inau; ïe, efe yw hyfrydwch Duw tragywyddoldeb. Mae y Tad yn tystiolaethu mai Hwn yw ei anwyl Fab, yn yr hwn ei boddlonwyd. Y mae yr angylion hefyd yn ymddigrifu ynddo; y maent yn ei astudio yn y

datguddiad o hono i'r eglwys, ac am wybod yn helaethach am dano. "I'r rhai y datguddiwyd, nad iddynt hwy eu hunain, ond i ni, yr oeddynt yn gweini yn y pethau a fynegwyd yn awr i chwi gan y rhai a efengylasant i chwi trwy yr Ysbryd Glân, yr hwn a ddanfonwyd o'r nef; ar yr hyn bethau y mae yr angylion yn chwenychu edrych," 1 Pedr i. 12. Y mae Crist yn *elw* tragywyddol i'r *angylion;* eithr yn fwy o elw i *ddynion* o filoedd o weithiau. Am hyny, fy nghyfeillion, bydded Crist yn brif destun eich ymddyddanion; ac wrth siarad am dano, byddwch yn sicr o gael eich cyfnewid i'w ddelw gogoneddus. "Eithr nyni oll ag wyneb agored, yn edrych ar ogoniant yr Arglwydd megys mewn drych, a newidir i'r unrhyw ddelw, o ogoniant i ogoniant, megys gan Ysbryd yr Arglwydd," 2 Cor. iii. 18. A oes dim tân wedi cydio yn eich calonau erioed wrth siarad am Grist yn gystal a siarad â Christ? Yn wir, y mae ymddyddan *am dano* mewn ysbryd priodol yn ymddyddan ag ef; y mae hyn wedi codi enaid i'r nefoedd lawer gwaith, a'i gadw yno hefyd am dro hir: y mae yn bywiocau ac yn cyfnewid, fel bywyd o feirw. Mae hyn yn ein lloni pan yn adfydus, yn ein darostwng pan yn falch, yn ein codi pan ar lawr, ac yn ein gollwng yn rhydd pan mewn teimlad o gaethiwed tost. Diolch! Trueni fod ein meddyliau yn cael eu cymeryd i fyny gan bethau llwydion a darfodedig y bywyd hwn, y rhai sydd yn ein tynu trwy ganol drain a dyrysni, a'n gadael i drengu ynddynt. Ymddyddenwch am Grist, y mae digon o destunau melusion ynddo, y rhai ydynt yn gadael nefoedd bur ar eu hol yn y meddwl. O Arglwydd, y mae tragywyddoldeb yn rhy fyr i chwedleua am y Ceidwad bendigedig; y mae holl ymysgaroedd y saint yn rhy fach i'w garu yn briodol!

6. Y mae hiraeth mewn cariad am *gymundeb* a'i gwrthddrych. Mae cariad at Grist yn chwilio yn ddyfal am gymdeithas ag ef trwy ddarllen y Bibl santaidd, gwrando pregethau, a gweddio mwy na mwy. "Ar lwybr dy farnedigaethau hefyd y'th ddysgwyliasom, Arglwydd; dymuniad ein henaid sydd at dy enw, ac at dy goffadwriaeth. A'm henaid y'th ddymunais liw nos; â'm hysbryd hefyd o'm mewn y'th foreu-geisiaf: canys preswylwyr y byd a ddysgant gyfiawnder pan fyddo dy farnedigaethau ar y ddaear," Esay xxvi. 8, 9. Nid yw dyledswyddau yn cysuro y credadyn, heb gael Crist *ynddynt.* Mae y rhagrithiwr yn ymfoddloni ar ddyledswyddau yn unig, ac yn

gwneyd iawn yn y cyflawniad o honynt. Nid oedd Bradford yn gadael gweddio nes cael Crist mewn gweddi; yna yr oedd ei galon mewn agwedd briodol i gymdeithasu ag ef. Nis gallai adael cyffesu pechod nes teimlo maddeuant pechodau, nis gallai beidio gofyn nes teimlo diolchgarwch am fendithion, a'i enaid wedi ei lanw â mawl. Sychedwch am gymundeb â Christ yn ei ras nes creu syched am fod gydag ef mewn gogoniant. "Gwaeddais â'm llef ar yr Arglwydd; â'm llef yr ymbiliais â'r Arglwydd." Mae "genyf chwant i'm datod, a bod gyda Christ;" Sal. cxlii. 1; Phil. i. 23.

Yr oedd yr apostol Paul wedi profi *melusder* Crist, fel nad oedd yn ofni *chwerwder* angau. Yr oedd pellder oddiwrth yr anwylyd yn annyoddefol i'r eglwys yn y Caniadau. "O na bait megys brawd i mi, yn sugno bronau fy mam! pan y'th gawn allan, cusanwn di," Can. viii. 1. Mae yr hwn sydd yn ei garu mewn brys am ei weled yn fwy perffaith nag y mae yn bosibl ei weled yn awr. Cyn ei weled yn ei ras yr oedd y dyn yn anewyllysgar i farw; eithr yn awr y mae yn awyddus i'w "weled fel y mae, a bod yn gyffelyb iddo." Yr oedd Crist yn mhreichiau yr hen Simeon, pan y gwaeddodd, "Yr awr hon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd, yn ol dy air: canys fy llygaid a welsant dy iachawdwriaeth, yr hon a barotoaist ger bron wyneb yr holl bobloedd; goleuni i oleuo y cenedloedd, a gogoniant dy bobl Israel," Luc ii. 28—30. Dyma ddydd y briodas yn y nefoedd, pan y bydd y briodas-ferch a'r priod-fab yn gweled eu gilydd wyneb yn wyneb.

7. Nid yw cariad yn gweled dim yn ormod i'w wneyd neu ei ddyoddef dros Grist. Nid oes dim rhwystrau a saif o flaen cariad. Y pethau ag sydd yn anmhosibl i eraill sydd yn hawdd iddynt hwy. Y pethau ag sydd yn boenus yn eu natur a droir gan gariad yn bleserau. Mae gweithredoedd cariad yn hyfryd, ac nid oes un baich yn rhy drwm i'w gario, na chystudd yn rhy lym i'w ddyoddef yn achos Iesu Grist. "Ac a gymerasoch eich ysbeilio o'r pethau oedd genych yn llawen." "Ac ni charasant eu heinioes hyd angau," Heb. x. 34; Dat. xii. 11. Aethant trwy y dwfr a'r tân, a chariad yn fflamio hyd y nefoedd yn fflam anniffoddadwy.

8. Y mae cariad yn drist yn absenoldeb ei gwrthddrych. Yr oedd Mair yn wylo am ddwyn o honynt ei Harglwydd ymaith, Ioan xx. 13. Mae y saint yn ymdawelu pan dygir y byd a'r cwbl sydd ynddo ymaith, ond iddynt gael mwynhau

eu Harglwydd. Carchar yw palasau y byd heb Grist; paradwys yw y bwthyn yn ei gwmpeini. Gadewch i ni gadw ein Harglwydd, ni a wnawn o'r goreu am bob peth arall; eithr os collwn wedd wyneb ein Harglwydd, y mae haul y byd yn dywyllwch. O Arglwydd, gâd i mi weled dy wyneb, yna aed y ddaear a'i theganau i ganol y môr.

9. Nid oes dim ond ei gwrthddrych ei hun a foddlona gariad. "Aroswch yn *fy* nghariad." Cynygiwch holl wrthddrychau y bywyd hwn i gariad at Fab Duw, y mae yn gwrthod cymeryd dim yn lle ei gwrthddrych ei hun. Nid oes dim ond Crist a dyr syched am Grist. Ei gyflawnder ef yn unig a all lanw dymuniadau yr enaid. Pe bai yr Arglwydd yn bwrw deng mil o fydoedd i mewn i wagter yr enaid, ni byddai fymryn llawnach; fe waeddai allan yn fwy nag erioed, "Moes, moes eto." O Arglwydd, bwrw dy anwyl Fab i mewn i fy angenion, yna ni bydd eisiau rhagor arnaf byth. "Digonir fi." Ni "sychedaf yn dragywydd" mwyach. Myfyriwch ar Grist, fy nghyfeillion, nes y byddo syched ynoch am Grist, ac yna y cewch Grist i dori eich syched yn llwyr. Nid oes dim ond uffern wrth fyfyrio ar uffern, a phechu sydd o fyfyrio ar bechod; a Christ wrth feddwl am Grist. Yr oedd yr apostol Paul yn meddwl cymaint am Grist nes yr oedd pob peth arall wedi myned o'i feddwl. Y mae yn coffâu ei enw ddwy waith ar bymtheg yn yr un benod. Nid oedd un frawddeg yn ymddangos yn llawn heb enw yr Arglwydd Iesu Grist ynddi. Cariad at Grist yw y nefoedd y tu yma i'r nefoedd; dyma ein gogoniant mewn tai o glai, ein paradwys ar benau y mynyddau, a'n llawenydd annhraethadwy mewn gorthrymderau. "Aroswch yn fy nghariad." "Ymgedwch yn nghariad Duw."

# PREGETH VIII.

## OFN YR ARGLWYDD.

"Yna y rhai oedd yn ofni yr Arglwydd a lefarasant bob un wrth ei gymydog: a'r Arglwydd a wrandawodd, ac a glybu; ac ysgrifenwyd llyfr coffadwriaeth ger ei fron ef, i'r rhai oedd yn ofni yr Arglwydd, ac i'r rhai oedd yn meddwl am ei enw ef. A byddant eiddof fi, medd Arglwydd y lluoedd, y dydd y gwnelwyf briodoledd: arbedaf hwynt hefyd, fel yr arbed gwr ei fab sydd yn ei wasanaethu," Mal. iii. 16, 17.

Arwydda Malachi, *genadwr*. Cenadwri oddiwrth Dduw y mae efe yn ei thraddodi yn bresenol. Yr oedd y prophwyd hwn yn ymddangos mor ardderchog i Origen, fel ag yr ydoedd am haeru mai angel o'r nef ydoedd, ac nid gwir ddyn. Bu y prophwyd hwn fyw wedi adeiladu yr ail deml, a chydoesodd â Haggai a Zechariah. Dyrchafodd ei lais fel udgorn yn ei ddydd, a mynegodd eu camweddau i bobl yr Iuddewon. Efe oedd yr udgorn olaf a udganodd dan yr Hen Destament. "Yna," sef ar ol i Israel ddyfod allan o'r caethiwed Babilonaidd; "yna," wedi i'r rhan fwyaf o'r bobl ymlygru ei ffyrdd, a dyfod allan o'r ffwrneisi yn waeth nag yr aethant i mewn; "yna y rhai oedd yn ofni yr Arglwydd a lefarasant bob un wrth ei gymydog." "Eich geiriau chwi a ymgryfhaodd i'm herbyn, medd yr Arglwydd: eto chwi a ddywedwch, Pa beth a ddywedasom ni yn dy erbyn di? Dywedasoch, Oferedd yw gwasanaethu Duw: a pha lesiant sydd er i ni gadw ei orchymynion ef, ac er i ni rodio yn alarus ger bron Arglwydd y lluoedd? Ac yr awr hon yr ydym ni yn galw y beilchion yn wynfydedig; ïe, gweithredwyr drygioni a adeiladwyd; ïe, y rhai a demtiant Dduw a waredwyd," adn. 13—15. "Yna y rhai oedd yn ofni yr Arglwydd a lefarasant bob un wrth ei gymydog." Ni ddylai llygredigaeth yr amseroedd wanychu, eithr yn hytrach gryfhau ein sel dros Dduw. Pa fwyaf diofal y byddo annuwiolion, mwyaf llym a gofalus y dylem ni fod. Mae pechod yn ei gryfder a'i haerllugrwydd gwaethaf yn y bobl ag sydd yn dywedyd yn erbyn Duw yn y geiriau uchod. Nid oedd yn bosibl ffurfio geiriau caletach yn ei erbyn ef na'r geiriau yr oedd y dynion hyn yn eu harfer; eto chwi welwch yn nghanol y tywyllwch hyn fod gras yn dysgleirio hefyd, a sel dduwiol yn enyn dros ogoniant y Goruchaf. "Yna y rhai oedd yn ofni yr Arglwydd a lefarasant bob un wrth ei gymydog." Y mae yr annuwiol yn *achwynwyr* yn erbyn Duw a chrefydd, a'r saint yn *amddiffynwyr*.

Yn yr hen fyd gynt, yr hwn a foddwyd mewn pechod cyn ei foddi â dwfr, yr oedd Noah yn "wr perffaith." Sodom hefyd, yr hon a losgwyd mewn pechod cyn ei llosgi â thân, oedd yn cynwys ynddi *un* amddiffynwr Duw a chrefydd. Yr oedd Lot gyfiawn, yr hwn oedd yn "poeni ei enaid cyfiawn yn nghanol ymarweddiad anniwair yr anniweiriaid," yn byw yno. Yr oedd Joseph yn yr Aipht fel pysgodyn crai mewn dwfr hallt—*a fresh fish in salt water.* "Chwi yw goleuni y byd, dinas ar fryn, yr hon nis gellir ei chuddio." Mae sefyll dros Dduw mewn amseroedd isel ar grefydd, pan y byddo yn warth i bawb ymarddel â'r gwirionedd, yn profi—

1. Gwirionedd gras. Pan y byddo crefydd fel brenines, yn addurnedig â thlysau, y mae iddi ganlynwyr lawer. Mae rhyw fath o grefydd yn ein gwlad ni yn anrhydeddus, a phobl a garant anrhydedd a ffasiwn sydd yn ei dylyn. Yr eglwys ar y Sabbath, a'r *ball* tair nos o'r wythnos. Y cymun ar y Pasg a'r Sulgwyn, a'r *horse races*, y *billiards*, a'r *masquerades* trwy y flwyddyn. Mae Duw yn cael mwy o'i ddianrhydeddu oddiwrth grefydd fel hyn na dim arall yn y byd. Mae hyn yn waeth na dywedyd, "Oferedd yw gwasanaethu Duw; a pha lesiant sydd er i ni gadw ei orchymynion?" Y nefoedd godo rhyw rai i ddyrchafu eu lleisiau fel udgorn yn erbyn pechodau ysgeler yr oes ddigywilydd hon. Ychydig yn mhob oes sydd yn dylyn Crist mewn carchar, mewn erledigaeth, ac mewn gwaed. Y bobl dduwiol, gywir, ffyddlon, yw y rhai sydd yn "dylyn yr Oen i ba le bynag yr elo; ac yn codi eu llef dros Dduw a'i achos mewn gwendid ac anmharch. Mae y pysgod marw yn myned gyda'r dwfr; y rhai byw sydd yn nofio yn erbyn y crych. Yr oedd Elias yn selog dros Dduw pan yr oedd ei allorau wedi eu tynu i lawr a'u dinystrio, yr hyn oedd yn dangos fod ei galon a'i enau wedi eu cyffwrdd â marworyn oddiar yr allor. "Ac efe a ddywedodd, Dygais fawr sel dros Arglwydd Dduw y lluoedd, o herwydd i feibion Israel wrthod dy gyfamod di, a dystrywio dy allorau di, a lladd dy brophwydi â'r cleddyf, a mi fy hunan a adawyd; a cheisio y maent fy einioes inau," 1 Bren. xix. 10.

2. Gogoniant crefydd yw bod ganddi amddiffynwyr mewn amseroedd isel. Anrhydedd penaf cristion yw bod yn ddyn santaidd yn nghanol cenedlaeth odinebus a phechadurus. Yn wresocach mewn cariad, yn llosgi yn boethach mewn sel, mewn oes rewllyd. Fel y rhosyn a'r lili, yn arogli ac yn swyno yn nghanol drain pigog; fel y llawryf, yn wyrdd yn

nghanol llwydrew oer y gauaf.' Mae Pergamus yn sefyll yn enwog hyd y dydd hwn o herwydd glynu wrth enw ac achos yr Arglwydd Iesu "lle yr oedd Satan yn trigo;" y mae gras yn ymddangos yn fwy gogoneddus yn ymyl pechod. "Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr uniawn; canys diwedd y gwr hwnw fydd tangnefedd," Sal. xxxvii. 37. Mae yn werth i chwi edrych ar yr uniawn yn mhob man y gwelir ef; ond y lle y mae yn fwyaf gogoneddus yw, pan y mae yn dysgleirio yn nghanol tywyllwch nos. Dacw ef yn suddo yn angau o olwg y byd, eto yn dal gafael yn ei uniondeb, ac yn glynu wrth ei berffeithrwydd. Mae y rhagrithwyr yn tori mantell crefydd i gyfateb yr amseroedd, ac yn troi y *sails* i ateb pob gwynt. Eithr edrychwch ar yr uniawn yn nghanol colledion, mewn cystudd, mewn adfyd, mewn bywyd, ac yn angau; y mae yn dal yn y blaen, ac yn dal gafael yn y gwirionedd, er myned yn erbyn y gwynt a'r llanw, ac yn groes i'r cwbl. Yn awr sylwn ar y gras a anrhydeddir mor fawr yn y testun, sef OFN DUW. Hyn yn benaf gaiff fod yn wrthddrych ein sylw am ychydig amser yn bresenol.

1. Nid ofn coelgrefyddol yw ofn Duw. Y mae ofn coelgrefyddol yn llanw y wlad, ac ofn Duw yn wirioneddol yn mhell oddiwrth ddynion. Mae llawer yn gosod pwys mawr ar fod ysgyfarnog yn croesi y ffordd o flaen dyn, ac yn ofni y canlyniadau yn ddirfawr. Nid yw y dyn yn ofni pechod ac uffern; eithr yn rhoddi mwy o bwys ar yr ysgyfarnog na'r hen sarph, ac na'r llew rhuadwy sydd yn rhodio oddiamgylch. Mae y dynion yn meddwl am ryw ddrwg presenol,—y cânt eu rheibio, ac y bydd eu cyflwr yn ofnadwy yn y byd; ac yn ddiystyr o ddrygau tragywyddol, wedi i'r byd hwn ddarfod.

2. Nid ofn dyn ond ofn Duw yw hwn. Mae ofn dyn yn dwyn magl: mae fel y *chameleon*, yn myned yn bob lliw. Wedi i ofn dyn orchfygu Pedr, y mae yn troi i wadu ei Arglwydd, yn tyngu, yn rhegu, yn gwneyd i ddyn fradychu ei gyfaill, a gwrthod ei Dduw.

3. Ofn duwiol yw hwn. Mae yn deimlad o barch i santeiddrwydd Duw, ac yn wylder ger ei fron, yn yr ystyriaeth o'r pellder anfeidrol sydd rhwng y Bod goruchel a ni. Efe yn y nefoedd, a ninau ar y ddaear; efe yn lân, a ninau yn aflan. Pan ddysgleiriodd gogoniant yr Arglwydd ar fynydd Sinai, dywedodd Moses, "Yr ydwyf yn ofni ac yn crynu," Heb. xii. 21. Y rhai sydd yn nesâu at Dduw yn ysgafn sydd yn hollol amddifad o'r ofn hwn: *scum* crefydd ydynt.

"Swm y cwbl a glybuwyd yw, Ofna Dduw, a chadw ei orchymynion: canys hyn yw holl ddyled dyn," Preg. xii. 13.

Ofn yr Arglwydd yw un o'r *prif* rasusau yn nghyfansoddiad dyn newydd; un o'r hadau cyntaf a henir yn nghalon dyn. Pan na all y cristion ddweyd ond ychydig am ffydd, a nemawr o ddim am sicrwydd, eto nid yw yn beiddio amheu nad yw yn ofni Duw. Pan y bydd y grasusau eraill, fel Moses, yn aros yr ochr hyn i'r Iorddonen, bydd ofn, fel Josuah, yn ein harwain trwy yr Iorddonen i wlad Canaan. Byddwn yn gadael ffydd, gobaith, ac amynedd, fel ffyn-baglau wrth ddrws y nef, gan ddywedyd, "Diolch i chwi am eich help mewn mil a mwy o ymdrechiadau celyd yn yr anialwch, ond nid oes arnom eisiau eich gwasanaeth mwyach; cerddwch a chynorthwywch eraill ag sydd ar eu taith tua'r nefoedd." Y mae ofn yn myned i mewn i wlad y goleuni llaw yn llaw â chariad, ac yn sefyll yn wylaidd i edrych ar Grist "wyneb yn wyneb." Bydd ofn yn un o'r adenydd â pha rai y byddwn yn cuddio ein hwynebau yn mhresenoldeb y Mawrhydi anfeidrol a gogoneddus. Nid yw yn bosibl bod yn gristion heb ofn yr Arglwydd yn ein llywodraethu; y mae yn rhan arbenig o gyfansoddiad ysbrydol y duwiol. Mae yn fwy posibl i fod yn ddyn heb reswm nag yn gristion heb ofn Duw. Mae yn beth posibl bod yn ddyn wedi colli rheswm, eithr y mae yn anmhosibl bod yn gristion heb ofn Duw. Mae yn dymher hanfodol i Gristionogaeth; y mae yn enaid yr enaid, yn ysbryd yr ysbryd, ïe, y gwaed ag sydd yn llifo trwy bob gwythien. Ofn plentynaidd, nid gwasaidd, ydyw. Mae y cristion yn ofni Duw fel y mae y plentyn yn ofni tad; yn ei ofni o herwydd gwir barch i'w deimladau. Mae y drygionus yn ei ofni fel y mae carcharorion yn ofni eu barnwr; yn ei ofni oddiar deimlad o euogrwydd. Mae y cristion yn gweled Duw mor fawr ac anrhydeddus, fel y mae yn ofni ei anfoddloni; yn ei weled mor dda a thrugarog, fel y mae yn ofni ei golli. Mae y cythreuliaid yn ofni ac yn *crynu;* eithr y mae y saint yn ofni ac yn *caru.* Mae satan a'r annuwiol yn ofni uffern a sefyllfa gospedigaethol am bechod; eithr yr ydwyf fi, fy nghyfeillion, yn ofni y nefoedd yn fwy nag uffern, yn ofni Duw yn fwy na'r tân. Ofn yr Arglwydd yw gwreiddyn santeiddrwydd, a mamaeth ufudd-dod. Mae ofn yr Arglwydd yn ymddangos yn dra ardderchog, pan edrychwch arno yn gweithredu mewn cysylltiad ag amryw o'r grasusau eraill.

1. Y mae ofn a chariad yn gysylltiedig â'u gilydd yn eu

gweithrediadau. "Efe a wna ewyllys y rhai a'i hofnant: gwrendy hefyd eu llefain, ac a'u hachub hwynt. Yr Arglwydd sydd yn cadw pawb a'i ceisiant ef; ond yr holl rai annuwiol a ddyfetha efe," Sal. cxlv. 19, 20. Yr oedd y ddyweddi yn ofni anfoddloni ei phriod, yn gymaint a'i bod yn ei garu mor fawr. Mae y cysylltiad hyn rhwng ofn a chariad yn angenrheidiol. Cariad yw yr hwyliau i beri i'r llong nofio yn gyflym; ofn yw y llwyth, i'w chadw mewn digon o ddwfr, ac yn sefydlog. Byddai cariad wrthi ei hun yn debyg o daraw yn erbyn y creigiau, a gwneyd llongddrylliad buan; eithr y mae ofn yn gadben, yn wastad yn eistedd wrth y llyw, gan gadw gwyliadwriaeth fanwl ddydd a nos. Mae cariad yn rhy wyllt i fod yn gadben; y mae yn rhaid cael ofn i lywyddu: y mae hi yn rhy anturiaethus hefyd i gael gyru y cerbyd, heb gael ofn i edrych at y *drag*, a'i osod ar yr olwyn.

2. Y mae ofn yn gweithredu mewn cysylltiad â ffydd. "Trwy ffydd Noe, wedi ei rybyddio gan Dduw am y pethau nis gwelsid eto, gyda pharchedig ofn a ddarparodd arch i achub ei dŷ, trwy yr hon y condemniodd efe y byd, ac a wnaethpwyd yn etifedd y cyfiawnder sydd o ffydd," Heb. xi. 7. Pan y bydd ofn yn sefyll i edrych ar santeiddrwydd Duw a halogedigaeth dychrynllyd y galon, y mae yn "ofni ac yn crynu," ac yn yr olwg yn suddo yn gyflym iawn i anobaith tragywyddol. Y pryd hyn y mae ffydd yn dyfod i mewn i gydweithredu; yn ymaflyd yn llaw ofn, gan ddywedyd, "Tyred yn y blaen gyda mi, fy nghyfeilles; y mae lle o fewn ychydig, a elwir Golgotha, y mae Oen Duw wedi marw yno dros y penaf o bechaduriaid; y mae digon o haeddiant yn ei waed i foddloni cyfiawnder a santeiddrwydd Duw, a digon hefyd i lanhau yr halogedigaeth dychrynllyd sydd yn dy galon dithau; ac nid oes neb erioed wedi syrthio i anobaith tragywyddol oddiar y bryn bendigedig hwn." Dacw hwynt yn myned llaw yn llaw, ac yn cyrhaedd Calfaria cyn iddi fyned yn nos, ac yn lle suddo byth, yn dechreu "gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw." Diolch! Y mae ofn yn crynu yn y llong pan y bydd y gwynt yn curo yn enbyd, eithr y mae ffydd yn taflu angor ac yn ei gwneyd yn ddyogel, er gwaethaf y gwynt a chynhwrf y tonau. Mae yr Arglwydd wedi cysylltu ofn a ffydd â'u gilydd i gynorthwyo eu gilydd yn yr ymdrechfa ysbrydol. Mae ofn yn cadw pwys a difrifoldeb yn yr enaid, a ffydd yn cadw i fyny hyder a chysur.

Mae ofn yn cadw rhag rhyfygu, a ffydd yn cadw rhag anobeithio, ac yn gwasanaethu fel corc a phlwm wedi eu cydwau â'u gilydd.

3. Y mae ofn yn cydweithredu â gwyliadwriaeth. "Y call a genfydd y drwg, ac a ymgudd: ond y ffyliaid a ânt rhagddynt, ac a gospir," Diar. xxii. 3. Mae gwyliadwriaeth i ofn fel llygad y sarph yn mhen y golomen; yn gweled peryglon yn mhob man, ac yn cilio rhagddynt; yn gweled y creigiau hyll y mae miloedd wedi gwneyd llongddrylliad am y ffydd arnynt, ac yn hwylio yn mhell oddiwrthynt. Chwi welwch, fy nghyfeillion, nad ydyw ofn yn gwneyd dyn yn llwfr-galon, ond yn *ofalus*.

4. Y mae ofn yn cydweithredu â gobaith. "Wele y mae llygad yr Arglwydd ar y rhai a'i hofnant ef, sef ar y rhai a obeithiant yn ei drugaredd ef," Sal. xxxiii. 18. Gallesid meddwl y byddai ofn yn debyg o ddinystrio gobaith; eithr y mae yn ei meithrin. Y mae ofn i obaith fel olew i lamp, yn ei chadw i losgi o hyd. Pa fwyaf yr ydym yn ofni aflwydd, mwyaf oll yr ydym yn gobeithio yn naioni yr Arglwydd. Y mae rhyw fath o obaith gan y rhai nad ydynt yn ofni Duw, ond nid yw yn wirioneddol; nid y gobaith da trwy ras ydyw; ond rhyw beth ydyw fydd yn troi yn siomedigaeth dragywyddol yn y man. "Eithr nyni, gan ein bod o'r dydd, byddwn sobr, wedi ymwisgo â dwyfroneg ffydd a chariad, ac â gobaith iachawdwriaeth yn lle helm," 1 Thes. v. 8. Mae llawer yn cymeryd arnynt feddianu helm gobaith; ond y mae yn rhaid gwisgo yr holl arfogaeth neu ddim. Os helm gobaith, dwyfroneg cyfiawnder hefyd; esgidiau parotoad efengyl tangnefedd, tarian y ffydd, cleddyf yr Ysbryd, gweddio bob amser â phob rhyw weddi a deisyfiad yn yr Ysbryd, a bod yn wyliadwrus at hyn yma, trwy bob dyfal-bara, Eph. vi. 13—18. Os nad ydych yn yr holl arfogaeth, nid ydych mewn un rhan o honynt.

5. Y mae ofn yn cydweithredu â diwydrwydd. Y mae ofn yn arswydo rhag pob perygl, ac yna yn cydio yn llaw diwydrwydd i barotoi *amddiffynfa*. Mae gwir ofn bob amser yn "darpar arch i achub ei thŷ." Mae ofn *slafaidd* yn rhwymo dyn mewn segurdod, gan ddywedyd mai meistr caled yw yr Arglwydd. "Mi a ofnais, ac a aethum, ac a guddiais dy dalent yn y ddaear: wele, yr wyt yn cael yr eiddot dy hun," Mat. xxv. 25. Mae ofn plentynaidd yn gwneyd i ddyn ofni a charu y gwrthddrych a ofnir; ïe, ymhyfrydu ynddo

uwchlaw neb, a'i ofni yr un pryd. Mae y dyn yn ofni ac yn gweddio, yn ofni ac yn edifarhau, yn ofni ac yn cofleidio. Mae ofn yn rhoi olew ar yr olwynion, fel ag y maent yn rhedeg yn hwylus; dan chwareu, ac nid dan ymlusgo. Yr oedd yr eglwys yn y Caniadau yn ofni yn fawr rhag i'w Hanwylyd ddyfod cyn y buasai wedi ymdrwsio; ac o ganlyniad yn brysio hyd y gallai i ymbarotoi. Mae gan ffydd lygad gwyliadwrus a llaw weithgar; y mae yn alltudio diogi o'i thiriogaethau. Ofn sydd yn dywedyd fod y gwaith caletaf ar y ddaear yn llawer ysgafnach na'r gosp ysgafnaf yn uffern. "Ofnwn gan hyny, gan fod addewid wedi ei adael i ni fyned i mewn i'w orphwysfa ef, rhag bod neb o honoch yn debyg o fod yn ol," Heb. iv. 1. Ffydd yw un o'r ysbardynau goreu yn yr yrfa nefol.

6. Mae ofn yn cydweithredu â sicrwydd. Gallech feddwl fod y ddau hyn yn wahanol iawn. Mae yn wir eu bod yn *gwahaniaethu;* ond nid ydynt yn *gwrthwynebu.* Mae y Pabyddion yn dywedyd nas gallwn gael sicrwydd, yn gymaint a bod Duw i'w wasanaethu mewn ofn. Mae yn bosibl i blentyn gael sicrwydd o gariad tad, ac eto yn ofni ei ddigio. Pwy oedd yn ofni pechod yn fwy na'r apostol Paul? ac eto pwy oedd yn meddianu mwy o sicrwydd nag ef? Mae ofni pechod ac ofni Duw yr un peth; canys nid oes neb yn ofni pechu ond y rhai sydd yn ofni Duw. "Mi a groeshoeliwyd gyda Christ: eithr byw ydwyf; eto nid myfi, ond Crist sydd yn byw ynof fi: a'r hyn yr ydwyf yr awr hon yn ei fyw yn y cnawd, ei fyw yr ydwyf trwy ffydd Mab Duw, yr hwn a'm carodd, ac a'i dododd ei hun drosof fi," Gal. ii. 20. Mae ffydd yn *enill* sicrwydd, ac ofn yn ei gadw.

7. Mae ofn yn cydweithredu â santeiddrwydd. "Ofn yr Arglwydd sydd lân, yn parhau yn dragywydd," Sal. xix. 9. Teml y Duw byw yw y galon, lle y mae ofn yn cyfaneddu ac yn llywodraethu. Mae ofn yn cadw y deml yn lân, yn weddus i'r Duw ag sydd yn preswylio yno. Mae yn ysgubo y tŷ bob dydd, yn bwrw allan gariad at bechod, ac yn cadw y cleddyf ysgwydedig yn loyw, ac yn barod i daro a lladd pob llygredigaeth. Mae ofn yn gwaeddi allan fel Joseph, "Pa fodd, gan hyny, y gallaf wneuthur y mawr-ddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw?" Gen. xxxix. 9. Nid yw ofn yn gryf i wneuthur dim ag sydd yn *ymddangos* yn bechadurus. "Eithr yr hwn sydd yn petruso, os bwyty, efe a gondemniwyd, am nad yw yn bwyta o ffydd; a pha beth bynag nid yw o ffydd, pechod

yw," Rhuf. xiv. 23. Mae ofn yn petruso yn wyneb ymddangosiad o ddrwg, pan nad ydyw yn hollol benderfynol a ydyw yn ddrwg neu beidio. Eithr os ydych yn petruso uwchben rhyw beth, rhyw amheuaeth yn y meddwl am gyfiawnder neu weddusrwydd y peth hwnw, gwell fyddai i chwi beidio a'i arfer. "Canys yr hwn sydd yn petruso, os bwyty, a gondemnir, am nad yw yn bwyta o ffydd." Gwelwn—

1. Fod yr hwn sydd yn ofni yr Arglwydd, yn ofni hefyd bob ymddangosiad o ddrwg. "Ymgedwch rhag pob rhith drygioni," 1 Thes. v. 22. Yr ydych yn myned i deml yr eilunod, y mae hyny yn debyg i eilun-addoliaeth; os nad ydych yn cytuno â'r peth y mae myned yno yn debyg iawn i gytuno. Os na wnewch ddrwg, na wnewch debyg iddo. Wrth ymwrthod â phechod, ïe, pob pechod, y mae yn bosibl i ni gadw mewn heddwch â Duw; ac wrth ymgadw rhag pob *rhith* drygioni, yr ydym yn cadw ein *cymeriadau.* Mae ofn yn cau y drws yn erbyn holl achlysuron pechod. Yr oedd y Nazareaid o dan y gyfraith, nid yn unig yn peidio yfed gwin, ond hefyd ymwrthod â bwyta y grawn; rhag i un arwain at y llall. Y grawn yn cynyrchu tuedd at yfed gwin, ac yfed ychydig o win fagu awydd am yfed llawer, ac felly yfed i ormodedd a meddwi. "Pan ymneillduo gwr neu wraig i addaw adduned y Nazaread, i ymneillduo i'r Arglwydd: ymneilldued oddiwrth win a diod gref; nac yfed finegr gwin, na finegr diod gref; nac yfed ychwaith ddim sugn grawnwin, ac na fwytaed rawnwin irion na sychion. Holl ddyddiau ei Nazareaeth ni chaiff fwyta o ddim oll a wneir o winwydden y gwin, o'r dincod hyd y bilionen," Num. vi. 3, 4. Nid yn unig fe gadwodd ofn Joseph rhag godineb, ond hefyd gwnaeth iddo ffoi rhag y brofedigaeth: ciliodd rhag ei feistres, ac ni fynai i neb ei weled yn ei chyfeillach. Mae yn bosibl i rith, neu ymddangosiad o bechod, rwystro cydwybod eraill, pan nad ydyw yn rhwystro dy gydwybod dy hun; o ganlyniad y mae yn bechod yn erbyn Crist. "A chan bechu felly yn erbyn y brodyr, a churo eu gwan gydwybod hwy, yr ydych chwi yn pechu yn erbyn Crist," 1 Cor. viii. 12. Yr ydych yn pechu yn erbyn Duw yn eich gweddiau, pan yr ydych yn dywedyd, "Nac arwain ni i brofedigaeth," ac ar yr un pryd yn rhedeg yn wirfoddol i demtasiwn, ac i safn y cythraul. Yr ydych yn gweddio yn aml, "Cadw ni rhag y drwg sydd yn y byd," ac ar yr un pryd yn rhedeg i'w ganol, wrth aros yn nghymdeithas dynion llygredig. "Mi a ysgrifenais atoch

mewn llythyr, na chyd-ymgymysgech â godinebwyr. Ac nid yn hollol â godinebwyr y byd hwn, neu â'r cybyddion, neu â'r cribddeilwyr, neu ag eilun-addolwyr; oblegyd felly rhaid fyddai i chwi fyned allan o'r byd. Ond yn awr mi a ysgrifenais atoch, na chyd-ymgymysgech: os bydd neb a enwir yn frawd yn odinebwr, neu yn gybydd, neu yn eilun-addolwr, neu yn ddifenwr, neu yn feddw, neu yn gribddeiliwr; gyda'r cyfryw ddyn na chyd-fwyta chwaith," 1 Cor. v. 9—11. Y mae masnach yn un peth, a chyfeillachu yn beth arall. Mae gormod o gyfeillach â phechaduriaid yn rhith drygioni, yn rhy debyg i bechod, ac yn sicr o galedu mewn pechod, a thynu gwarth ar grefydd yn y diwedd. "Onid aeth yr Arglwydd Iesu i blith pechaduriaid a phublicanod?" Do, ond fel meddyg idd eu gwella; nis gallasent hwy ei halogi ef, mwy nag y gall y tarth afiachus sydd yn codi o'r ddaear halogi wyneb yr haul. Eithr y mae ynom ni y fath lygredigaethau tu mewnol ag sydd fel golosg (*tinder*) yn barod i gyneu a chymeryd tân oddiwrth bob gwreichionen. Os ydych am gadw rhag meddwdod, ymgedwch rhag meddwon, ymgedwch rhag tafarndai. "Nac edrych ar y gwin pan fyddo coch, pan ddangoso ei liw yn y cwpan, pan ymgynhyrfo yn iawn. Yn y diwedd efe a frath fel sarph, ac a biga fel neidr," Diar. xxiii. 31, 32. Fe losgwyd y gwŷr ac oedd yn bwrw y llanciau i'r ffwrn; er nad aethant i mewn iddi, hwy a aethant yn rhy agos ati.

3. Nid yw yr hwn sydd yn ofni yr Arglwydd yn beiddio pechu yn *ddirgelaidd*. Mae rhagrithwyr a dynion drwg yn ymwrthod â rhai pechodau ysgeler, cyhoeddus, rhag cywilydd, eto yn eu harfer yn ddirgelaidd. Y maent fel dyn yn cau ffenestr y siop, ac eto yn cario y fasnach yn y blaen i mewn. Y mae yr hwn sydd yn ofni yr Arglwydd yn ymwrthod â phechod pan y mae y ffenestri yn nghau, canys y mae yn ystyried bod Duw yn gweled yn mhob man. Ac nid yn unig y mae yn ymatal am fod Duw yn gweled, ond hefyd am fod Duw yn casâu pechod, ac am fod pechod yn erbyn santeiddrwydd yr Arglwydd; ac felly yn erbyn tuedd y dyn newydd. Nid ydyw yn ymatal yn unig am fod Duw yn *gwybod*, ond hefyd am fod pechod yn erbyn Duw. "Na felldiga y byddar, ac na ddod dramgwydd o flaen y dall; ond ofna dy Dduw: yr Arglwydd ydwyf fi," Lef. xix. 14. Gellwch felldithio dyn byddar, ni chlyw efe; a gellwch osod tramgwydd o flaen y dall, ni wel efe; chwi fyddwch yn ddiangol o'u plegyd hwy;

eithr y mae Duw yn gweled, ac yn casâu y cyfryw weithredoedd. Y mae ofn Duw, fy nghyfeillion, yn ymwrthod â'r pechodau hyny na chlywai ac na welai dynion mo honynt byth.

4. Ni phecha ofn, er cael dyrchafiad. Y mae miloedd er hyny yn cwympo o flaen y ddelw aur: nid oes dim ond ofn yr Arglwydd o flaen eich llygaid a'ch ceidw rhag addoli y llo yn lle y gwir Dduw.

5. Y mae ofn Duw yn ymgadw rhag ymddial. Mae yn adwaen y neb a ddywedodd, "I mi y mae dial, mi a dalaf." Mae yn well gan y duwiol dalu da am ddrwg nag ymddial. Er i Miriam ymgynenu â Moses, ac i Dduw ei tharo o herwydd hyny â gwahan-glwyf, Moses oedd y cyntaf i weddio ar Dduw am iachad wedi hyny. "A Moses a waeddodd ar yr Arglwydd, gan ddywedyd, O Dduw, atolwg, meddyginiaetha hi yr awr hon," Num. xii. 13. Gosododd Eliseus ger bron ei elynion fara a dwfr, ac nid eu lladd. "A brenin Israel a ddywedodd wrth Eliseus, pan welodd efe hwynt, Gan daro a darawaf hwynt, fy nhad? Dywedodd yntau, Na tharo: a darewit ti y rhai a gaethiwaist â'th gleddyf ac â'th fwa dy hun? gosod fara a dwfr ger eu bron hwynt, fel y bwytaont ac yr yfont, ac yr elont at eu harglwydd. Ac efe a arlwyodd iddynt hwy arlwy fawr," 2 Bren. vi. 21—23. Wel, fy nghyfeillion, bydded ofn Duw o flaen ein llygaid. Amen.

## PREGETH IX.

### BUGAIL MAWR Y DEFAID.

"A Duw yr heddwch, yr hwn a ddyg drachefn oddiwrth y meirw ein Harglwydd Iesu, Bugail mawr y defaid, trwy waed y cyfamod tragywyddol," Heb. xiii. 20.

Y MAE y geiriau hyn, a'r adnod ddylynol, yn cynwys—1. Gweddi. 2. Diolchgarwch. Gallwn nodi, fod y pethau a ddechreuir mewn gweddi yn gyffredin yn diweddu mewn mawl. Gallwn edrych ar y ddwy adnod mewn cysylltiad â'u gilydd, yn cynwys gweddi daer o eiddo yr apostol dros yr Hebreaid. Gweddi yw y diweddglo arferol i'w epistolau at yr eglwysi, trwy yr hyn y mae yn egluro ei gariad gwresog atynt, ac yn amlygu ei deimladau tyner a'i gydymdeimlad â hwynt yn eu profedigaethau mawrion. Felly y mae yn diweddu yr epistol hwn at yr Hebreaid gyda y weddi ddifrifol ac ardderchog a ganlyn: "A Duw yr heddwch a'ch perffeithio yn mhob gweithred dda, i wneuthur ei ewyllys ef; gan weithio ynoch yr hyn sydd gymeradwy yn ei olwg ef, trwy Iesu Grist: i'r hwn y byddo gogoniant yn oes oesoedd. Amen."

Gallwn weled tri pheth yn y weddi hon. 1. Y ffynonell o ba un yr oedd yr apostol yn dysgwyl y bendithion hyn: "Duw yr heddwch." 2. Y bendithion eu hunain. Ffrwythlondeb yn mhob gweithred dda, trwy Iesu Grist, er moliant Duw. 3. Sail ei ddysgwyliad am feddianu y bendithion. Cyfodiad Iesu Grist oddiwrth y meirw. Y mae "Bugail mawr y defaid" wedi ei ddwyn drachefn oddiwrth y meirw, "trwy waed y cyfamod tragywyddol," onide ni buasai obaith am ddim ond marw byth. Ond gan ei fod wedi ei ddwyn drachefn oddiwrth y meirw, y mae drws wedi ei daflu yn agored led y pen i'r rhai ag sydd wedi haeddu carchar tragywyddol. Diolch! Y mae gwaed y cyfamod tragywyddol wedi dyfod â Duw yr heddwch yn agos atoch; gellwch ofyn y peth a fynoch, a dysgwyl ei dderbyn hefyd, yn gymaint a bod yr Arglwydd Iesu wedi ei gyfodi "oddiwrth y meirw trwy waed y cyfamod tragywyddol." Mae yr apostol yn defnyddio adgyfodiad Crist oddiwrth y meirw yn rhyw rym annhraethol yn ei weddiau.

Y mae tri pheth yn dyfod o dan ein sylw yn adgyfodiad Crist oddiwrth y meirw. 1. Y person: "Ein Harglwydd

Iesu, Bugail mawr y defaid." 2. Y weithred: "Dwyn drachefn oddiwrth y meirw." 3. Y gweithredydd yn y gorchwyl hwn: "Duw yr heddwch."

Yn y weithred ryfeddol hon o eiddo y Tad, y mae tair priodoledd yn dyfod i'r golwg.

(1.) Gallu anfeidrol. Y mae Duw Hollalluog, yn gystal a Duw yr heddwch, yn dyfod i'r golwg, mewn "dwyn drachefn ein Harglwydd Iesu oddiwrth y meirw."

(2.) Y mae cyfiawnder yn dyfod i'r golwg yn dra gogoneddus. Nid yw hollalluogrwydd yn codi y Bugail mawr trwy nerth, cam neu gymhwys, eithr y mae "gwaed y cyfamod tragywyddol" yn cael ei anrhydeddu uwch ben y bedd. Gan fod Crist wedi talu yr holl ddyled trwy ei waed ei hun, nid ydoedd ond cyfiawn iddo gael ei ollwng yn rhydd o'r carchardy.

(3.) Y mae adgyfodiad Crist yn egluro y briodoledd o heddwch gydag ardderchogrwydd anfeidrol. Mae y Duw digllon yn Eden yn sefyll wrth fedd ein Harglwydd Iesu yn "Dduw yr heddwch." Mae ei holl lid wedi ei dywallt ar y Bugail, am hyny y mae mewn perffaith heddwch â'r defaid. "Nid oes lidiawgrwydd ynof, medd yr Arglwydd."

Ond fe allai mai ein pwnc ni yn bresenol fydd edrych ychydig ar y person bendigedig sydd wedi ei ddwyn drachefn oddiwrth y meirw. Mae yn cael ei alw yma, chwi welwch, "Ein Harglwydd Iesu, Bugail mawr y defaid." Mae y titl hwn, fy nghyfeillion, "yr Arglwydd Iesu," yn rhywbeth ag sydd yn gweddu ei adgyfodiad oddiwrth y meirw. Mae yn wir fod y titl grasol hwn yn *ddyledus* iddo o'i enedigaeth; eithr ni roddwyd ef yn gyflawn iddo hyd nes y dygwyd ef drachefn oddiwrth y meirw. Cadwyd ei wisgoedd ardderchocaf erbyn boreu y trydydd dydd, i gael ymddangos ynddynt mewn bri wedi gorphen ei waith gwaedlyd. *His full robes were kept to be put on after his resurrection.* Galwyd Crist yn *Arglwydd* lawer gwaith o'r blaen, a galwyd ef yn Iesu hefyd; eithr ni alwyd mo hono erioed, "yr Arglwydd Iesu," hyd nes iddo godi oddiwrth y meirw. Y lle cyntaf y cawn hanes ei fod yn cael ei alw "yr Arglwydd Iesu" yw Luc xxiv. 3. "Ac wedi iddynt fyned i mewn, ni chawsant gorph yr Arglwydd Iesu." Pan y daeth Mair Magdalen ac eraill o'r gwragedd at y bedd wedi ei adgyfodiad, dywedir, "Ni chawsant gorph yr Arglwydd Iesu." Dywedodd yr angylion wrthynt, "Paham y ceisiwch y byw yn mysg y meirw? nid yw efe yma, ond efe

a gyfododd." Dyma y lle yr unwyd y ddau ditl hyn â'u gilydd, sef yr Arglwydd a'r Iesu. Yma y mae yn dechreu; ni arferwyd hwynt mewn cysylltiad â'u gilydd erioed o'r blaen; eithr ar ol hyn y maent yn cael eu harferyd yn fynych iawn. Trwy yr adgyfodiad oddiwrth y meirw yr "eglurwyd ef yn Fab Duw mewn gallu." Mae efe yn sefyll yn awr wedi ei egluro yn Arglwydd, yn Iesu, ac yn Grist; ac yma y gosodir y goron driphlyg hon ar ei ben am byth. Cyn hyn yr oedd yn rhodio mewn dirgelwch, a llen o gnawd yn cuddio llewyrchiadau a phelydrau ei ogoniant.

Sylwn ar swyddogaeth yr Arglwydd Iesu: "Bugail mawr y defaid." Hyn gaiff fod ein prif destun dros ychydig o amser yn bresenol. Mae y titl, "Yr Arglwydd Iesu" yn ymddangos yn fwy anrhydeddus iddo ef; eithr y mae "Bugail mawr y defaid" yn eglurhad mwy cysurus i ni. Efe a ddyoddefodd, nid fel person unigol drosto ei hun, eithr fel Bugail mawr y defaid: beth bynag a wnaeth ac a ddyoddefodd, yr oedd y cwbl dros y defaid. Er dealltwriaeth gwell o'r testun, gadewch i ni ystyried y tri pheth canlynol:—

I. Gwrthddrychau gofal Crist: "y defaid."

II. Ei swyddogaeth: Bugail y defaid.

III. Uchafiaeth ei swydd: "Bugail *mawr* y defaid."

Ni adawn y defaid am ychydig o amser y naill ochr, i bori yn y porfeydd gwelltog hyd ryw amser arall, ac ymdrechwn ddywedyd ychydig am y Bugail mawr.

I. Y mae Crist yn fugail. Y mae efe yn caniatau ei alw a'i adwaen wrth yr enw hwn. Dyna oedd un o'i enwau yn yr Hen Destament, at yr hwn y cyfeiriai y defaid eu brefiadau. "Gwrando, O Fugail Israel, yr hwn wyt yn arwain Joseph fel praidd; ymddysgleiria, yr hwn wyt yn eistedd rhwng y cerubiaid," Sal. lxxx. 1. O dan yr efengyl efe a gymerodd yr enw hwn, gan ddywedyd yn nyddiau ei gnawd, "Myfi yw y bugail da." Nid ydyw wedi bwrw y swydd hon ymaith yn uchder ei ddyrchafiad yn y drydedd nef; y mae yn parhau i fod yn Fugail mawr y defaid mewn gogoniant. Derbyniodd y swydd a'r awdurdod hon gan Dduw Dad. Duw y nefoedd a'i gosododd i fod yn fugail y defaid. Efe yw ein bugail, ac y mae ganddo hawl i'r ddeadell ar ddau olygiad.

1. Rhoddwyd hwynt iddo gan y Tad. Dywedodd y Bugail ei hun fod y defaid wedi eu rhoddi iddo yn etifeddiaeth gan y Tad. Nid eu rhoddi er mwyn cael gwared o'r fath gread-

uriaid o'r golwg; na, na; y mae gan y Tad ryw afael arnynt eto, er mor wael ydynt; ac y mae y "Tad ei hun yn eu caru." Yr oedd eu rhoddi i Grist i'w hachub i fywyd tragywyddol yn eglurhad o'i gariad anfeidrol. Nid eu rhoddi trosodd i Grist i'w lladd a wnaeth; fel y mae yn rhoddi yr annuwiol a'r rhagrithwyr, i gael eu cigyddio a'u dryllio yn llaprau fel llestri pridd. Eithr eu rhoddi i Grist fel bugail i'w dwyn o'u crwydriadau yn ol i'r gorlan; efe a'u rhoddodd nid i'w dystrywio, ond i'w cadw a'u hiachau. Y mae Crist, y Bugail da, yn cadw y defaid, a'u cymhwyso trwy ei waed i fwynhau gogoniant yn dragywydd. Ni chollwyd erioed, ac ni chollir byth yr un o honynt. Yr iaith yn y dydd diweddaf fydd, "Wele fi a'r defaid a roddodd Duw i mi; ac ni thrigodd ewin yn ol." Na, nid oes cymaint ag oen bach wedi ei golli, trwy yr holl rew ac eira, a thywydd garw y gauaf dû. Dyma bob un a roddodd y Tad i mi wedi eu hachub a'u dwyn yn ddyogel i ogoniant.

2. Y maent wedi eu rhoddi iddo mewn ffordd o wobr a thaledigaeth. "Efe a wel ei had; efe a wel o lafur ei enaid, ac a ddiwellir." Efe a'u gwel fel gwobr a thaledigaeth, am ollyngiad ei waed gwerthfawr, a'i ddyoddefaint mawr. Rhoddodd y Bugail mawr y fath werth ar y defaid, fel y darfu iddo bwrcasu hawl ynddynt â'i waed ei hun. Ac y mae y Bugail yn llwyr foddlon i'r pwrcas, ac yn tybied ei hun wedi derbyn taledigaeth foddlonol am ei holl boenau ar y groes. Y mae Crist yn fugail, fy nghyfeillion, trwy ei ewyllys ei hun, ac y mae y defaid yn eiddo cyfiawn iddo trwy brynedigaeth. Mae pob peth yn Nghrist ag sydd yn angenrheidiol i fod mewn bugail er gweinyddu y swydd.

Eithr cyn siarad am gymeriadau y Bugail i gyflawni ei swydd, dywedwn ychydig am sefyllfa y defaid pan y cymerodd efe eu gofal. "Mi warantaf eu bod hwy oll yn glyd ac yn gryno yn y gorlan, yn aros dyfodiad y Bugail mawr." Na, na; yr oeddynt oll wedi myned ar ddisperod i'r anialwch. "Yr oeddynt yn ddof, ac yn wirion yn pori gerllaw tŷ eu perchenog." Nage, nage; y mae y defaid yn wylltion ar fynydd-dir y cythraul. "O, y Bugail da, gwell i ti droi yn ol i dy wlad dy hun, nid oes dim ond corlan wag yn dy aros; y mae y defaid i gyd wedi myned ar gyfeiliorn. O, y Bugail da, dychwel adref." "Na," ebe y Bugail, "mi a'u ceisiaf; âf ar eu hol i'r mynyddoedd, ac i'r anialwch." Bendigedig, aeth ein Bugail ni ar eu hol i'r bru, gwnaethpwyd ef o

"wraig, a than y ddeddf." Eithr nid oeddynt wedi aros yno; canys o'r groth yr ymddyeithrasant. Dylynodd hwynt i anialwch pechod, a diafol, y byd presenol, profedigaethau chwerwon a pheryglus; ceisiodd hwynt, a chafodd hwynt yn wasgaredig trwy y greadigaeth yn mhob man. Rhai yn nglyn cysgod angau, rhai yn suddo i'r bedd tywyll, rhai ar ben Sinai, rhai yn llochesau y llewod, ac ar fynyddoedd y llewpardiaid. Dyma y lleoedd yr oeddynt, a dyma y manau y buasent eto, oni buasai i'r Bugail mawr eu *ffeindio* a'u dwyn adref. Efe a'u gwaredodd o "safn y llew, a phalfau yr arth;" cipiodd hwynt fel "pentewynion o'r gyneu dân;" a daeth â hwynt ar ei ysgwyddau ei hun yn llawen i'r gorlan, gan ddywedyd, "Cyd-lawenhewch â mi, canys cefais y ddafad a gollasid."

Er cael y defaid, a'u dychwelyd i'r gorlan, y mae gwaith mawr eto gan y Bugail arnynt; canys y mae y defaid ag oedd gynt yn wynion yn awr wedi myned yn dduon gan huddygl y diafol; y defaid ag oedd gynt yn ddofion sydd yn awr yn wylltion, wrth bori ar hyd fynyddoedd agored y cythraul. Ond, bendigedig! y mae y Bugail da wedi agor ffynon yn ei ystlys, lle y mae yn golchi y "duaf yn wyn fel yr eira." Ac, er eu bod wedi myned yn wylltion ac yn chwerwon, yn fwy tebyg i fleiddiaid nag i ddefaid, y mae y Bugail yn eu cyfnewid a'u gwneyd yn berffaith ddiniwed. Diolch! y mae yn gwneyd Saul yr erlidiwr yn Paul y gweddiwr, Saul y cablwr yn Paul y pregethwr; "wele," y mae y cablwr "yn gweddio." Gogoniant! y mae yn gwneyd y bleiddiaid yn ŵyn; gall blanu ei dymher addfwyn ei hun yn y geifr, a'u gwneyd yn ddefaid. Ië, fy nghyfeillion, yr oedd y defaid wedi troseddu; crwydrasant o'r cae, a thros y perthi; gadawsant baradwys, a chrwydrasant ar hyd diroedd gwaharddedig. "A nyni oll a grwydrasom fel defaid; troisom bawb i'w ffordd ei hun:" trowyd ni i'r ffald, danfonwyd ni i dir *Arglwydd y manor*, fel y gwneir ag anifeiliaid crwydredig. Och fi! yr ydym wedi gwneyd mwy o ddrwg na'n gwerth fil o weithiau. Oni buasai i'r Bugail mawr ddyfod i'r golwg a chymeryd ein plaid, buasem wedi trengu. Er ein bod wedi myned dros ein penau a'n clustiau mewn dyled; eto yr oedd y bugail mawr wedi penderfynu i dalu y pris i lawr, a'n pwrcasu iddo ei hun. Er ein bod ni wedi fforffedu ein hawl ynddo ef, eto yr oedd efe yn dal gafael ynom ni trwy y cwbl. Yr oedd ei gariad mor fawr at y defaid, fel y rhoddodd ei

einioes i lawr drostynt. Felly efe a'u gwaredodd hwynt trwy ei allu o feddiant y gelyn, a rhag digofaint dwyfol trwy daliad perffaith a llawn, ac oddiwrth eu trueni eu hunain trwy blaniad egwyddorion pur a santeiddiol gan yr Ysbryd Glân.

Felly, fy nghyfeillion, y gwaith cyntaf y mae Crist yn ei wneyd fel bugail yw dyfod â'r defaid adref i gorlan yr eglwys ar y ddaear; yr ail waith yw gofalu am danynt yno; y trydydd gwaith yw dyfod â hwy i gorlan y nefoedd yn y diwedd. Mae wedi gwneyd y gwaith cyntaf, ac yn parhau i'w wneyd o hyd. Mae yn dda i'r defaid mai Duw yw y Bugail mewn agwedd gwas, onide ni buasai yn *ffeindio* un o honynt byth. Eithr y mae y Bugail mawr hwn yn dyfod o hyd i'w holl ddefaid yn mhob agwedd. Er ein bod wedi crwydro fel defaid, yr ydym yn awr wedi ein dychwelyd at "Fugail ac Esgob" ein heneidiau. Pe buasai holl angylion Duw wedi dyfod yn fugeiliaid, nis gallasent *ffeindio* un o'r defaid byth; ond bendigedig fyddo Duw, y mae ein Bugail ni yn dychwelyd yr holl ddefaid yn ddyogel i'r gorlan yma ar y ddaear, ac yn ddyogel byth i'r gorlan dragywyddol yn y nefoedd, lle y cânt ymborthi yn dragywydd ar borfeydd nefol, ac yfed yn ddiddiwedd o afonydd hyfrydwch sydd yn llifo yn oes oesoedd ger bron Duw. Yn awr, fy nghyfeillion, gan fod y praidd mewn ffordd deg i ddod yn nghyd, cawn sylwi bellach ar rai o'r cymhwysderau ag sydd yn y Bugail tuag at eu cadw yn nghyd, a gofalu am danynt.

1. Y mae swydd bugail yn gofyn llawer o ddiwydrwydd, gofal, ac ymroad. Mae yn ofynol fod gan fugail sylw manwl ac edrychiad cyson dros y ddeadell. Yn yr ystyr hyn yr oedd Jacob yn gysgod o Grist. Bu yn bugeilio yn ngwres y dydd a rhew y nos; y naill a'r llall yn ei dreulio, a'i gwsg yn cilio oddiwrth ei lygaid, Gen. xxxi. 40. Nid yw creaduriaid eraill mor dueddol i grwydro a'r defaid, fel nad rhaid eu gwylio bob amser. Ac fe allai yn ein gwlad ni yn bresenol nad oes gymaint o angen gwylied y praidd liw nos. Eithr yr oedd Jacob yn byw mewn gwlad lle yr oedd creaduriaid gwylltion a rheibus yn ysglyfio y praidd, fel yr oeddynt mewn peryglon gwastadol, nos a dydd, am hyny yn gofyn gofal a gwyliadwriaeth parhaus. Er fod Jacob yn fugail rhagorol, eto y mae yn rhaid iddo yntau blygu i'n Bugail mawr ni. Gallai cwsg orchfygu Jacob, a'r bleiddiaid wneuthur hafog dychrynllyd yn mysg y praidd. Ond O, Iesu bendigedig,

Bugail Israel, yr hwn nad yw byth yn cysgu. "Wele, ni huna ac ni chwsg Ceidwad Israel. Yr Arglwydd yw dy geidwad: yr Arglwydd yw dy gysgod ar dy ddeheulaw. Ni'th dery yr haul y dydd, na'r lleuad y nos. Yr Arglwydd a'th geidw rhag pob drwg; efe a geidw dy enaid. Yr Arglwydd a geidw dy fynediad a'th ddyfodiad, o'r pryd hwn hyd yn dragywydd," Sal. cxxxi. 4—8. Y mae gofal Crist y fath am ei ddefaid, fel nad yw efe, fel y gwas cyflog, yn ffoi ac yn gadael y defaid wrth weled y blaidd yn dyfod. Na; y mae y bugail da yn "rhoddi ei einioes dros y defaid. Eithr y gwas cyflog, a'r hwn nid yw fugail, yr hwn nid eiddo y defaid, sydd yn gweled y blaidd yn dyfod, ac yn gadael y defaid, ac yn ffoi: a'r blaidd sydd yn eu hysglyfio hwynt, ac yn tarfu y defaid. Y mae y gwas cyflog yn ffoi oblegyd mai gwas cyflog yw, ac nid oes ofal arno am y defaid," Ioan x. 11—13. Eithr y Bugail mawr sydd â'i lygaid yn wastadol arnynt; y mae yn rhodio yn nghanol ei eglwys. "Wele, yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd." Pan nad oedd ond un ar ddisperod, wele ef yn gadael y namyn un cant, ac yn myned i'r mynyddoedd, a cheisio yr hon a aeth ar ddisperod, Mat. xviii. 12. Nid oes yr un o'r defaid, bydded mor wael ag y byddo, a aiff byth ar goll o'r cyfrif. Os ydwyt yn un o braidd yr Arglwydd Iesu, y mae efe yn sicr o ofalu am danat.

Yr oedd yr arch-offeiriad gynt yn dwyn enwau deuddeg llwyth Israel ar ei ddwyfroneg. Mae y Bugail mawr yn dwyn enwau ei holl ddefaid yn ei galon. Mae eu henwau i gyd yn y nefoedd, yn ysgrifenedig yn "llyfr y bywyd." Mae gofal y Bugail mor fawr a manwl, fel ag y mae enw pob dafad yn unigol wedi ei ysgrifenu yn ei lyfr. Yr hwn sydd yn galw y ser wrth eu henwau sydd hefyd â holl wallt ei saint yn gyfrifedig. "Y mae y defaid yn gwrando ar ei lais ef; ac y mae efe yn galw ei ddefaid ei hun erbyn eu henw, ac yn eu harwain hwy allan," Ioan x. 3. Mae y Bugail mawr yn cadw gwyliadwriaeth rhagluniaethol drostynt oll, a thros bob un ar wahan. Mae llygad craffus y Bugail nid yn unig ar bob dafad, ond hefyd ar bob angen. Mae wedi ymgymeryd â holl ofalon y praidd yn eu gwahanol angenion, yn y byd hwn yn gystal â'r byd a ddaw. Efe sydd yn eu tywys hyd angau, a'u tywys hefyd trwy angau i'r gorlan dragywyddol. Mae ei ofal am danat yn llawn cymaint pan ydwyt mewn tywyllwch a phan ydwyt yn y goleuni; pan o

dan guddiadau ei wyneb fel pan yn llawenychu yn ngoleuni ei wyneb.

2. Y mae tynerwch yn hanfodol i swydd bugail. Mae y Bugail mawr, fy nghyfeillion, yn annherfynol yn y cymhwysder hyn. Os dygwydd i'r defaid grwydro, y mae efe yn eu ceisio yn ofalus: er bod ganddo awdurdod brenin, eto y mae yn meddianu tynerwch calon a llaw bugail. Mae yn dyfod â hwy adref yn fwynaidd, gan eu codi ar ei ysgwyddau ei hun. "Fel cigydd, i roi y gyllell yn eu gyddfau" Nage! eithr fel bugail tyner-galon i'w hymgeleddu. Nid llew i'w braidd yw yr Arglwydd Iesu, ond bugail tyner a thrugarog. "Fel bugail y portha efe ei braidd, â'i fraich y casgl efe ei ŵyn, ac a'u dwg yn ei fynwes, ac a goledda y mamogiaid," Esay xl. 11. Os oes man tynerach yn ei galon na'r llall, efe a esyd ei ŵyn yno. Nis gall yr ŵyn gweinion fyned yn y blaen gyda'r defaid cryfion, am hyny y mae y bugail yn eu codi yn ei freichiau, ac yn eu rhoddi yn ei fynwes i'w cynesu a'u cryfhau: fel hyn y mae Crist yn ymgeleddu ei rai bychain. Pa fodd y gall yr enaid hwnw suddo, o dan yr hwn y mae y breichiau tragywyddol? Mae y credadyn gwan yn ddigon cryf pan yn cael ei ddal yn mhreichiau Crist, ac yn ddigon cysurus pan yn cael ei wasgu yn ei fynwes. Bendigedig, dyma le i bwyso byth.

3. Y mae gwybodaeth yn hanfodol i gyflawni swydd bugail. Mae yn rhaid meddu gwybodaeth i adnabod sefyllfa y praidd, pa ddoluriau y maent yn ddarostyngedig iddynt, a pha fodd i'w rhwystro neu eu gwella. Pa ymborth sydd yn iachus iddynt, a pha fodd i'w porthi. Mae Crist, fy nghyfeillion, ein Bugail mawr ni, yn berffaith gyfarwydd yn yr holl bethau hyn. Mae efe yn rhoddi bywyd tragywyddol, na chyfrgollir byth, i'w braidd ef. Mae efe yn meddyginiaethu y claf, ac yn porthi y newynog ag ymborth iachus. Mae yn adnabod y clefydau, a gall eu gwella yn oll-iach; y mae yn gweled eu peryglon, ac yn eu rhwystro rhag syrthio iddynt; y mae yn adnabod eu hangenion, ac yn ddigon cyfoethog i'w diwallu; y mae yn adwaen eu gelynion, ac yn ddigon galluog i'w siomi. Mae Dafydd yn llawenychu ac yn ymgryfhau yn wyneb amgylchiadau tywyll "glyn cysgod angau," wrth edrych ar yr Arglwydd yn y cymeriad o Fugail. "Yr Arglwydd yw fy Mugail: ni bydd eisiau arnaf." Peidiwch ag ofni newyn, os byddwch yn byw ar faesydd breision y Bugail mawr. "Efe a wna i mi orwedd mewn porfeydd gwelltog:

efe a'm tywys gerllaw y dyfroedd tawel. Efe a ddychwel fy enaid: efe a'm harwain ar hyd llwybrau cyfiawnder er mwyn ei enw. Ië, pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angau, nid ofnaf niwed: canys yr wyt ti gyda mi; dy wialen a'th ffon a'm cysurant. Ti a arlwyi ford ger fy mron yn ngwydd fy ngwrthwynebwyr: iraist fy mhen ag olew: fy phiol sydd lawn," Sal. xxiii. Er i chwi rodio ar hyd glyn cysgod angau, y lle tlotaf a thywyllaf yn y byd, ni bydd eisiau yno. Bendigedig, dyma wawr ar dywyllwch angau, dyma ddigon yn safn marwolaeth, dyma wledd yn nghanol newyn y byd, dyma fywyd mewn trancedigaeth, dyma waredigaeth mewn cyfyngder, dyma ddigon pan y mae y byd wedi myned yn ddim. "Ni bydd eisiaf arnaf." Gogoniant! "Yr wyt *ti* gyda mi; dy wialen a'th ffon a'm cysurant." Bendigedig am y Bugail mawr, yr hwn sydd yn gyfarwydd â holl angenion y defaid, yr hwn nid yw yn blino eu gwylied, ac yn myned ar eu hol a'u dychwelyd wedi iddynt fyned ar grwydr o'u tir pori. "Efe a ddychwel fy enaid." Er i ni mewn profedigaethau gwympo i bechod, ni oddef ein Iesu bendigedig i ni aros yno. Yr oedd Pedr wedi dychwelyd yn ol lawer o raddau, onide ni buasai byth yn gwadu ei Feistr trwy lwon a rhegfeydd. Ond, fy nghyfeillion, un edrychiad oddiwrth y Bugail mawr a'i dychwelodd adref dan redeg ac wylo. Nid yw y defaid tlawd yn gwybod eu hunain beth ydyw eu hangenion, ac yn fynych yn methu dyfod at y Bugail; yn methu ei *ffeindio;* eithr y mae efe yn eu *ffeindio* hwy, ac yn eu gwaredu o'r holl leoedd y gwasgarwyd hwynt. "Efe a ddychwel y darfedig."

4. Y mae cryfder a chalondid yn hanfodol i swydd bugail. Mae yn rhaid iddo fod yn wrol, peidio ofni y blaidd, a chilio rhagddo; eithr ei wrthsefyll yn gryf yn mhlaid y defaid. Yr oedd Dafydd yn fugail gwrol, er yn llanc ieuanc. Pan y daeth arth a llew i ddinystrio ac ysglyfio y praidd, efe a ymosododd arnynt, ac a'u lladdodd hwynt, a gwaredodd yr oen o safn y llew. "A Dafydd a ddywedodd wrth Saul, Bugail oedd dy was di ar ddefaid ei dad: a daeth llew ac arth, ac a gymerasant oen o'r praidd. A mi a aethum ar ei ol ef, ac a'i tarewais ef, ac a'i hachubais o'i safn ef: a phan gyfododd efe i'm herbyn i, mi a ymaflais yn ei farf, ac a'i tarewais, ac a'i lleddais ef," 1 Sam. xvii. 34, 35. *Well done,* Dafydd; ond y mae yn rhaid i tithau roi y goreu i'r Bugail mawr, yr hwn sydd gadarn i waredu ei ddeadell oddiwrth eu gelynion. Mae y Bugail mawr wedi tori esgyrn gên yr hen

"lew rhuadwy," ïe, wedi ysigo ei ben i gyd, fel na all larpio y defaid mwyach. Mae y defaid wedi eu gwaredu o balf yr arth; ac y mae gofal y Bugail mawr yn rhy fanwl drostynt i'w cyfrgolli byth mwyach. Mae gelynion yr eglwys yn aml ac yn rymus, ac nid yw y saint ond gwan a digymhorth iawn ynddynt eu hunain; eithr y mae y Bugail mawr yn ddigon ar eich cyfer; cedwch yn agos ato, ac yna byddwch yn ddyogel. Mae yn rhaid i deyrnas satan, uchel drem y byd, gallu y tywyllwch, oll syrthio yn ganddryll o flaen ein Bugail mawr ni. Ti gei dori trwy bob rhwystr sydd ar dy ffordd; nid yn dy allu dy hun, cofia, ond yn nerth anfeidrol dy Frenin a'th Fugail. "Daw y rhwygydd i fyny o'u blaen hwynt; rhwygasant a thramwyasant trwy y porth, ac aethant allan trwyddo, a thramwya eu brenin o'u blaen; a'r Arglwydd ar eu penau hwynt," Micah ii. 13.

5. Y mae bugeilio yn waith o amynedd a chaledi. Mae yn rhaid iddo oddef llawer ystorm gref, llwydrew y nos, a gwres y dydd; ïe, sefyll allan, a myned yn amyneddgar trwy bob tywydd. Mae yn rhaid goddef llawer o galedi wrth gynorthwyo y defaid egwan a thlawd. Dyma fel oedd Jacob pan yn dylyn defaid Laban, yn dyoddef yn dost oddiwrth wres y dydd a llwydrew nos, nes oedd cwsg yn cilio. Pa faint mwy, fy nghyfeillion, y dylai ein Bugail mawr ni gwyno? Beth oedd tywydd garw a thrafferth Jacob mewn cysylltiad â'i braidd, i'w gydmaru â'r Arglwydd Iesu? Dim, llai na dim. Ni weithiodd neb mor galed ag ef, ni ddyoddefodd neb y filfed ran o'i ddyoddefiadau ef; bu mewn ystormydd annhraethol wrth fugeilio y defaid. "Gwr gofidus a chynefin a dolur" ydoedd. Mae efe ei hun yn dywedyd wrthym mai efe oedd y tlotaf, y gwaelaf, a'r mwyaf gofidus o bawb, pan yn canlyn ei ddefaid yn ein byd ni. "A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Y mae ffauau gan y llwynogod, a chan ehediaid y nefoedd nythod; ond gan Fab y dyn nid oes le i roddi ei ben i lawr," Mat. viii. 20. Bu allan lawer noson oer ar fynyddoedd Israel, yn gwylio ac yn gweddio dros y defaid; eto dyoddefodd yr holl flinderau hyn yn ufudd ac ewyllysgar er eu mwyn. Yr ydym yn darllen yn yr ysgrythyrau am rai bugeiliaid da iawn wedi blino ar y gwaith; y defaid wedi treulio eu hamynedd i'r pen, fel y maent yn gweddio ar Dduw am gymeryd y swydd i fyny o'u dwylaw. Yr oedd Moses, er ei holl lareidd-dra a'i bwyll, wedi blino a cholli ei anadl gyda'r praidd yn yr anialwch, ac yn dymuno ar Dduw am gymeryd y swydd

o'i law. Ymofidiodd Jeremiah gymaint mewn cysylltiad â thŷ Israel, nes yr oedd ei amynedd wedi ei dreulio allan yn lân, a theimlai awydd daflu y gwasanaeth i fyny, pe buasai yn bosibl. Mae y bugeiliaid yna yn rhy fach i gyd-ddwyn a llywodraethu y praidd. Bendigedig am y Bugail mawr, yr hwn y mae ei amynedd yn ddiflino, a'i dynerwch yn anfeidrol. Ein hunig obaith, fy nghyfeillion, yw bod ein Bugail da yn ddigon mawr i gyd-oddef â'n holl wrthnysigrwydd, a'n dylyn bant a bryn hyd y diwedd. "Nid i ni, O Arglwydd, nid i ni, ond i'th enw dy hun dod ogoniant; er mwyn dy drugaredd, ac er mwyn dy wirionedd," Sal. cxv. 1. Bwyd a diod y Bugail mawr yw ceisio a dychwelyd adref ei ddefaid cyfrgolledig.

Bellach, fy nghyfeillion, gadewch i ni sylwi ar uchafiaeth y swydd.

Er nad ydyw swydd bugail ond isel, eto, y mae Crist wedi ei chodi i fyny mewn cysylltiad a'i braidd ef. Nid yw bod yn fugail i braidd Crist ar y ddaear yn ddianrhydedd i frenin. Ond y mae Crist ei hun yn *Fugail mawr*. Mae pawb yn edrych ar swydd bugail fel un isel, ac y mae cysylltu *mawr* â'r gorchwyl o fugeilio defaid yn rhyw beth dyeithr. Byddai hyn yn ymddangos yn dra dyeithr i'r Aiphtiaid; "canys ffieidd-dra yr Aiphtiaid yw pob bugail defaid," Gen. xlvi. 34. Mae Crist yn ddigon mawr i godi y swydd iselaf i anrhydedd. Nid yw y Sosiniaid yn caru yr athrawiaeth hon, eithr y mae y defaid yn ymogoneddu ynddi. Mae cariad a gras Duw yn ymddysgleirio yn anfeidrol yn nyfodiad Iesu Grist i fod yn fugail i grwydriaid fel nyni. "Bugail *mawr* y defaid" yw yr Arglwydd Iesu, er gwaethaf Sosiniaid, y byd, a diafol. Mae efe yn fawr yn mhob peth; yn fawr yn y cwbl. Yn fawr ynddo ei hun, yn fawr gyda'ch cenad, ac yn fawr heb eich cenad; yn fawr yn bresenol, yn fawr yn dragywyddol, yn fawr byth. Gogoniant; ni bydd byth yn fwy nag y mae fy enaid yn dymuno ei weled.

1. Y mae Crist yn fawr yn ei berson. Yr oedd yn ddarostyngiad anfeidrol ynddo i ymgymeryd â'r enw bugail. Eto y mae yn ymhyfrydu ynddo o herwydd ei fod yn dangos cariad a gofal yn fwy na dim arall. Ymostyngodd i gymeryd yr enw, i ddangos ei gariad mawr tuag atom. Wele, Arglwydd y nefoedd, Arglwydd yr angylion, wedi dyfod yn Fugail y defaid. Syndod! Yr oedd ei gariad mor fawr at y defaid, fel ag y gadawodd y nefoedd, a chaniadau soniarus yr angyl-

ion, i ddyfod i "geisio a chadw yr hon a gollwyd." Gadawodd balas i ddyfod i anialwch; gadawodd orsedd y nef i ddyfod i gorlan y defaid; gadawodd y nefoedd i ddyfod i fyw a marw ar y ddaear. Yr ydym yn darllen i Dafydd gyfnewid y ffon fugail am deyrnwialen; eithr Crist yn hollol wahanol; cyfnewid y deyrnwialen am y ffon fugail a wnaeth efe. Os daeth Mab Duw yn fugail o gwbl, y mae yn rhaid o galyniad ei fod yn Fugail *mawr*. Sylwch arno, fy nghyfeillion; addolwch ef; edrychwch, dacw Arglwydd y lluoedd, yr hwn sydd yn arwaen byddinoedd o angylion, wedi dyfod i'n byd ni i borthi defaid! Syned y nefoedd, syned y ddaear, syned pawb trwy holl ymerodraeth y Goruchaf! Mae yn ddigon dyeithr i weled y brenin Saul yn dylyn y ddeadell yn y maes, a'r brenin Uriah yn ymbleseru mewn amaethyddiaeth; ond y mae yn fil rhyfeddach weled y brenin Iesu a'i ffon fugail yn ei law yn porthi y praidd. Er mor isel yr edrychir ar y swydd o fod yn fugail, y mae bod Crist wedi ymddarostwng i gymeryd y gorchwyl wedi rhoi codiad tragywyddol iddi. Gan i Fab Duw ddyfod yn Fugail, mae yn rhaid ei fod yn Fugail *mawr*. Tybiodd un plwyf unwaith, y gallai ddiraddio gwr boneddig oedd yn byw yno trwy ei osod yn arolygydd yr heolydd. Ymgymerodd â'r swydd yn ewyllysgar, a thrwy hyny cododd y swydd i gymaint o fri, fel yr oedd yr holl blwyfolion yn barod i ymladd am fod yn *overseers* y ffyrdd. Mae Mab Duw, fy nghyfeillion, wedi dyfod yn Fugail mawr y defaid, ac mae y swydd wedi ei chodi cyfuwch ynddo ef, fel y mae yn anrhydedd annghyffredin i gael bod yn is-fugail o dano.

2. Y mae Crist yn Fugail *mawr* am mai efe yw y prif Fugail. Efe yw Tywysog y bugeiliaid; is-fugeiliaid yw pawb eraill. Efe yw y "Pen-bugail." Mae yn rhaid i ni, yr is-fugeiliaid yma, gwrdd mewn modd difrifol â'r Pen-bugail, i roddi ein cyfrif i mewn. Bydd meistr y gynulleidfa yn fuan bellach yn dyfod i gyfrif â'i weision. O fy enaid, pa fodd yr ymddangosaf o flaen Arglwydd y bugeiliaid? O Arglwydd, caniata yn dy ddyfodiad i'r adnod hon gael bod fy rhan ddedwydd inau. "A phan ymddangoso y Pen-bugail, chwi a gewch dderbyn anniflanedig goron y gogoniant," 1 Pedr v. 4.

3. Y mae Crist yn Fugail *mawr* oblegyd fod y praidd yn fawr mewn gwerth. Deadell o eneidiau anfarwol ydynt; gan hyny y mae yn rhaid eu bod yn dra gwerthfawr. Mae *un* yn

fwy o werth na'r bydoedd; am hyny y mae yn rhaid fod y myrddiynau dirif yn anfeidrol werthfawr. Yr ydym yn ngwasanaeth Crist, fy nghyfeillion, yn arolygwyr ei braidd ar y ddaear: nid ymddiried bychan yw hwn; y mae mwy o werth na'r ddaear yn ein dwylaw. "Edrychwch gan hyny arnoch eich hunain, ac ar yr holl braidd ar yr hwn y gosododd yr Ysbryd Glân chwi yn olygwyr, i fugeilio eglwys Dduw, yr hon a bwrcasodd efe â'i briod waed," Act. xx. 28. Edrychwn, frodyr, rhag ein bod yn trin y gwerth anfeidrol hwn fel ffyliaid.

4. Y mae Crist yn Fugail *mawr* am mai efe yw y Bugail cyffredinol. Rhyw fân fugeiliaid yw pawb eraill, ar wahanol ranau y ddeadell. Eithr y mae gofal a chariad y Bugail *mawr* yn ymledu dros yr holl braidd yn mhob man; y rhai ydynt yn wasgaredig trwy yr holl fyd, yn mhob oes. Efe yw perchen y cwbl trwy yr holl fyd; ac yn fuan gwelir gogoniant ei weinyddiaeth yn eglur, pan na bydd ond "un gorlan, ac un bugail." Crist, cofiwch, ac nid y Pab o Rufain, yw yr esgob cyffredinol. Mae Crist yn edrych ar fod yn Fugail mawr i'r holl eglwys yn uchel-fraint. Ac yn y dydd diweddaf y cesglir ei holl ddefaid yn nghyd, a safant ar ei ddeheulaw heb un ar goll.

5. Y mae yn Fugail *mawr* o herwydd mai efe yw gwir berchenog yr holl ddefaid. Nid ydym ni, y goreu o honom, ond gweision, i wasanaethu i angenrheidiau y praidd. "Portha fy ŵyn," ebe Crist wrth Pedr. Crist yw y perchen, Pedr yw y gwas; Crist a'u prynodd, eu porthi yw dy waith di, Pedr. O'r goreu, y Duw mawr, y mae hyny yn ddigon o anrhydedd i ni; gwna ni yn ffyddlon i wneyd yr hyn a allom gyda dy ddefaid. Crist sydd yn gosod yr îs-fugeiliaid ar waith, a chydag ef y mae yn rhaid i ni gyfrif am ein gwaith; efe sydd yn talu ein cyflog, ac yn talu cyflog ein poenydwyr hefyd.

6. Y mae yn Fugail mawr mewn cymhwysderau i wasanaethu ei swydd.

(1.) Y mae ei adnabyddiaeth o'r defaid yn berffaith. Y mae yn fawr yn ei wybodaeth o bob peth mewn perthynas i'r praidd. Fe ŵyr holl amgylchiadau pob dafad dlawd ag sydd yn y byd.

(2.) Y mae yn fawr yn ei gariad at y praidd. Rhoddodd ei einioes dros y defaid. Daeth Crist yn aberth drostynt, fel y gallai fod yn fugail iddynt. Y defaid yn gyffredin sydd

yn colli eu heinioes dros y bugail, sef i ddiwallu angen y bugail; eithr y mae y Bugail hwn yn marw dros y defaid. Dros y defaid y daeth i'n byd ni. At "ddefaid cyfrgolledig tŷ Israel" y danfonwyd ef. Dyoddefodd angau yn gwbl dros y defaid, dim drosto ei hun. Gofynodd Dafydd, "Pa beth a wnaeth y defaid gwirion hyn?" Gyda mwy o briodoldeb y gallwn ni ofyn, "Pa beth a wnaeth y Bugail mawr, fel y bu raid iddo farw ar bren y groes?" Dim; y defaid sydd wedi gwneyd y drwg i gyd, ac y mae y Bugail mawr yn rhoddi ei fywyd i lawr drostynt hwy. Y mae Crist wedi adgyfodi o'r bedd, ac wedi cymeryd y swydd i'w law ei hun. Ganwyd ef yn fugail, bu farw yn fugail, a chododd eilwaith yn fugail. A glywsoch erioed am ryw un ond Iesu Grist yn cael ei eni, yn marw, ac yn codi wedi hyny fel bugail? O gariad anfeidrol! Y Bugail mawr yn dyoddef angau dros y defaid, ac yn adgyfodi oddiwrth y meirw drostynt, gan eu llwyr ryddhau oddiwrth ei ofidiau. Dros y defaid yr oedd y Bugail mawr yn gwneyd pob peth.

Y mae yn siarad gyda'r tynerwch mwyaf am ei ddefaid. "Pedr, eb efe, 'a wyt ti yn fy ngharu i?' Os ydwyt, 'portha fy nefaid.' Nid wyf fi am i neb drin fy nefaid heb fod yn fy ngharu i." Mae praidd Crist yn rhy anwyl ganddo i'w hymddiried i'w elynion. Maent oll mor anwyl â'r "un oenig fechan" oedd gan y gwr tlawd ag y mae Nathan yn ei desgrifio yn ei ddameg pan yn argyhoeddi Dafydd. "A chan y tlawd nid oedd dim ond un oenig fechan, yr hon a brynasai efe, ac a fagasai; a hi a gynyddasai gydag ef, a chyda'i blant: o'i damaid ef y bwytäai hi, ac o'i gwpan ef yr yfai hi, ac yn ei fynwes y gorweddai hi; ac yr oedd iddo megys merch," 2 Sam. xii. 3. Mae Crist wedi magu a dwyn ei ddefaid i fyny; wedi eu mynwesu, a'u cario ar ei ysgwyddau ei hun yn llawen; wedi rhoddi iddynt ei gnawd i fwyta, a'i waed i yfed, ac yn eu meithrin ar ei fwrdd i fywyd tragywyddol.

(3.) Mae yn Fugail mawr mewn gallu i achub y praidd. "Pwy yw hwn yn dyfod o Edom, yn goch ei ddillad o Bosrah? hwn sydd hardd yn ei wisg, yn ymdaith yn amlder ei rym. Myfi, yr hwn a lefaraf mewn cyfiawnder, ac wyf gadarn i iachau," Esay lxiii. 1. Cymhwysir y testun hwn gan esbonwyr at adgyfodiad Crist oddiwrth y meirw, a'i fuddugoliaeth lwyr ar ei holl elynion boreu y trydydd dydd. Dacw ei wisg

yn goch gan waed y llew, yr arth, y blaidd, a'r holl greaduriaid ysglyfaethus; y rhai fuasent yn dystrywio y defaid byth. Bendigedig, mi welaf y Bugail mawr yn dyfod i fyny o Edom a Bosrah, wedi sathru y gelynion dan draed, a rhyddau y defaid o'u safnau a'u palfau. Mae Crist wedi gorchfygu angau, ysigo pen y sarph, yr hen ddraig, diafol; ac wedi perffeithio iachawdwriaeth dragywyddol i'w holl saint. Yr oedd Jacob, er yn fugail lled fedrus, yn colli peth o'r defaid weithiau. Yr oeddynt yn cael eu rhwygo gan greaduriaid gwylltion, ac weithiau eu hysbeilio. Eithr Crist, y Bugail mawr, nid yw yn colli yr un o honynt; bydd pob "ewin" ar gael yn y dydd mawr a ddaw. "A minau ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd tragywyddol; ac ni chyfrgollant byth, ac ni ddwg neb hwynt allan o'm llaw i. Fy Nhad i, yr hwn a'u rhoddes i mi, sydd fwy na phawb: ac nis gall neb eu dwyn hwynt allan o law fy Nhad i. Tra fum gyda hwynt yn y byd, mi a'u cedwais yn dy enw: y rhai a roddaist i mi a gedwais, ac ni chollwyd o honynt ond mab y golledigaeth; fel y cyflawnid yr ysgrythyr," Ioan x. 28, 29; xvii. 12. Daw y Bugail *mawr* hwn â phob dafad yn fyw ac yn iach adref i'r gorlan nefol. Y pryd hyn y bydd yn ymddangos o flaen pawb yn Fugail mawr, yn didoli y "defaid oddiwrth y geifr." "Ac a esyd y defaid ar ei ddeheulaw, ond y geifr ar yr aswy," Mat. xxv. 33. Mae yn anmhosibl i chwi fod gydag ef yn nghorlan y nefoedd, deallwch, heb i chwi fod gydag ef yn nghorlan yr eglwys ar y ddaear. Ac eto y mae yn bosibl i chwi a minau fod yn yr eglwys ar y ddaear, yn fleiddiaid rheibus neu yn eifr, yn ngwisgoedd defaid, a chael ein cau allan byth o gorlan y nef.

Yr ydym wedi gadael y defaid i bori, fel y dywedasom, tra yr oeddem yn gwneyd ychydig sylwadau ar y Bugail; eithr yn bresenol rhaid i ni alw eich ystyriaethau at y defaid. Mae eglwys Crist yn cael ei galw yn ddeadell o ddefaid. "Nac ofna, braidd bychan: canys rhyngodd bodd i'ch Tad roddi i chwi y deyrnas," Luc xii. 32. Y maent yn cael eu galw, "y praidd," "y praidd santaidd," a "phraidd Jerusalem."

1. Gelwir hwynt yn ddeadell yn eu perthynas â Duw. Mae efe wedi eu neillduo hwynt yn ei dragywyddol gynghor a'i fwriadau yn eiddo, yn briodoledd, ac yn ddeadell iddo ei hun. Mae y Tad wedi eu rhoddi i'r Arglwydd Iesu Grist fel Bugail, i'w prynu, gofalu am danynt, a'u santeiddio. Hwy yw gwobr y Gwaredwr am ei waith drostynt, a hwynt-

hwy, wedi y cesglir hwy yn nghyd ynddo, fydd yn gwneyd ei enaid yn ddiwall.

2. Y maent yn ddeadell o ddefaid yn eu perthynas a Christ ei hun. Fel y dywedasom o'r blaen, rhoddwyd hwynt gan y Tad i Grist, felly hefyd fe gymerodd Crist hwynt yn hollol ac yn gyfangwbl i'w cadw i fywyd tragywyddol. Ac efe a'u rhydd i fyny ryw ddydd yn y geiriau hyn:—"Y rhai a roddaist i mi, mi a'u cedwais yn dy enw, ac ni chollwyd yr un o honynt." Meddiant priodol Crist yw y defaid hyn. Nid yw y defaid fel llawer o greaduriaid, yn wylltion, ac heb neb yn eu perchenogi. Lle bynag y gwelwch ddeadell o ddefaid, y mae y perchenog yn byw gerllaw. Mae yr Arglwydd Iesu yn hòni hawl hollol a chyflawn yn ei eglwys fel ei brif drysor. "A byddant eiddof fi, medd Arglwydd y lluoedd, y dydd y gwnelwyf briodoledd; arbedaf hwynt hefyd, fel yr arbed gwr ei fab sydd yn ei wasanaethu," Mal. iii. 17. Pe bai yr holl eirth, bleiddiaid, a llewod, yn marw mewn un diwrnod, nid oes neb a wylai ar eu hol; nid oes ganddynt berchenog. Ond pe cwympai un ddafad i'r ffos, byddai y perchenog wrth law i'w chodi i fyny.

Y mae y rhai a fu yn yr eglwys flynyddau lawer, ac sydd wedi gadael yn bresenol, ac heb argoel dychwelyd mwy, yn ymddangos fel pe nad ydynt yn eiddo Crist; nid ydyw yn debyg fod ganddynt fugail i ofalu am danynt. Nid ydynt yn meddiant y Bugail mawr, canys nid ydyw efe yn eu harddel. Fy marn i yw, nad ydyw y Bugail yn gadael ei ddefaid ar grwydr hyd ddydd marwolaeth heb eu dychwelyd o'u gwrthgiliadau. Na, y mae yn debyg o'u dychwel i'r gorlan, i'w cymhwyso i drigfanau y nef. Os ydwyt ti yn greadur gwyllt yn dylyn dy nwydau hyd angau, fe wâd y Bugail di byth; ac efe a'th "ddidola oddiwrth y defaid." Mae rhai bleiddiaid a geifr yn gymysg â defaid Crist ar y ddaear, yn rhodio mewn "crwyn defaid, ac yn ngwisgoedd defaid," ond diarddelir hwynt yn llwyr, a didolir hwynt yn dragywydd oddiwrth y defaid. Ni arddel Mab Duw ddim ond yr eiddo ei hun. Caiff Cesar ei *eiddo*, a myn yntau ei eiddo. Mae y *gipsies* sydd yn crwydro ac yn byw ar hyd ochr yr heolydd, yn amddifad o un gofal am danynt; pe byddent yn marw nid oes ganddynt un plwyf i gymeryd gofal am eu claddu; felly nid oes gan y rhai sydd mewn gwisgoedd defaid yr un rhan yn y Bugail mawr. Ni wna efe ofalu am danynt yn eu cyfyngderau a'u caledi. "Nid ydynt o'i ddefaid ef." Yr wyf yn meddwl fod

y Bugail mawr yn edrych i lawr o'r nefoedd ar y cwrdd yma y fynyd hon, ac yn dywedyd, "Dyma dŵr o fy nefaid i." Bendigedig fyddo Duw, y mae rhai o honom yn gallu edrych i fyny, a dywedyd yn ol, "Dacw ein Bugail mawr ninau; yr ydym yn adnabod ei lais." O Arglwydd, edrych arnaf, canys un o dy ddefaid tlawd ydwyf finau; paid a fy ngadael i ymdrybaeddu yn y "pridd tew, a'r clai tomlyd." Arddel fi fel un o dy ddefaid, a dwg fi yn dy freichiau grasol ryw ddydd i'r gorlan dawel, y tu hwnt i lewod, bleiddiaid, ac eirth.

3. Y mae yr eglwys fel deadell o ddefaid fel ag y mae ynddi ei hun. Mae bod gwahanol aelodau yn ymgrynhoi at eu gilydd, ac yn ymffurfio yn eglwys, yn dwyn rhyw debygolrwydd i gorlan defaid.

(1.) Y mae tuedd naturiol mewn defaid i ymffurfio yn ddeadell. Mae llawer o greaduriaid eraill yn byw yn fwy unigol, ac ar wahan; er y gwelwch *hwynt* ar amserau yn ymuno â'u gilydd; eithr ymwahanant eilwaith, a byddant lawn mor hapus mewn sefyllfa fwy unigol. Nid yw defaid byth yn ymddangos yn hapus ond pan y deuant yn nghyd, a byw yn ddeadellau. Mae yn wir eu bod yn ymladd weithiau; ac y maent yn dywedyd mai o flaen tywydd garw y byddant yn cornio eu gilydd; eithr yn fuan ymunant mewn tangnefedd. Pan yr ydych yn clywed am ymrafaelion eglwysig, gellwch benderfynu fod tywydd garw ar y drws, mai rhyw beth ydyw o flaen ystorm. Tuedd naturiol y defaid yw byw yn gymdeithasol ac yn dangnefeddus. Mae eglwys Crist yn gymdeithas heddychol, wedi ymuno mewn cymundeb santaidd. Mae yn groes i naturiaeth i ddefaid adael y ddeadell; y mae yr ysgrythyr yn galw hyny yn grwydro, a myned ar gyfeiliorn. Felly y mae y rhai sydd yn gadael cymundeb yr eglwys, ac yn wynebu ar y byd agored, heb fur, heb glawdd, heb berth, ac heb neb yn gofalu am eu heneidiau. Y maent yn agored i'r holl beryglon, heb un amddiffyn; y maent yn ngwlad yr holl greaduriaid rheibus ac ysglyfaethus. O Arglwydd, cadw ni yn nghorlan yr eglwys tra y byddom ar y ddaear, a chaniata ar ol i ni ddarfod a'r ddaear i ni gael lle o fewn y gorlan fry. Ni chaiff dynion rhyddion a chrwydredig byth fyned i mewn i'r gorlan nefol. Sylwch, fy nghyfeillion, os nad ydym yn perthyn i'r gorlan, nid ydym yn perthyn i'r Bugail ychwaith; eithr yr ydym yn perthyn i'r llew, i'r blaidd, ac i'r eirth; a gwnant ni yn ysglyfaeth yn oes oesoedd.

O Arglwydd, gwna ni o nifer dy ddefaid, fel y byddom dan nawdd ac arweiniad y Bugail bendigedig.

(2.) Y mae tuedd crwydro mewn defaid. Os na chedwir hwynt ac os na phorthir hwynt gan y bugail, y maent yn sicr o fyned ar gyfeiliorn; canys y maent yn analluog i'w cadw eu hunain; ac ar ol unwaith dechreu crwydro, nid oes ynddynt yr un amcan i ddychwelyd. Nid oes yr un creadur a gyll ei hunan yn gynt na dafad; y mae hi yn colli pob synwyr yn nghylch y ffordd i ddychwelyd. Y maent yn dywedyd os danfonir defaid allan o'r cae, y medrant ddychwelyd eilwaith eu hunain; ond os crwydrant eu hunain, eu bod yn dyrysu ac yn colli pob amcan ar y ffordd, ac na ddychwelant byth. Mae y saint yn dueddol i grwydro, ac oddieithr i Fugail Israel eu cyrchu yn aml, byddant yn debyg o farw yn yr anialwch. Maent yn cael eu gyru o'r cae weithiau gan brofedigaethau a themtasiynau y diafol. Mae gwell gobaith am ddychwelyd i'r gorlan ar ol eu *gyru*, nag ar ol crwydro wrth ddylyn rhyw chwantau. Mae genym filoedd o bethau i'n denu a'n gyru hefyd; yr ydym mewn peryglon dirfawr yn y byd, am hyny gweddiwch yn ddibaid am i'r Bugail mawr eich gwylio a'ch amddiffyn yn yr holl daith. Gweddiwch gyda Dafydd bob dydd, "Cais dy was." Moses, y bugail da hwnw, wedi iddo fyned oddiwrth ei braidd, sef deugain niwrnod i'r mynydd, dacw hwynt yn myned ar gyfeiliorn, ac yn dyrysu trwy yr holl anialwch. O Fugail Israel, cymer ofal am danom, mewn bywyd ac yn angau.

(3.) Y mae yr eglwys yn ddeadell o ddefaid yn ei pherthynas â'i gelynion. Mae y praidd mewn peryglon beunydd, oddiwrth eu gelynion creulon. Yr ydym mewn peryglon oddiwrth ddynion erledigaethus, y "llew rhuadwy," calonau drwg a thwyllodrus, y rhai sydd yn ymosod arnom yn barhaus, ac yn ein bygwth â dinystr a marwolaeth bob awr. A chwi wyddoch, fy nghyfeillion, mai creaduriaid gwan, eiddil, a dinerth ydyw y defaid, i sefyll yn wyneb ymosodiadau mawrion. Maent yn rhy wan i amddiffyn eu hunain; oddieithr i'r bugail gymeryd eu gofal y maent wedi eu colli am byth. Y mae natur wedi arfogi llawer o'r creaduriaid eraill â rhyw beth er hunan-amddiffyniad. Mae y llew wedi ei arfogi â chryfder, y cadno â ffalsder, yr ewig â chyflymder; eithr nid oes gan y ddafad na grym y llew, ffalsder y cadno, na chyflymder yr ewig. Y bugail rhaid fod y cwbl o hyn iddi hi; ac unwaith y cymerir hi odditan amddiffyn y bugail, dyna hi

yn agored i bob ymosodiad o bob man. Mae yr eglwys felly ynddi ei hun; heb nerth, heb ddewrder, heb yscil, heb gyflymder, yn hollol ddiamddiffyn a diegni. Eithr mewn cysylltiad â'r Bugail y mae ynddi nerth i fyned trwy y dyfroedd, trwy y tân, trwy y fyddin, trwy orthrymderau, trwy fwg a thywyllwch, trwy y tew a'r tenau, trwy fywyd ac angau, a sefyll yn ddigwymp ar ol gorphen pob peth. Diolch!

Mae yn wir ein bod yn wan ynom ein hunain; ond y mae genym Fugail cryf, ïe, cryfach na'r cryf-arfog, cryfach na holl allu y tywyllwch; "Arglwydd y lluoedd yw ei enw, dy Waredydd hefyd, Sant Israel, Duw yr holl ddaear y gelwir ef," Esay liv. 5. "Y mae fy Nhad i yn fwy na phawb." Gogoniant! Yr ydym yn ofnus, ond mae y Bugail yn ddewr; yn analluog, ond y mae y Bugail yn hollalluog; yn annoeth, ond y mae y Bugail yn holl-ddoeth; yn dlawd, ond y mae y Bugail yn holl-gyfoethog. Bendigedig,—

"Er maint ein pla, daw tyrfa i ben eu taith."

Rhowch eich gofal yn llwyr, fy nghyfeillion, i'r Bugail mawr. Bydd yr eglwys yn wylo uwch ben ei gwendid yn aml iawn, gan ddywedyd, "Er dy fwyn di y'n lleddir beunydd; cyfrifir ni fel defaid i'w lladd," Sal. liv. 22. Mae gelynion eglwys Dduw fel "gwrdd-deirw Basan," yn gryfion a ffyrnig yn eu hamgylchynu; yr ydym yn nghanol peryglon ofnadwy bob mynyd, a ninau nid ydym ond eiddil a gwan. "Teirw lawer a'm cylchynasant: gwrdd-deirw Basan a'm hamgylchasant. Canys cwn a'm cylchynasant; cynulleidfa y drygionus a'm hamgylchasant." O Fugail Israel, "nac ymbellha oddiwrthyf; o herwydd cyfyngder sydd agos: canys nid oes cynorthwywr;" Sal. xxii. 11, 12, 16. Pa fodd y saif y ddeadell wan o flaen teirw ffyrnig Basan? O, y mae yn rhaid iddi beidio sefyll, ond ffoi am fywyd at y Bugail mawr: y mae ein dyogelwch mewn ffoi o dan gysgod yr Hollalluog. O herwydd fod credinwyr yn etifeddiaeth Duw, y maent yn fwy agored i erledigaeth oddiwrth ddynion a chythreuliaid. Edrychwch trwy holl oesoedd y byd, a chewch weled fod y duwiolion wedi bod yn "bobl druain dlodion;" yn gystuddiedig, ac yn llawn o flinder a thrallod. Yr unig beth ag sydd wedi eu cadw rhag dinystr yw, bod eu noddfa fry, a'u hymddiried yn wastadol yn yr Arglwydd. Eu Bugail mawr sydd yn "llywodraethu yn mreniniaeth dynion," ac yn amddiffyn ei braidd yn nghanol creulonderau

y cenedloedd. Efe yw eu nerth a'u noddfa mewn byd terfysglyd a drwg. "Pe byddech o'r byd, y byd a garai yr eiddo; ond oblegyd nad ydych o'r byd, eithr i mi eich dewis allan o'r byd, am hyny y mae y byd yn eich casâu chwi," Ioan xv. 19. Eto, er holl gasineb, ac erledigaeth, a malais y byd hwn, ac uffern gydag ef, mi ymddiriedaf byth yn y Bugail mawr am nerth i orchfygu fy holl elynion. Ac yr wyf yn credu yn ddiysgog y caf weled yr holl braidd yn ddiangol byth, er gwaethaf y byd, y diafol, a phawb. Gogoniant! y mae hi yn goleuo ar achos y defaid gwan.

(4.) Y mae yr eglwys yn ddeadell o ddefaid yn ei pherthynas â'r byd. Dywedais o'r blaen eu bod yn ddigymhorth ynddynt eu hunain; eithr yr ydym yn dyfod yn y blaen i ddywedyd yn awr eu bod hefyd yn ddiniwed yn eu perthynas ag eraill. Mae dafad yn batrwn o ddiniweidrwydd. Mae diniweidrwydd yn naturiaeth ynddi, am hyny y mae yn ddiniwed tuag at bob peth. Yr oedd yr Arglwydd Iesu yn hyn fel llawer o bethau eraill, yn "Oen Duw," ac fel y cyfryw rhoddodd esiampl berffaith o ddiniweidrwydd, fel y "canlynem ei ol ef." Os ydym o nifer ei ddefaid ef, yr ydym yn ymdrechu i'w ddylyn yn mhob peth. "Deuwch ataf fi, bawb ag sydd yn flinderog ac yn llwythog (medd Crist), a mi a esmwythaf arnoch. Cymerwch fy iau arnoch, a dysgwch genyf; canys addfwyn ydwyf, a gostyngedig o galon; a chwi a gewch orphwysdra i'ch eneidiau. Canys fy iau sydd esmwyth, a'm baich sydd ysgafn," Mat. xi. 28—30.

Y mae y prophwyd Esay, wrth brophwydo am lwyddiant yr efengyl, yn nghyda'r hapusrwydd fydd trwy holl greadigaeth Duw yn nglŷn â hyny, yn nodi allan ddiniweidrwydd fel un o'r prif bethau fydd yn cyfansoddi dedwyddwch. Y mae dyogelwch a diniweidrwydd yn cydgyfarfod yn mynydd yr Arglwydd: "A'r blaidd a drig gyda'r oen, a'r llewpard a orwedd gyda'r myn; y llo hefyd, a chenau y llew, a'r anifail bras fyddant yn nghyd, a bachgen bychan a'u harwain. Y fuwch hefyd a'r arth a borant yn nghyd; eu llydnod a gydorweddant: y llew fel yr ŷch a bawr wellt. A'r plentyn sugno a chwery wrth dwll yr asp; ac ar ffau y wiber yr estyn yr hwn a ddiddyfnwyd ei law. Ni ddrygant ac ni ddyfethant yn holl fynydd fy santeiddrwydd: canys y ddaear fydd lawn o wybodaeth yr Arglwydd, megys y mae y dyfroedd yn toi y môr," Esay xi. 6—9.

Fe'u gwneir gan Ysbryd Duw yn ddiniwed tuag at eu

gilydd yn gystal a thuag at ddynolryw yn gyffredinol. Cyfnewidir hwynt o fod yn llewod ysglyfaethus i fod yn ŵyn diniwed; caiff y tueddiadau mwyaf gwyllt a chreulon eu dofi a'u melusu trwy ras, fel ag y bydd y blaidd, y llew, a'r arth yn gymhwys i ddyfod i mewn i gorlan y defaid. "Ni ddrygant yn holl fynydd fy santeiddrwydd." Os ydych yn proffesu eich hunain yn aelodau o Grist, ac eto yn ddynion creulawn, didrugaredd, ymrafaelgar, yn "cnoi ac yn traflyncu," cymerwch fy ngair i, nid ydych yn perthyn i'w ddefaid ef. Bleiddiaid, dywalgwn, llewod ydych, yn nghrwyn defaid, sydd yn llarpio a dinystrio y praidd mewn brad: praidd y cythraul ydych. Mae y defaid yn dyoddef cam yn fynych, ac yn cael eu dysgu a'u cynorthwyo i wneyd hyny yn fwynaidd; nid ydynt fel llawer o greaduriaid eraill, yn barod i ad-dalu os cânt gyfle. Maent yn cael eu dysgu yn y Bibl i fod yn amyneddgar yn wyneb gwrth-ddywediadau, yn fud o flaen y cneifiwr, ïe, a'r cigydd hefyd weithiau. Arweiniwyd y Bugail ei hun fel dafad i'r lladdfa, a rhoddodd esiampl berffaith i ni yn mhob rhyw amgylchiad o galedi ac erledigaeth. "Efe a orthrymwyd, ac efe a gystuddiwyd, ac nid agorai ei enau: fel oen yr arweinid ef i'r lladdfa; ac fel y tau dafad o flaen y rhai a'i cneifiai, felly nid agorai yntau ei enau," Esay liii. 7. O Arglwydd, cyd-ffurfia ni â delw dy anwyl Fab! Fel y dywedais o'r blaen y dywedaf eto, lle bynag y daw gras ein Harglwydd Iesu Grist y mae yn dofi y natur wylltaf, ac yn cymedroli y tueddiadau gwaethaf, ac yn ffurfio y pechadur i ddelw Duw. Mae yn ei wneyd yn addfwyn a gostyngedig o galon. Nid yw digofaint yn *gorphwys* ond yn nghalonau ffyliaid: gall dalu ymweliad â dyn call, ond yn nghalon yr ynfyd y mae yn gorphwys. Mae yr Arglwydd, wrth hòni yr hawl gyflawn i ddial, yn ein symud yn mhell oddiwrth yr ysbryd hwnw. "Canys nyni a adwaenom y neb a ddywedodd, Myfi biau dial, myfi a dalaf, medd yr Arglwydd. A thrachefn, Yr Arglwydd a farna ei bobl," Heb. x. 30. Os nad ydym yn ddiniwed, nid oes genym yr un prawf ein bod yn perthyn i Grist. "Gwnewch bob dim heb rwgnach ac ymddadleu; fel y byddoch ddiargyhoedd, a diniwed, yn blant difeius i Dduw yn nghanol cenedlaeth ddrygionus a throfaus, yn mhlith y rhai yr ydych yn dysgleirio megys goleuadau yn y byd," Phil. ii. 14, 15. O Arglwydd, caniata ein bendithio â diniweidrwydd y ddafad, fel y byddom debyg yn ein holl ymarweddiad i'r Pen-bugail mawr.

Y mae yn hen sylw am y ddafad, ac yn ddigon gwir, fod ei phob peth hi yn ddefnyddiol at ryw beth. Y cnawd yn ymborth, a'r gwlan yn ddillad. Mae gwlan y ddafad yn fy nghynesu y foment hon. Mae pobl Dduw, fy nghyfeillion, er eu bod yn ddirmygedig gan y byd, yn fendith i'r byd yn eu cwbl. Beth ddelai o'n byd ni pe bai holl ddefaid Crist wedi eu crynhoi yn nghyd i'r gorlan dragywyddol? Byddai yn ddiffrwyth; ni byddai dim i'w drwsio a'i achlesu, elai ar dân yn ebrwydd; ni byddai yn werth ei gadw yn drigle dreigiau, bleiddiau, eirth, llewod, dywalgwn, a chythreuliaid. Lle bynag y mae credinwyr ar y ddaear y mae bendith Duw gyda hwynt; a phan ymadawant â'r ddaear yn llwyr, y mae bendith yn eu dylyn. Byddai y byd heb Dduw ynddo, pe na byddai credinwyr ynddo. Maent yn fendith i'r byd yn eu gweddiau ac yn eu hesiamplau; beth bynag y mae eraill yn ei wneyd, y mae yn rhaid iddynt hwy ymddwyn fel defaid Crist; y mae ganddynt genedlaeth i wasanaethu cyn huno gyda'u tadau. Yr oedd Duw yn preswylio yn yr Aipht mewn modd neillduol wedi i Joseph fyned yno. Yr oedd bendith yr Arglwydd yn dylyn y ddafad yn mhob man. Yr oedd un Joseph yn yr Aipht yn fwy o werth na deng mil o'r cyfoethogion penaf, o herwydd fod yr Arglwydd yn bendithio y wlad mewn cysylltiad ag ef. "A'r ddaear a gnydiodd dros saith mlynedd yr amldra yn ddyrneidiau. Yntau a gasglodd holl ymborth y saith mlynedd a fu yn ngwlad yr Aipht, ac a roddes ymborth i gadw yn y dinasoedd: ymborth y maes yr hwn fyddai o amgylch pob dinas, a roddes efe i gadw ynddi. A Joseph a gynullodd ŷd fel tywod y môr yn dra lluosog, hyd oni pheidiodd a'i rifo: oblegyd yr ydoedd heb rifedi," Gen. xli. 48, 49.

Chwi welwch, fy nghyfeillion, fod y duwiolion yn werth annhraethol yn y byd hwn, canys y mae bendith y nefoedd yn eu dylyn i bob man. Yn nghysgod y rhai hyn yr ydych chwi, yr annuwiolion, yn cael eich bwyd, eich dillad, eich diod, a'ch holl gysuron. Ni fyddai genych ond tân tragywyddol i drigo ynddo, oni bai fod gan Dduw ychydig o ddefaid i'w cyrchu yn y byd hwn. Buasai y llestr yn *wreck*, a'r holl *grew* wedi boddi, oni buasai fod Paul yn y llong. Ni buasai y *cargo* yn werth i Dduw ei achub, oni buasai fod yno un ddafad yn y llwyth. Yr oedd gwaith yr apostol heb ei orphen, am hyny rhaid achub y llong â'r cwbl oedd ynddi er mwyn hyny. "Canys safodd yn fy ymyl y nos hon angel Duw, yr

hwn a'm piau, a'r hwn yr wyf yn ei addoli, gan ddywedyd, Nac ofna, Paul; rhaid i ti sefyll ger bron Cesar: ac wele, rhoddes Duw i ti y rhai oll sydd yn morio gyda thi. Am hyny, ha wŷr, cymerwch gysur: canys yr wyf fi yn credu i Dduw mai felly y bydd, yn ol y modd y dywedwyd i mi," Act. xxvii. 23—25. Pan y bydd Sodom heb un ddafad o'i mewn ni bydd yn gymhwys i ddim ond tân a brwmstan; eithr y mae yn rhaid cael y cyfiawn allan yn gyntaf. "Ac ar godiad y wawr yr angylion a fuant daer ar Lot, gan ddywedyd, Cyfod, cymer dy wraig a'th ddwy ferched, y rhai sydd i'w cael, rhag dy ddyfetha di yn anwiredd y ddinas. Brysia, dianc yno, o herwydd ni allaf wneuthur dim nes dy ddyfod yno," Gen. xix. 15. "Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn." Mae Soar yn cael ei harbed ar gais Lot. "Wele yn awr," eb efe, "y ddinas hon yn agos i ffoi iddi, a bychan yw: O gâd i mi ddianc yno. Yntau a ddywedodd wrtho, Wele, mi a ganiateais dy ddymuniad hefyd am y peth hyn, fel na ddinystriwyf y ddinas am yr hon y dywedaist."

Yr had santaidd, nid y chwyn melldigedig, yw bywyd a gobaith ein byd ni, er holl fost penrhydd annuwiolion y wlad. "Ac eto bydd ynddi ddegwm, a hi a ddychwel, ac a borir; fel y llwyfen a'r dderwen, y rhai wrth fwrw eu dail y mae sylwedd ynddynt; felly yr had santaidd fydd ei sylwedd hi," Esay vi. 13. Byddai Ynys Prydain, ïe, yr holl fyd, yn ddrylliau mân, oni bai fod gan Dduw ddefaid ynddo; a llawer eto i'w casglu cyn y diwedd. A ydych yn meddwl y cadwai y Jehofah yr haul i lewyrchu, a'r cymylau i wlawio, a'r ddaear i ffrwytho, er mwyn cynal *pack* o *rebels*, i feddwi, i ymladd, i dyngu a rhegu, a gwneyd pob drygioni? O na, fe *ffeindiai* well ddefnydd i'r byd na hyny. Bydd uffern yn ddigon da i'r tylwyth hyn; mae y ddaear yn *rhy* dda iddynt. O herwydd yr had santaidd yr ydych chwi yn cael mwynhau cymaint ar y ddaear yn awr; a phan ddarfyddo yr had hyn ar y ddaear, byddwch chwi heb ddyferyn o ddwfr oer i oeri eich tafodau crasboethlyd.

Oni bai hwy syrthiai natur yn adfeiliau am eich penau. "A mi a edrychais pan agorodd efe y chweched sel, ac wele, bu daeargryn mawr; a'r haul a aeth yn ddu fel sachlen flew, a'r lleuad a aeth fel gwaed. A ser y nef a syrthiasant ar y ddaear, fel y mae y ffigysbren yn bwrw ei ffigys gleision pan ei ysgydwer gan wynt mawr. A'r nef a aeth heibio fel llyfr wedi ei blygu ynghyd, a phob mynydd ac ynys a symudwyd

allan o'u lleoedd. A breninoedd y ddaear, a'r gwŷr mawr, a'r cyfoethogion, a'r pen-capteniaid, a'r gwŷr cedyrn, a phob gwr caeth, a phob gwr rhydd, a ymguddiasant yn yr ogofeydd, ac yn nghreigiau y mynyddoedd; ac a ddywedasant wrth y mynyddoedd a'r creigiau, Syrthiwch arnom ni, a chuddiwch ni o ŵydd yr hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfainc, ac oddiwrth lid yr Oen. Canys daeth dydd mawr ei ddigter ef; a phwy a ddichon sefyll?" Dat. vi. 12—17. "Ser y nef yn syrthio fel ffigys irion;" fel dail yn niwedd y flwyddyn; a'r holl elfenau yn rhedeg yn wyllt ac i ddyrysweh. Och o'r diwrnod! Y mae natur yn cael ei chadw yn ynghyd, fy nghyfeillion, er mwyn y saint; a phan y dygir hwynt oll i gorlan y defaid yn y nefoedd, yna y caiff cyfiawnder Duw fuddugoliaethu yn llwyr ar yr holl fyd, yn ei losgiad yn ulw â thân o'r nefoedd. Diangfa! Peidiwch ag aflonyddu a tharfu ymaith ddefaid Crist, pe dygwyddai iddynt bori gerllaw eich preswylfeydd, canys ni wyddoch pa faint o ddaioni yr ydych yn ei fwynhau yn eu cysgod. O Arglwydd, gwna finau yn un o'u nifer. Mae yr Arglwydd yn bwriadu pethau mawrion i'w braidd ar ol yr elo y byd hwn ar dân. "Yna y dywed y Brenin wrth y rhai ar ei ddeheulaw, Deuwch, chwi fendigedigion fy Nhad; etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi er seiliad y byd," Mat. xxv. 34.

Mi glywaf ryw un yn gofyn, Pa fodd y gallaf wybod a ydwyf yn un o ddefaid Crist ai peidio? Wel, fy enaid, A ydwyt wedi dy wneuthur yn deimladwy o'th sefyllfa golledig? A ydwyt yn deimladwy o'r angen am Waredwr? A ydwyt wedi dy wneyd yn ddealladwy yn nghylch dy gyfeiliornadau? A ydwyt wedi bod yn gweddio gyda Dafydd, "Cais dy was." A welaist ti fwy o werth mewn Gwaredwr nag mewn mil o fydoedd? A deimlaist ti fwy o werth yn addewidion y Bugail mawr, i dy arwain, dy gynal, a dy gysuro, nag mewn miloedd o aur ac arian? Os nad ydwyt wedi dy wneyd yn deimladwy o'r pethau hyn, nid ydwyt yn un o'i ddefaid ef; eithr os ydwyt yn teimlo addewidion y Bugail i dy gyrchu, dy arwain, a'th borthi, yn fwy na'r byd, y mae gobaith cryf y ceir dy weled wedi dyfod adref i'r gorlan nefol. Bendigedig, y mae gobaith cryf y cawn ein cyrchu o'n holl grwydriadau; yr ydym wedi ein cyrchu filoedd o weithiau cyn hyn, a'n cynal mewn aml gyfyngderau, trwy diriondeb trugaredd y Bugail mawr. "Ac yn y dydd hwnw yr udgenir ag udgorn mawr; yna y daw y rhai ar ddarfod am danynt yn nhir

Assyria, a'r rhai a wasgarwyd yn nhir yr Aipht, ac a addolant yr Arglwydd yn y mynydd santaidd yn Jerusalem," Esay xxvii. 13. "Cynorthwyir a chadarnheir y dwylaw llesg, a chryfheir y gliniau gweiniaid. Dywedir wrth y rhai ofnus o galon, Ymgryfhewch, nac ofnwch: wele eich Duw chwi a ddaw â dial, ïe, Duw â thaledigaeth; efe a ddaw, ac a'ch achub chwi. Yna yr agorir llygaid y deillion, a chlustiau y byddarion a agorir. Yna y llama y cloff fel hydd, ac y cân tafod y mudan," Esay xxxv. 3—6. Y mae y defaid a'r bugail yn llawenychu wrth gwrdd a'u gilydd.

Nid oes dim ag y mae y bugail yn ymbleseru cymaint ynddo, a dyfod am draws ryw hen ddafad gloff, bron yn anobeithio yn y ffosydd, i roddi help llaw ac ysgwydd iddi. "Ac wedi iddo ei chael, efe a'i dyd hi ar ei ysgwyddau ei hun yn llawen. A phan ddel adref, efe a eilw yn nghyd ei gyfeillion, a'i gymydogion, gan ddywedyd wrthynt, Llawenhewch gyda mi; canys cefais fy nafad a gollasid," Luc xv. 5, 6. "Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Wele myfi, ïe, myfi a ymofynaf am fy mhraidd, ac a'u ceisiaf hwynt. Fel y cais bugail ei ddeadell, ar y dydd y byddo yn mysg ei ddefaid gwasgaredig, felly y ceisiaf finau fy nefaid, ac a'u gwaredaf hwynt o bob lle y gwasgarer hwynt iddo, ar y dydd cymylog a thywyll. A dygaf hwynt allan o fysg y bobloedd, a chasglaf hwynt o'r tiroedd, a dygaf hwynt i'w tir eu hun, a phorthaf hwynt ar fynyddoedd Israel, wrth yr afonydd, ac yn holl drigfanau y wlad. Mewn porfa dda y porthaf hwynt, ac ar uchel fynyddoedd Israel y bydd eu corlan hwynt: yno y gorweddant mewn corlan dda, ïe, mewn porfa fras y porant ar fynyddoedd Israel. Myfi a borthaf fy mhraidd, a myfi a'u gorweddfäaf hwynt, medd yr Arglwydd Dduw. Y golledig a geisiaf, a'r darfedig a ddychwelaf, a'r friwedig a rwymaf, a'r lesg a gryfhaf; eithr dinystriaf y fras a'r gref, â barn y porthaf hwynt," Ezec. xxxiv. 11—15.

Wel, fy nghyfeillion, ymddiriedwch yn dragywydd yn y Bugail mawr; rhoddwch eich hunain iddo am byth; y mae yn ddigonol gogyfer a'r byd hwn a'r byd a ddaw. Mae gydag ef lygaid craffus i dy weled yn dy holl angenion; mae gydag ef galon dyner i deimlo drosot; mae gydag ef draed cyflym i redeg atat, i dy gynorthwyo; mae gydag ef freichiau hirion i dy gyrhaedd o bydewau dyfnion. Diolch, am obaith bod yn ei law ac o dan ei amddiffyn bendigedig.

# PREGETH X.

## DUW YR HEDDWCH.

"A Duw yr heddwch, yr hwn a ddyg drachefn oddiwrth y meirw, ein Harglwydd Iesu, Bugail mawr y defaid, trwy waed y cyfamod tragywyddol," Heb. xiii. 20.

Y MAE deall amcan yr apostol yn yr epistol hwn yn tueddu i daflu goleu ar adnod y testun. Y mae yr apostol yn ymdrechu eu cadarnhau, gan eu hanog i ymochelyd gwrthgiliad, a syrthiad ymaith oddiwrth yr efengyl. Yr oeddynt mewn perygl o syrthio ymaith o herwydd dau beth; yn—

1. O herwydd yr erledigaethau parhaus ag oedd yn ymosod arnynt. Yr oedd yr Iuddewon yn llawn o ddigofaint a chynddaredd yn erbyn pawb ag oedd yn ymwrthod â'r gyfraith seremoniol, a chofleidio trefn yr efengyl; y rhai oedd yn gadael Moses a dylyn Crist. Felly yr oedd y bobl hyn mewn profedigaethau a pheryglon mawrion. Cynghorir hwynt yn ddwys gan yr apostol i lynu bellach wrth Grist, er eu holl anfanteision, a pheidio troi ymaith eto oddiwrth yr efengyl at seremoniau. Dywedir wrthynt yn pen. x, eu bod wedi profi blaen-ffrwyth cystuddiau eisoes. Yr ydych wedi dechreu yn dda, cerddwch rhagoch hyd y diwedd, trwy ddwfr a thân, os bydd eisiau. Peidiwch a cholli eich coronau; sefwch at eich *colours;* "Na fwriwch ymaith eich hyder, yr hon sydd iddi fawr wobr." Mae yr apostol yn defnyddio eu gwroldeb mewn cystuddiau blaenorol, yn rheswm i'w cymhell i ddyoddef eto gyda yr un achos. Trueni i chwi golli yr anrhydedd a enillasoch yn deg; gan i chwi fyned trwy gystuddiau a gofidiau mor fawr, gellwch fyned trwyddynt eto yn yr un nerth dwyfol. "Gelwch i'ch cof y dyddiau o'r blaen, yn y rhai, wedi eich goleuo, y dyoddefasoch ymdrech mawr o helbulon. Wedi eich gwneuthur weithiau yn wawd, trwy waradwyddiadau a chystuddiau; ac weithiau yn bod yn gyfranogion â'r rhai a drinid felly." "Canys chwi a gyd-ddyoddefasoch â'm rhwymau i hefyd, ac a gymerasoch eich ysbeilio am y pethau oedd genych yn llawen; gan wybod fod genych i chwi eich hunain olud gwell yn y nefoedd, ac un parhaus." Collodd y merthyron nid yn unig eu *meddianau*, ond hefyd eu *bywydau* yn achos yr efengyl. Ni wnelsant gymaint a thywallt deigryn wrth yr ystanciau, er mwyn diffodd y fflamiau yn mha rai yr oedd eu heneidiau yn myned i esgyn i fyny at Dduw i'r nef-

oedd. Yr oeddynt yn esgyn i fyny yn y fflamiau megys mewn cerbydau tanllyd i wlad y gogoniant.

Y mae yr apostol yn rhybyddio y saint rhag gwrthgiliad trwy ddatgan y barnedigaethau mawrion ag sydd wedi syrthio ar wrthgilwyr yn mhob oes. Syrthiodd cyrph miloedd yn y diffaethwch, yn ngwlad Canaan, ac mewn llawer o fanau eraill. "Ac a syrthiasant ymaith, ac heb ymadnewyddu i edifeirwch; gan eu bod yn ail-groeshoelio iddynt eu hunain Fab Duw, ac yn ei osod yn watwar," Heb. vi. 6. Yr oedd y bobl hyn nid yn unig mewn peryglon mawrion o herwydd erledigaethau, ond hefyd o herwydd diffyg adnabyddiaeth mwy perffaith o natur yr efengyl. Yr oedd rhai wedi gwneyd proffes o Grist, ac eto yn gosod y seremoniau yn gydwerth â'r efengyl; o leiaf yn ymlynedig iawn wrthynt. Y mae yr apostol, i'r dyben o'u tynu allan o'r cyfeiliornad hwn, yn egluro gwagter y ddeddf seremoniol, ac yn profi rhinwedd ac effeithioldeb yr efengyl; ac mai marwolaeth Crist, fel ei heglurir yn yr efengyl, yw swm a sylwedd yr holl gysgodau.

Yn awr, y mae y testun a ddarllenwyd yn grynodeb byr o'r pethau ag y mae wedi sylwi arnynt yn ngwahanol ranau yr epistol. Mae y testun hwn yn cynwys gweddi ddifrifol a sylweddol dros yr Hebreaid. "Duw yr heddwch, yr hwn a ddyg drachefn oddiwrth y meirw ein Harglwydd Iesu, Bugail mawr y defaid, trwy waed y cyfamod tragywyddol, a'ch perffeithio yn mhob gweithred dda, i wneuthur ei ewyllys ef; gan weithio ynoch yr hyn sydd gymeradwy yn ei olwg ef, trwy Iesu Grist." Mae yr apostol yn y testun, yn—

1. Yn egluro pa bethau sydd i'w credu. Mae yn dysgu yr Hebreaid yn nghylch offeiriadaeth Crist, yn yr hwn y dyddimwyd holl seremoniau y ddeddf, ac eu llyncwyd hwynt yn llwyr i fyny am byth.

2. Ar ol planu gwirioneddau yr athrawiaeth, y mae yn eu dyfrhau â chynghorion. Mae yn eu hanog i broffes gadarn, ac ymarferiad santaidd. Dylem nid yn unig broffesu yr athrawiaethau, ond hefyd eu byw yn ein holl ymarweddiad, fel y gallo dynion eu darllen yn ein hymdriniaeth â phob peth yn y byd.

3. Y mae yr apostol yn dirwyn y cwbl i fyny, athrawiaeth a chynghor, gyda gweddi ddifrifol drostynt. Yr ydoedd yn gwybod fod planu trwy ddysgu, a dyfrhau trwy gynghori, yn troi yn wastad yn aneffeithiol heb dderbyn cynydd oddiwrth Dduw trwy weddi. Addysgu, cynghori, a gweddio yw tair

dyledswydd fawr gweinidog yr efengyl. Edrychwn am ychydig ar weddi yr apostol Paul yn y lle hwn.

1. Y mae yn weddi gyflawn, lle y mae y pregethwr a'r bobl yn cyfarfod â'u gilydd. Yn y ddwy adnod flaenorol y mae y pregethwr yn dymuno gweddi yr eglwys drosto ei hun a'i gyd-lafurwyr: "Gweddiwch drosom ni." Y mae yn bosibl, chwi welwch, i'r apostol mwyaf gael help trwy weddiau y cristion gwanaf. Mae efe yn sicrhau ei fod yn gweddio drostynt hwy, ac yn dymuno ar iddynt hwythau weddio drosto yntau. Fel hyn y maent yn cyd-gyfarfod mewn gweddi dros eu gilydd wrth yr un orsedd. Mae y pregethwr yn gweddio dros yr eglwys, a'r eglwys yn gweddio dros y pregethwr ger bron Duw yr un pryd, heb fod un yn gwybod am y llall; ond y mae Duw yn gwybod, ac yn caru eich gweled. Dyma y fath beth yw cymundeb hapus y saint â'u gilydd, ac â Duw yn eu gilydd. Dyma gytundeb a chydgordiad gweinidog a phobl. Y fath gyd-weddio sydd yn foddion effeithiol i dynu y nefoedd i lawr i'r ddaear. Os ydym fel hyn, y mae bendithion y nefoedd yn sicr o ddyfod, nis gallant ond dyfod, y maent yn rhwym o ddyfod i lawr ar eich penau.

2. Gweddi sylweddol iawn ydyw. Pe baech yn cymeryd cynwys y weddi hon dan sylw, chwi welech fod yr holl athrawiaethau melusion a drinir yn yr epistol mewn talfyriad ynddi. Er ys meityn bu yn ysgrifenu yr epistol hwn *at* yr Hebreaid; ac yn bresenol y mae yn gweddio yr epistol *i'w calonau.*

Yn awr, edrychwn mor fedrus a melus y mae yn symio i fyny wirioneddau yr epistol yn y weddi.

(1.) Wedi iddo brofi yn yr epistol fod Crist yn Archoffeiriad mawr yr eglwys, y mae yn y weddi yn ei alw yn Fugail mawr y defaid.

(2.) Wedi iddo brofi yn yr epistol mai Crist yn unig oedd yr Aberth mawr dros bechod, trwy yr hwn yn unig y mae maddeuant pechodau, ac mai ei waed, ac nid gwaed yr aberthau Iuddewig, a wnaeth iawn, y mae yr un gwirionedd yn weddi y testun, mewn cylch byr. "Duw yr heddwch, yr hwn a ddyg drachefn oddiwrth y meirw ein Harglwydd Iesu, Bugail mawr y defaid, trwy waed y cyfamod tragywyddol." Fel pe dywedasai, Y mae Duw mewn perffaith heddwch tuag atom: y mae modd i ni ddal cymundeb ag ef yn "ngwaed y cyfamod tragywyddol."

(3.) Wedi iddo yn yr epistol brofi mai y cyfamod gras yw

unig gyfamod iachawdwriaeth, y mae gweddi y testun yn cynwys yr un peth; sef bod Crist wedi ei ddwyn oddiwrth y meirw trwy rinwedd gwaed y cyfamod tragywyddol. Yma y gwelwn, yn y weddi fel yn yr epistol, y ddeddf seremoniol yn cael ei dyddimu, a'r efengyl dragywyddol yn cael ei sefydlu.

(4.) Wedi iddo yn yr epistol brofi mai taenelliad gwaed Crist yn unig all santeiddio y gydwybod, a'i phuro "oddiwrth weithredoedd meirwon," y mae y weddi yn cynwys yr un peth pan yn cyfeirio at Dduw yr heddwch yn dwyn ein Harglwydd Iesu oddiwrth y meirw, trwy waed y cyfamod tragywyddol. Felly hefyd y mae yn rhaid ein puro, a'n gwneyd yn gymhwys i bob gweithred dda trwy waed y cyfamod yn unig. Yr ydych yn gweled, fy nghyfeillion, fod y weddi hon yn cynwys yr holl epistol mewn talfyriad. Mae yr apostol yn gyntaf yn ysgrifenu yr epistol, ac yna yn gweddio yr epistol; yn traddodi y bregeth iddynt, ac yna yn ei gweddio drostynt. Ni a welwn mai y rhai sydd yn pregethu gwirioneddau dwyfol buraf a symlaf yw y rhai sydd yn gweddio fwyaf am eu llwyddiant.

Gallwn sylwi oddiwrth y testun ar y ddau beth canlynol:—

I. Y ffynonell y mae yr apostol yn cyfeirio ati yn ei weddi am fendithion.

II. Y bendithion ag y mae yn eu deisyf.

I. Y ffynonell: "Duw yr heddwch." Sylfaen ei ddysgwyliadau: "Ein Harglwydd Iesu, wedi ei ddwyn drachefn oddiwrth y meirw, trwy waed y cyfamod tragywyddol." Y bendithion pa rai y mae yn eu deisyfu yw ffrwythlondeb yn mhob gweithred dda, y rhai sydd trwy Iesu Grist er gogoniant Duw." Eithr y peth yr wyf yn myned i alw eich ystyriaethau ato yn fwyaf neillduol y tro hwn yw, Gwrthddrych mawr gweddi yr apostol, DUW YR HEDDWCH. Gadewch i ni ymofyn, fy nghyfeillion, paham y mae yr apostol yn cyfeirio at Dduw fel Duw yr heddwch yn y weddi hon, yn fwy na rhyw briodoledd arall. A oes rhyw reswm penodol am hyn, ynte a ydyw yn hollol ddygwyddiadol? Chwi wyddoch fod priodoliaethau eraill y Jehofah yn cael eu defnyddio mewn gweddi yn mhob oes. Y mae yn cael ei alw yn Dduw hollalluog; a mynych y cyfeirir gweddi ato fel y cyfryw. "Duw y gras," "Duw y gogoniant," "Duw trugarog," "Duw cyfiawn," "Duw santaidd," "Duw unig ddoeth," a "Duw yr amynedd." Yn yr holl briodoliaethau hyn cyfeirir gweddi ato; ond yma, "Duw yr heddwch." Nid yn ddygwyddiad

y mae hyn yn ngweddi yr apostol, er mwyn llanw y weddi i fyny â rhyw eiriau, fel y byddis yn aml; eithr y mae amcan penodol i bob gair; dyma yr unig eiriau all ateb ei bwrpas ar y pryd presenol.

1. Y mae yn cyduno ag amcan yr epistol. Cymodi gwahanol opiniynau yr Hebreaid yn nghylch gwirioneddau sylfaenol yr efengyl yw pwrpas yr apostol yn yr epistol. Yr oedd llawer o ymrafaelion yn eu plith yn nghylch Moses a'r gyfraith seremoniol; ac y mae yr apostol yn bwriadu, wrth siarad am Dduw yr heddwch, rhoddi argraff ar eu meddyliau nad yw ymrafaelion yn gydweddol â gwaith ac addoliad y cyfryw Dduw. Os ydyw efe yn Dduw yr heddwch, dylech chwithau fod yn ddynion heddwch, yn blant heddwch. Byddwch fel eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yn mhob peth.

2. Y mae yr apostol, chwi glywch, yn gweddio am ras iddynt; ac y mae pob gras yn deilliaw oddiwrth Dduw fel Duw yr heddwch. Felly, fy nghyfeillion, y mae cyfeiriad y weddi ato fel "Duw yr heddwch" yn rhesymol, ac yn briodol iawn. Nid oes un gobaith byth am dderbyn bendithion oddiar law Duw digllon: Duw yr heddwch yw ffynonell a dechreuad pob daioni i bechaduriaid am byth. Heddwch yw y rhodd gyntaf; o ba un y mae pob rhodd arall yn llifo. Cam cyntaf Duw at elyn yw dyfod yn Dduw yr heddwch; wedi hyny y mae yn camu ato o hyd fel Duw *pob* gras. Nid oes *un* gras heb heddwch; ar ol heddwch, *pob* gras. Ceisiwch heddwch, yna y mae pob gras sydd yn y Duwdod yn canlyn. Y mae pob gras arall yn cael ei wneyd yn dda i chwi yn nerbyniad hwn; ac y mae parhau i dderbyn pob gras arall yn cadarnhau hwn.

3. Y mae adnabod Duw fel Duw yr heddwch yn hanfodol i dderbyniad y gras y gweddïir am dano. Nid yw y gras yn cael ei gyfranu ond yn unig lle y mae heddwch yn cyfaneddu. "Os bydd yno fab tangnefedd, tangnefedd a orphwys arno; onide hi a ddychwel." Mae ysbryd heddychol, ysbryd addfwyn a llonydd, yn cymhell yr Ysbryd Glân i droi i mewn i'n tai, ac aros gyda ni yn dragywydd. Mae heddwch yn gwneyd ein heneidiau yn dir cymhwys i dderbyn hadau gras. Ni wna Duw hau hadau gwerthfawr yn mhlith drain a mieri. Os bydd arfau rhyfel yn eich tai i fyny yn ei erbyn, y mae yn rhaid iddo ddarostwng y gelynion yn gyntaf â'i fraich, ac yna fe gysura y galon lesg sydd yn teimlo heddwch tuag ato â'i ras.

Heblaw yr ystyriaethau cyffredinol a nodwyd, y mae ystyr mwy neillduol i ddefnyddiad y briodoledd o Dduw yr heddwch yn ngweddi yr apostol. Mae y titlau, "Duw yr heddwch," "Bugail mawr y defaid," a "gwaed y cyfamod tragywyddol," yn cynwys mwy ynddynt na rhyw beth i addurno ymadroddion. Mae Bugail mawr y defaid, a gwaed y cyfamod tragywyddol, yn dal perthynas agos â'r cymeriad o "Dduw yr heddwch." Oblegyd wedi y dywedir Duw yr heddwch y mae yn rhaid cael rhyw eglurhad ar hyny; a'r unig eglurhad sydd i'w gael, sydd yn Nghrist fel Bugail mawr y defaid, a gwaed y cyfamod. Sylwn, fod Duw yn Dduw heddwch ynddo ei hun, ar wahan oddiwrth bob peth. Heddwch yw natur Duw.

1. Nid angau Crist, deallwch, oedd yr achos gwreiddiol i Dduw fod mewn heddwch â ni; eithr cariad, trugaredd, a gras y Duwdod mawr ei hun. Sylfaen yr heddwch hwn yw angau Crist. Cariad Duw dynodd gynllun heddwch yn nhragywyddoldeb; cariad ddanfonodd yr Arglwydd Iesu o'r nefoedd i'r ddaear, i fod yn Frenin Salem, i orchfygu ei elynion, ac yn offeiriad y Duw Goruchaf, i weithio allan a phwrcasu heddwch i'w bobl, a llefaru heddwch i'r byd. Nid dyfod i wneyd Duw yn Dduw yr heddwch, ond gwneyd llwybr cymod rhwng Duw a dynion; gwneyd heddwch trwy roddi ei fywyd i lawr yn sylfaen safadwy i weinyddiad Duw, ac ymorphwysiad pechadur. Mae yr Arglwydd yn Dduw yr heddwch o ran natur; y mae heddwch yn fwy naturiol iddo ef na rhyfel, ac y mae yn cael mwy o hyfrydwch yn nghadwedigaeth pechaduriaid nag yn eu cospedigaeth. Mae heddwch yn mhob peth Duw; yn ei drugaredd, yn ei gyfamod, yn ei holl fwriadau. Yr oedd ei galon yn llawn heddwch er tragywyddoldeb; a'i holl ffyrdd yn dyferu y brasder hwn mewn amser. "Cyfamod hedd oedd rhyngddynt ill dau." Trugaredd, gras, a chariad Duw yw ffynonell heddwch tragywyddol rhyngddo a dynion colledig. Mae y tri Pherson dwyfol mewn cydgordiad a heddwch perffaith â'r eglwys.

Y mae y Tad yn cael ei alw yn y testun, yn "Dduw yr heddwch." Trugaredd a heddwch sydd yn cylchynu ei orseddfainc. Efe sydd yn arwyddo erthyglau heddwch, yn danfon cenadau heddwch, ac yn cyhoeddi "heddwch i bell ac i agos." Gelwir y Mab yn "Dywysog heddwch;" "Imanuel, Duw gyda ni." Gan ei fod, wrth ei swydd, yn Gyfryngwr heddwch, yr oedd yn gweddu iddo ddyfod i'r byd gyda chan-

iadau heddwch. Daeth i'n byd ni gan ganu. "Ac yn ddisymwth yr oedd gyda'r angel luaws o lu nefol, yn molianu Duw, ac yn dywedyd, Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da," Luc ii. 13, 14. Cenadau heddwch, chwi glywch, oedd yn canu: "y llu nefol." Fe ddaeth y Ceidwad i'r ddaear, ac fel "oen yr arweiniwyd ef i'r lladdfa, ac nid agorai ei enau." Tywysog heddwch ydoedd yn mhob man. A phan esgynodd i wlad y gogoniant, gadawodd ar ei ol i'n daear ni y rhodd annhraethadwy o heddwch. "Yr wyf yn gadael i chwi dangnefedd; fy nhangnefedd yr ydwyf yn ei roddi i chwi: nid fel y mae y byd yn rhoddi, yr wyf fi yn rhoddi i chwi. Na thralloder eich calon, ac nac ofned," Ioan xiv. 27. Ysbryd y tangnefedd hefyd yw Duw Ysbryd Glân. Efe yw y Dyddanydd ag sydd yn selio heddwch yn y gydwybod. Mae y golomen fendigedig yna yn dyfod â'r ddalen wyrdd o heddwch o'r nefoedd i'r ddaear.

Gelwir ef yn Dduw yr heddwch eto am mai efe yn unig sydd ag awdurdod i lefaru heddwch wrth ein heneidiau. Mae ein pechodau yn ddrygau ofnadwy, wedi eu cyflawni yn uniongyrchol yn ei erbyn ef: yn erbyn ei fawrhydi dwyfol, yn erbyn ei orsedd wen, yn erbyn ei goron ogoneddus, ïe, yn erbyn ei fodolaeth goruchel. Pan y mae y gyfraith yn cymeryd gafael ar y pechadur, angau yn ei lindagu, cydwybod yn ymaflyd ynddo, ac yn bygwth carchar tragywyddol; y mae y cwbl yn cael ei wneyd yn enw a thrwy awdurdod Duw. Am hyny os gollyngir ef yn rhydd, y mae yn rhaid i'r rhyddhad hwn ddyfod hefyd o orsedd y Barnwr cyfiawn; canys nid oes neb ond y Brenin tragywyddol a all arbed bywyd y troseddwr. Y Duw hwnw a all gondemnio sydd yn gallu cyhoeddi maddeuant hefyd. "Un gosodwr cyfraith sydd, yr hwn a ddichon gadw a cholli," Iago iv. 12. Y Duw sydd wedi ei ddigio gan ein pechodau, sydd ag awdurdod i fwrw ein cyrph a'n heneidiau i uffern. Efe hefyd yn unig sydd yn alluog i lefaru heddwch, a rhoddi maddeuant i ni o lys y nef. Pe byddai i'r holl fyd o'r bron wenu ar y troseddwr sydd yn sefyll yn euog a flaen gorsedd Duw, ni dderbyniai un cysur oddiwrth hyny, heb i'r Barnwr tragywyddol ei hun lefaru heddwch iddo, yn a thrwy waed y cyfamod tragywyddol. Pe byddai angel o'r nef yn llefaru heddwch wrth ysbryd cystuddiedig, o dan bwys teimlad o euogrwydd, efe a drengai yn dragywyddol yn swn ei leferydd, oddieithr ei awdur-

dodi a'i orchymyn gan Farnwr y byd i gario y fath genadwri. Gan fod pob pechod yn taro yn uniongyrchol yn erbyn Duw ei hunan, nis gall neb ond efe ei hun weinyddu heddwch. Efe yn unig, gan hyny, sydd yn alluog i gymhwyso heddwch at y gydwybod.

Peth anmhosibl yw tawelu cydwybod aflonydd ond trwy gymhwysiad o waed y cyfamod tragywyddol. Pan y mae dyn yn cael ei oleuo gan Ysbryd Duw i weled ei bechodau ysgeler yn eu pwys ofnadwy, eu lliw uffernol, a'u drwg annghydmarol; a phan dygir ef i gredu yn wirioneddol fod damnedigaeth dragywyddol yn ei aros, y mae y gydwybod yn ymlanw ag ofnau a brawychau, fel nad oes eisiau dim ychwaneg i berffeithio ei drueni ond i Dduw ei adael heb un datguddiad o iachawdwriaeth yn gymhwysiadol. Mae y gydwybod gyhuddedig yn llosgi fel tân uffern ei hunan. Mae cydwybod euog yn waeth i ddyn na'r cythraul o lawer, y mae ganddi fwy o rym i boenydio. Ti wnei o'r goreu â'r diafol, er ei rym, gwnaed ei waethaf, os bydd y gydwybod yn dda; ond pe bait yn cael llonydd gan gythreuliaid, ni wnei byth o'r goreu â chydwybod ddrwg. Beth dâl i chwi ddyfod â'r byd yn y blaen a'i gynyg i ddyn yn y sefyllfa hon? Fe ddywed wrthych yn chwerw, "Gwagedd yw y cwbl." Mae y cwbl yn ddiflas; nid oes archwaeth at ddim. Pregethwch wrtho, darllenwch iddo, gweddiwch gydag ef, cyfarchwch ef yn iaith yr addewidion; eto ni bydd cysur nes y delo Duw ei hunan i wenu arno. Ein dyledswydd yw defnyddio moddion; eto bronau sychion ydynt oll nes y byddo Duw o'i ras yn llewyrchu ei wyneb arnom. Mae ein holl areithiau wrth y dyn hwn yn aneffeithiol, yn rhywbeth fel rhoddi dillad cynes am gorph marw i'w wresogi, ond yn methu a rhoddi cynesrwydd ynddo. Mae y pechadur yn crynu eto, cyhoeddwch gymaint o addewidion ag a fynoch, gan ofni fod Duw yn elyn, ac y gwna ei ddamnio byth. Pan y mae pechadur fel hyn wedi ei ddeffroi, nid oes ond y Goruchaf ei hun, i'r hwn yn unig y mae cydwybod yn rhwym, a all lefaru heddwch wrth yr enaid nes ymgysuro o hono. Gall Duw, er maint clwyfau cydwybod, arllwys olew a gwin iddi, a chymhwyso y balm o Gilead, nes adferu iechyd perffaith. Gall droi yr ystormydd cryfaf yn hindda dawel, ïe, ystormydd uffern yn dawelwch nefoedd. Gall ymlid yr ofnau, gorchymyn tawelwch, clirio amheuon, a sefydlu cymod yn yr enaid am dragywyddoldeb. Mae efe yn

llefaru y tywyllwch yn oleuni, y nos yn ddydd, y gofid yn gysur, angau yn fywyd, ac uffern yn nefoedd. Bendigedig! y mae braich Duw yn ddigon cryf i godi y pechadur i fyny o ddyffryn anobaith i binacl gogoniant.

Llewyrch ei wyneb grasol sydd yn ymlid ymaith bob rhyw dywyllwch, ïe, tywyllwch duach na thywyllwch yr Aipht, ac yn rhoddi goleuni cysur, gras, a gogoniant, i'r pechadur haeddodd, ac sydd yn ofni marwolaeth dragywyddol. Mae bywyd yn ei ewyllys da, a marwolaeth yn ei ddigofaint. "Digofaint y brenin sydd megys cenad angau. Yn siriol wynebpryd y brenin y mae bywyd: a'i ewyllys da ef sydd megys cwmwl gwlaw diweddar," Diar. xvi. 14, 15. Y Gwaredwr hwnw, ag oedd yn gallu tawelu y gwynt ystormus a thonau berwedig y môr â gair o'i enau, all yn unig wneyd i enaid euog deimlo cysur. Mae tawelu ystorm mewn enaid anfarwol yn fwy, ïe, yn fil fwy na thawelu yr ystorm fwyaf fu erioed ar foroedd y byd. Ond bendigedig, y mae ein Gwaredwr ni yn ddigon galluog i dawelu ac esmwythau cydwybod derfysglyd. Nid oes ond gallu anfeidrol a all symud baich o euogrwydd oddiar y gydwybod; gallu anfeidrol yn unig all symud y teimlad anobeithiol o honi. Fel y dywedais o'r blaen, gall dynion dreulio eu bywydau dan gyfrif yr addewidion mawr iawn a gwerthfawr, siarad am ras, a rhesymu am heddwch Duw, "yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth;" eithr y mae teimlo heddwch mor anmhosibl a phe byddai dynion ac angylion yn gorchymyn canwyll i lewyrchu yn fwy tanbaid na'r haul. Gorchymynwch chwi a fynoch, y mae y peth yn anmhosibl. Mae creu heddwch yn beth sydd yn anmhosibl gyda dynion, ac yn anmhosibl gydag angylion hefyd; y mae yn rhaid cael Creawdwr cyn y gellir creu. Eithr y Duw hwnw a orchymynodd oleuni o dywyllwch, pob peth o ddim, trefn allan o annhrefn, yn unig a all greu heddwch yn yr enaid. Mae yr heddwch hwn, fy nghyfeillion, yn weithred greadigol Duw hollalluog. "Myfi sydd yn creu ffrwyth y gwefusau; Heddwch, heddwch, i bell ac i agos, medd yr Arglwydd; a mi a'i iachaf ef," Esay lvii. 19. Dyma iechyd gwirioneddol i enaid cystuddiedig; dyma heddwch wedi ei greu mewn ystorm gan y Crewr mawr ei hunan, dyma rywbeth o'r iawn ryw, dyma nefoedd ar y ddaear. Gogoniant. "Eithr llawenychwch, a gorfoleddwch yn dragywydd yn y pethau a grewyf fi: canys wele fi yn creu Jerusalem yn orfoledd, a'i phobl yn llawenydd,"

Esay lxv. 19. Yr oedd Dafydd yn ystyried adferiad llawenydd a gorfoledd yr iachawdwriaeth yn llawn cymaint o allu dwyfol a "chreu calon lân." Canys nis gall holl ddynion y byd, holl angylion y nefoedd, byth wneyd y naill fwy na'r llall. "Ysbryd cystuddiedig, pwy a'i cyfyd?" Bendigedig yn oes oesoedd, y mae Duw yr heddwch wrth law, onide buasai y cwbl drosodd am dragywyddoldeb. Efe a all gymhwyso meddyginiaeth iachusol, a llefaru heddwch o'i orsedd, nes y byddo adferiad heddwch yn yr enaid yn nghanol byd o orthrymderau.

Os bydd Ysbryd Duw wedi argyhoeddi pechadur, nid oes ond yr un Ysbryd all ei gysuro drachefn. Eithr os ychydig o ddeffroad mewn cydwybod ac ychydig o ofn uffern yn unig sydd yn y meddwl, gall satan droi yn feddyg i'r cyfryw, mogi yr argyhoeddiadau, siglo cawell, a chanu tôn nes iddo gysgu yn dawel. Cymerwch ofal rhag i chwi gwympo i gysgu ar obenydd y cythraul, a chysgu cwsg marwolaeth; cwsg hyd farwolaeth, heb agor eich llygaid mwy nes eu hagor yn uffern. "Yn uffern efe a agorodd ei lygaid, ac efe mewn poenau." Nid oes dim yn haws ei gael na'r heddwch ffuantus hwn; y mae yn gyffredinol trwy yr holl fyd. Mae llawer yn ein plith yn twyllo eu hunain â rhyfyg, yn lle heddwch gwirioneddol â Duw; â rhyw lonyddwch cysglyd, ac nid heddwch a thangnefedd sylweddol trwy waed y cyfamod tragywyddol. Yr heddwch cryf a sylweddol nis gellir ei gael trwy ddim; mae yn rhaid iddo ddyfod yn uniongyrchol oddiwrth y Duw mawr ei hunan. O Arglwydd, gwared ni oddiwrth gysgadrwydd ysbrydol yn lle heddwch yr efengyl. Er i Nathan ddyfod at Dafydd a dywedyd, "Yr Arglwydd a dynodd ymaith dy bechod di: ni byddi di marw;" er hyny y mae yn troi at Dduw, ac yn gweddio, "Pâr i mi glywed gorfoledd a llawenydd, fel y llawenycho yr esgyrn a ddrylliaist," Sal. li. 8. Y mae y salmydd yn dymuno clywed llais tangnefedd a heddwch yn y gydwybod oddiwrth yr Arglwydd ei hun, er sicrhau a selio y gollyngdod. Mae efe yn myned i'r *fountain-head* ar unwaith. Nid oedd yn dawel ar lais y prophwyd yn unig, heb glywed llais Duw yn sibrwd heddwch i'w gydwybod. Bydded i ninau, fy nghyfeillion, wneuthur yr un peth. Cerddwch at yr Arglwydd eich hunain, a mynwch arwydd o heddwch oddiwrtho ef ei hun i'ch eneidiau. Gorphwyswch ar yr Arglwydd Iesu am dangnefedd rhyngoch a'ch Barnwr. Crist

yw sylfaen heddwch â Duw. Duw yw y Ffynonell, Crist yw y Sylfaen.

Y mae cysylltiad, chwi welwch, rhwng heddwch y testun a marwolaeth yr Arglwydd Iesu, ac a'i adgyfodiad oddiwrth y meirw. "Duw yr heddwch" yn dwyn "drachefn oddiwrth y meirw ein Harglwydd Iesu, trwy waed y cyfamod tragywyddol." Nid yw heddwch y testun yn heddwch *gwreiddiol*, eithr heddwch wedi ei *wneyd* ar ol ei golli. Darfu i ni oll dori yr heddwch yn mharadwys, ac aeth Duw a dynion yn elynion i'w gilydd. Y mae dyn trwy bechod wedi myned yn aflan, am hyny yn wrthddrych casineb naturiol Duw; ac y mae yr Arglwydd yn cael ei gasâu yn naturiol gan galon frwnt, am ei fod yn bur a dihalog, y Duw santaidd, ac heb anwiredd ynddo. Eithr Crist, gan ei fod yn Dduw a dyn mewn un Person, sydd yn gwneyd y gwahaniaeth i fyny yn anrhydeddus. Mae efe yn berthynas agos i'r ddwy blaid, ac am hyny yn cynwys ynddo addasrwydd anfeidrol i gymodi y pleidiau â'u gilydd. Mae efe yn ddyddiwr rhyngom, all osod ei law arnom ein dau, Job ix. 33. Mae efe yn cymodi Duw â ni trwy roddi iawn iddo am ein camweddau; ac y mae yn ein cymodi ni ag ef trwy nerth yr Ysbryd Glân, yr hwn sydd yn cymhwyso rhinweddau y gwaed at y gydwybod, yn tawelu yr ystorm, yn creu heddwch yn y meddwl tuag at Dduw, ac yn ein gwneyd yn greaduriaid newydd. Bendigedig, y mae sylfaen heddwch yn ddigon cryf, er maint ein hannheilyngdod. Nid oedd y troseddwyr ond *meidrol;* eithr y mae yr hwn sydd yn rhoddi boddlonrwydd yn *anfeidrol*, gan ei fod yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd yn gystal a dyn. Y mae yr anrhydedd ag y mae y Jehofah yn ei dderbyn trwy ei ufudd-dod a'i angau, gan hyny, yn anfeidrol fwy na'r dianrhydedd o herwydd yr anufudd-dod.

Yr oedd y fath werth anfeidrol yn ufudd-dod Crist ag sydd nid yn unig wedi bod yn ddigonol i gael ein gyddfau yn rhydd, ond hefyd ein gwneyd yn *favorites* yn y llys. Nid oes un trais ar natur Duw i fod mewn heddwch â ni yn bresenol, ac nid yw yn ddianrhydedd iddo ychwaith. Diolch! yr ydym nid yn unig wedi derbyn maddeuant, ond hefyd yn cael ein perffeithio ar ddelw yr "hwn a'n creodd," a'n codi i fyny i fwynhad o Dduw byth yn y nefoedd. Nid yw yr Arglwydd yn dân ysol i ni mwy, eithr yn oleuni adfywiol a chysurol yn llewyrchu arnom, teimlad o'r hwn sydd yn felusach fil o weithiau nag yw i'r "llygad weled yr haul." Y

mae gwedd ei wyneb yn Nghrist yn llawn hyfrydwch a thawelwch. "Mi a edrychaf yn dy wyneb mewn cyfiawnder: digonir fi pan ddihunwyf â'th ddelw di." Os cyfarfyddwch â Duw yn ngwaed y cyfamod, nis gall fod yn ddim arall ond Duw yr heddwch. Mae yn wastad ar ei wên yma. Mae gwaed y cyfamod tragywyddol wedi rhoddi y titl o Dduw yr heddwch iddo, trwy ei alluogi i gario allan ei galon mewn trugaredd, ac heb wneuthur cam â neb.

(1.) Y mae y titl o "Dduw yr heddwch," a "gwaed y cyfamod tragywyddol," yn dal perthynas agos â'u gilydd yn y testun. Yr ydym ni, fy nghyfeillion, wedi troseddu cyfraith ein Gwneuthurwr, ac y mae y gyfraith hono yn galw am waed ac angau. "Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw." "Gan farw, ti a fyddi farw." "Ac heb ollwng gwaed nid oes maddeuant." Y mae gwaed a marwolaeth yn arwyddion digofaint. Fel hyn yr oedd pethau yn sefyll rhwng Duw a ni: yr oedd ei gyfiawnder yn galw am ein gwaed a'n marwolaeth dragywyddol ni. Nid oedd dim, gan hyny, ond gwaed ac angau allasai rhoddi perffaith foddlonrwydd i gyfiawnder dwyfol. Eithr y mae yn rhaid cael rhyw waed ac angau heblaw gwaed ac angau y troseddwr, onide nis gwneir byth. "Gan waredu ni wared neb ei frawd, ac ni all efe roddi iawn drosto i Dduw: canys gwerthfawr yw pryniad eu henaid, a hyny a baid byth," Sal. xlix. 7. Rhaid cael gwell gwaed na'r anifeiliaid direswm, onide y mae yn ddiobaith byth. "Canys anmhosibl yw i waed teirw a geifr dynu ymaith bechodau." Ond dyma ein Iesu bendigedig yn camu i mewn rhwng y pleidiau, ac yn cynyg cyfryngu a gwneyd heddwch rhyngddynt. "O herwydd paham y mae efe, wrth ddyfod i'r byd, yn dywedyd, Aberth ac offrwm nis mynaist; eithr corph a gymhwysaist i mi. Offrymau poeth, a thros bechod, ni buost foddlon iddynt. Yna y dywedais, Wele fi yn dyfod (y mae yn ysgrifenedig yn nechreu y llyfr am danaf) i wneuthur dy ewyllys di, O Dduw. Trwy yr hwn ewyllys yr ydym ni wedi ein santeiddio, trwy offrymiad corph Iesu Grist unwaith," Heb. x. 7—10.

Y mae gwaed ac angau Crist yn foddlonrwydd i Dduw; y mae pwys a gwres y dydd wedi syrthio ar Gyfryngwr y Testament Newydd; y mae pwys digofaint y Tad wedi gorphwys arno, nes y collodd ei waed gwerthfawr, a marw ar y pren. Y mae efe yn awr wedi marw drosom, ac wedi ei gladdu. "Cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef; a thrwy ei

gleisiau ef yr iachawyd ni," Esay liii. 5. Trwy ei farwolaeth ef y pwrcaswyd ein heddwch ni. Digofaint Duw a'i tarawodd nes iddo farw; llyncodd yntau ddigofaint wrth farw. Tarawodd y nefoedd, eithr torwyd y ffon, a chollwyd hi yn y môr o haeddiant ag oedd yn y farwolaeth. "Ac a ddirymodd trwy ei gnawd ei hun y gelyniaeth, sef deddf y gorchymynion mewn ordeiniadau, fel y creai y ddau ynddo ei hun yn un dyn newydd, gan wneuthur heddwch. Ac fel y cymodai y ddau â Duw, yn un corph, trwy y groes, wedi lladd y gelyniaeth trwyddi hi," Eph. ii. 15, 16. Felly, fy nghyfeillion, y mae Duw wedi dyfod yn Dduw yr heddwch i ni yn Nghrist. Nid oes lidiawgrwydd ynddo. Y mae ei waed yn "dywedyd pethau gwell na'r eiddo Abel." Y mae Jehofah wedi arogli arogl peraidd yn marwolaeth Crist: y mae efe wedi gorphwys yno, wedi "ymlonyddu yn ei gariad;" ni bydd efe yn ddigllon wrthym byth mwy. Gwaed Iesu sydd wedi taenellu gorsedd Duw er gwneyd heddwch yn y nef, a gwaed Iesu sydd yn cael ei daenellu yn nghydwybod dyn er gwneyd heddwch yno hefyd. Bendigedig, y mae yn effeithiol yn mhob man lle y mae yn myned i wneuthur heddwch. Canwyd y gân hon ar enedigaeth Crist: "Gogoniant yn y goruchafion i Dduw, ac ar y ddaear, tangnefedd; i ddynion, ewyllys da." Mae digon yn Nghrist i'r nefoedd a'r ddaear; i Dduw yn y goruchafion, ac i ddynion yn yr iselderau. Bendigedig!

(2.) Y mae y titl hwn, "Duw yr heddwch," yn gyfeiriol at "ddwyn ein Harglwydd Iesu oddiwrth y meirw." Arwydd sicr o fod Duw mewn heddwch â ni yw iddo ddwyn drachefn oddiwrth y meirw ein Harglwydd Iesu. Pan dygwyd Crist fel oen i'r lladdfa, a'i roddi o dan awdurdod angau, y "gelyn diweddaf," arwydd o ddigofaint Duw oedd hyny; eithr ei ddychwelyd eilwaith oddiwrth y meirw gan yr un llaw ag a'i gosododd yno, oedd arwydd sicr i'r nefoedd ac i'r ddaear fod heddwch wedi ei sefydlu ar dir cyfiawnder. Daliodd Duw Dad ein Harglwydd Iesu fel ein Machniydd, a bwriodd ef i garchar angau a'r bedd, o dan gyfrifiad o'n holl ddyledion; ond yma chwi welwch y Tad cyfiawn yn ymaflyd yn llaw ein Harglwydd Iesu, Bugail mawr y defaid, ac yn ei arwain allan o'r carchar, yn ei godi oddiwrth y meirw trwy waed y cyfamod tragywyddol, i arwyddo yn oleu ac anghamsyniol fod heddwch wedi ei sefydlu; ac mai Duw yr heddwch fydd ei enw mwy i'w eglwys. Diolch, y mae ein

Meichiau ni wedi talu yr hatling eithaf o'n dyled ar y pren; am hyny y mae y Tad mewn heddwch yn ei arwain allan o'r carchar, ac yn ei gyhoeddi yn wr rhydd ger bron nefoedd a daear, a phawb sydd yn perthyn iddo. Gogoniant! nid yn unig y mae yr Iesu yn wr rhydd, eithr y mae y plant hefyd yn rhyddion. "Rhyddion fyddwch yn wir." Diolch; daeth Duw Dad ag ef o garchar angau ei hunan, dyrchafodd pen ein Harglwydd Iesu uwchlaw marwolaeth byth mwyach, "ac a roddes iddo enw, yr hwn sydd goruwch pob enw; fel yn enw Iesu y plygai pob glin, o'r nefolion, a'r daearolion, a than-ddaearolion bethau. "Ac y cyffesai pob tafod fod Iesu Grist yn Arglwydd, er gogoniant Duw Dad," Phil. ii. 9—11.

Rhwymodd Joseph Simeon, a chadwodd ef yn wystl yn ngharchar dros ei frodyr, hyd nes cael boddlonrwydd, ac wedi hyny gollyngwyd ef yn rhydd, ac adferwyd hwynt i heddwch. Mae ein Harglwydd Iesu wedi dychwelyd o garchar ar ol talu ein dyled mewn heddwch ger bron y Tad, a'n holl frodyr gydag ef. Fy mrodyr yn yr Arglwydd, y mae Duw mewn heddwch â ni. "Pa fodd y gwyddoch hyny?" O herwydd y mae ein Meichniydd wedi cymeryd yr "ysgrifeniadau oddiar y ffordd," a boddloni yn llwyr trwy dalu i lawr ein holl ddyledion. "Pa fodd y gwyddoch hyny?" Am ei fod wedi ei ddwyn drachefn oddiwrth y meirw, gan Dduw yr heddwch yn rhydd o garchar y bedd. Danfonodd y Tad genadwyr o'r nefoedd mewn gwisgoedd gwynion, yr hyn hefyd sydd yn arwydd heddwch; i agor drws y carchar, gan ddywedyd wrthynt, gydag awdurdod, "Gollyngwch ef yn rhydd; mi a gefais iawn." Bendigedig, y mae y Tad a ninau mewn heddwch. Yr ydoedd yn gyfiawn i ollwng y Bugail yn rhydd wedi iddo dalu i lawr *trespass* y defaid. Mae arbed bywyd y defaid wedi dyfod yn weithred o gyfiawnder, yn gystal ag o drugaredd, trwy farwolaeth yr Arglwydd Iesu. Mae ein bywydau yn ddyogel; gogoniant! y mae trugaredd a chyfiawnder yn Nghrist o blaid ein heddwch. "Minau ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd tragywyddol; ac ni chyfrgollant byth, ac ni ddwg neb hwynt allan o law fy Nhad i," Ioan x. 28. Mae Crist wedi marw, fel y "caent fywyd, ac y caent ef yn helaethach.

Cyfarchiad cyntaf ein Harglwydd Iesu wrth godi o'i wely pridd, oedd heddwch. "Henffych well. Nac ofnwch: ewch, mynegwch i'm brodyr, fel yr elont i Galilea, ac yno y'm gwelant i," Mat. xxviii. 9. Mae fy nyfodiad oddiwrth y

meirw yn sicrhau heddwch i chwi am dragywyddoldeb. Gwawr yr heddwch oedd yn Bethlehem, ond yr haul yn ei gyflawn nerth oedd yr adgyfodiad oddiwrth y meirw. Cyfododd "fel y boreu-oleuni, pan gyfodo haul foreu-gwaith heb gymylau: fel eginyn a dyf o'r ddaear, gan lewyrchiad yn ol y gwlaw," 2 Sam. xxiii. 4. Mae yn cael ei gyhoeddi boreu y trydydd dydd, gan Dduw yr heddwch, yn Dywysog heddwch nefoedd a daear. Wedi iddo roddi boddlonrwydd llawn i gyfiawnder Duw, y mae yn sefyll yn rhydd o flaen y byd, trwy waed y cyfamod tragywyddol, heb fod gan neb ddim i ofyn iddo. Am hyny gweddus yw i'r apostol ddywedyd, fod Duw yr heddwch ei hunan wedi "dwyn drachefn oddiwrth y meirw ein Harglwydd Iesu, Bugail mawr y defaid, trwy waed y cyfamod tragywyddol." Mae Crist bellach yn sicrhau i'w ddysgyblion fod Duw wedi dyfod yn Dduw iddynt hwy. "Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Na chyffwrdd â mi: oblegyd ni ddyrchefais i eto at fy Nhad; eithr dos at fy mrodyr, a dywed wrthynt, Yr wyf yn dyrchafu at Nhad i a'ch Tad chwithau, a'm Duw i a'ch Duw chwithau," Ioan xx. 17. Mae marwolaeth ac adgyfodiad Crist wedi egluro fod ein gelyn a'n barnwr yn awr yn Dad ac yn Dduw.

(3.) Y mae y titl hwn, "Duw yr heddwch," yn gyfeiriol at Fugail mawr y defaid. Mae Crist nid yn unig wedi ei ddwyn drachefn oddiwrth y meirw, ond hefyd y mae drachefn yn ei swydd wedi ei adgyfodi o feirw. Mae hyn yn brawf ychwanegol fod yr Arglwydd yn "Dduw yr heddwch." Mae yn Fugail mawr y defaid yn codi o'r bedd, ac y mae yn Fugail mawr y defaid yr awr hon. Pan tarawyd "y Bugail, defaid y praidd a wasgarwyd." Tarawyd a drylliwyd y Bugail yn farwol. Eto y mae heddwch yn yr angau; y mae Duw yr heddwch yn cael ei gyhoeddi uwch ben yr aberth; y mae mewn heddwch nid yn unig â'r Bugail, ond hefyd â miloedd ac â myrddiynau ynddo. Mae efe wedi ei godi oddiwrth y meirw, ac yn ei swydd o hyd yn Fugail ar ei holl ddeadell. Dywedodd Joseph wrth y trulliad yn nehongliad y freuddwyd, "O fewn tri diwrnod eto Pharaoh a ddyrchafa dy ben di, ac a'th rydd di eilwaith yn dy le," Gen. xl. 13. Felly Duw yr heddwch mewn tri diwrnod a gododd i fyny "ein Harglwydd Iesu, Bugail mawr y defaid, trwy waed y cyfamod tragywyddol," ac a'i rhoddodd eilwaith yn ei le. Mae yn dychwelyd adref o'r anialwch â'r ddafad gyfrgolledig ar ei ysgwyddau, gan lawenhau yn ei gwaredigaeth o safn y

llew a phalfau yr arth; o ddwylaw angau a'r bedd. Yr ydych yn cofio cyffes ddiolchgar Jacob ar ei ddychweliad adref o Padan-haran. "Ni ryglyddais (eb efe) y lleiaf o'th drugareddau di; nac o'r holl wirionedd a wnaethost i'th was: oblegyd â'm ffon y daethum dros yr Iorddonen hon; ond yn awr yr ydwyf yn ddwy fintai," Gen. xxxii. 10. Mae ein Harglwydd Iesu, Bugail mawr y defaid, wedi croesi yr Iorddonen, a dim ond pren garw y groes yn ei law; a dacw ef yn dychwelyd adref mewn heddwch â'r ddeadell yn ei feddiant. Mae y geiriau bugail, defaid, a bugeilio yn arwyddeiriau heddwch. Mae y gwaith o fugeilio yn tybio heddwch. Mewn heddwch y mae bugeiliaeth yn ffynu. Nid yw Duw mewn rhyfel â'i eglwys, eithr mewn heddwch; y mae genym Fugail o'i osodiad ei hun: "Bugail mawr y defaid."

Heddwch yw tymhor y bugeiliaid, y pryd hwnw y mae eu masnach yn llwyddo. Mae yr Arglwydd yn arwyddo heddwch pan addawodd gyfodi bugeiliaid da i Israel. "Cyfodaf hefyd un bugail arnynt, ac efe a'u portha hwynt, sef fy ngwas Dafydd; efe a'u portha hwynt, ac efe a fydd yn fugail iddynt. A minau yr Arglwydd a fyddaf yn Dduw iddynt, a'm gwas Dafydd yn dywysog yn eu mysg: myfi yr Arglwydd a leferais hyn. Gwnaf hefyd â hwynt gyfamod heddwch, a gwnaf i'r bwystfil drwg beidio o'r tir: a hwy a drigant yn ddyogel yn yr anialwch, ac a gysgant yn y coedydd. Hwynt hefyd ac amgylchoedd fy mryn a wnaf yn fendith: a gwnaf i'r gwlaw ddisgyn yn ei amser, cawodydd bendith a fydd," Ezec. xxxiv. 23—26. Mae achos y Bugail mawr i lwyddo; fe ddychwelir adref y defaid crwydredig a cholledig: canys y mae heddwch wedi ei sefydlu rhwng nefoedd a daear. Mae y rhyfel wedi ei derfynu: gellwch ddysgwyl bellach i bob peth lwyddo mewn heddwch. "Ië, ond fe allai y tyr hi allan eto." Na wna byth; y mae yr heddwch wedi ei sefydlu am dragywyddoldeb yn "ngwaed y cyfamod tragywyddol."

4. Mae y titl hwn, "Duw yr heddwch," yn cyfeirio at ran arall o'r testun; sef "y cyfamod tragywyddol." Mae y cyfamod tragywyddol yn heddwch o ran natur, ac yn sicrwydd a chadarnhad o hono i'r deiliaid. Mae Duw yr heddwch wedi rhoddi i ni fraint-ysgrif *(charter)* heddwch. Mae heddwch wedi ei sefydlu rhwng nefoedd a daear; a dyma gyfamod tragywyddol yn sicrwydd o hono. Mae yr heddwch hwn, gan hyny, fel y cyfamod ei hun o ran sicrwydd a phar-

had, yn heddwch tragywyddol. Mae yr Arglwydd wedi ymrwymo i gadw yr heddwch hwn mewn cyfamod tragywyddol: mae efe wedi sefydlu heddwch na thorir byth. Gogoniant! "Y mynyddoedd a giliant, a'r bryniau a symudant; ond fy nhrugaredd ni chilia oddiwrthyt, a chyfamod fy hedd ni syfl." Nid yn unig y mae yn heddwch cyfamod, ond hefyd y mae yn heddwch testament, yr hyn sydd yn ychwanegu grym, ac yn ei wneyd yn fwy cadarn byth. Mae yr heddwch hwn yn rhodd destamentaidd; y mae yn annghyfnewidiol. Gadawodd yr Arglwydd Iesu, yn mhlith ei holl drysorau eraill, heddwch i ni yn ei ewyllys ddiweddaf. "Fy nhangnefedd yr ydwyf yn ei adael i chwi." Fy nghyfeillion, ni gawn etifeddu heddwch yn dragywydd, a dyogelwch hyd byth; y mae hyn yn "rhan gweision yr Arglwydd." Ac i'n sicrhau yn fwy, y mae Crist wedi sefydlu swyddfa yn ei eglwys, lle y mae yn edrych ar ei gyfamod, ac yn cymeryd allan gopi perffaith a gwirioneddol o'i destament. Y prawflythyr hwn yw y swper santaidd. *The probate of Christ's last will and testament.* Mae y testament newydd yn y gwaed yn cael ei ddal allan a'i egluro yn y bara ac yn y cwpan. "Y bara hwn yw fy nghorph drylliedig, a'r cwpan hwn yw fy ngwaed tywalltedig." Dyma le i chwi ddyfod yn y blaen i geisio maddeuant o'ch holl bechodau; dyma le i chwi ddyfod i adnewyddu eich *charter*, dyma le i chwi *bledio* am drugaredd a gras, canys y mae y cyfamod a'r testament yn llawn i'r ddau ymyl o fendithion. Yma y gallwn gyda Dafydd *bledio* y cyfamod tragywyddol yn ein gweddiau: "Cofia dy gyfamod;" a lledu o'i flaen y testament ag sydd yn cynwys *legacy* o heddwch, ac wedi ei selio â gwaed ei anwyl Fab. Gofynwch gan y Tad yn enw yr Iesu, ac yr ydych yn sicr o dderbyn. Mae Crist wedi marw fel Testamentwr, ac wedi gadael yn ei destament y rhodd fwyaf erioed i'w eglwys; heddwch a thangnefedd yn oes oesoedd. Efe ei hun, gan iddo godi oddiwrth y meirw, yw Ymddiriedolwr y testament yn y nef. Mae y "Testamentwr yn fyw," ac y mae yn cyfranu i ni fendithion ei destament ei hun wrth raid. Mae ein heddwch yn sylfaenedig ar ei farwolaeth, ac yn cael ei *bledio* ar ein rhan yn ei eiriolaeth. Efe yw ein Cenadwr yn llys y nef, sydd yn gwneyd i fyny rhyngom a'n Barnwr. Mae efe mewn awdurdod hollol, ac y mae holl ddefnyddiau heddwch gydag ef. Mae gwaed y cyfamod tragywyddol yn y cysegr bob amser. Canys aeth i mewn i'r

cysegr "trwy ei waed ei hun, gan gael i ni dragywyddol ryddhad." Mae gan y creadur gwan *interest* rhyfeddol yn ngwlad y gogoniant; "Ac os pecha neb, y mae i ni Eiriolwr gyda'r Tad, Iesu Grist y cyfiawn. Ac efe yw yr iawn dros ein pechodau ni," Ioan ii. 1, 2. Hwn yw ein Cenadwr yn llys y nef, "Iesu Grist y cyfiawn;" ac y mae gan Frenin y nefoedd genadwr yma yn llys y gydwybod, sef yr Ysbryd Glân. Teimlad o'r heddwch hwn, fy nghyfeillion, a'ch gwna chwi i ganu yn nghanol ystorm; bendigedig am heddwch na siglir byth. Trugaredd Duw yw y ffynonell, marwolaeth Crist yw y sylfaen, eiriolaeth Crist yn y nef sydd am barhad ei gymhwysiad.

Eto ychydig eiriau yn nghylch y cyfamod tragywyddol. Mae tri math o gyfamodau yn mhlith dynion. 1. Cyfamodau cyfeillgarwch. 2. Cyfamodau masnachol. 3. Cyfamodau cynorthwyol.

1. Cyfamodau masnach. Mae y cyfamod gras yn gyfamod masnach. Mae *embargo* yn cael ei roddi ar y llongau yn amser rhyfel, fel na allont hwylio allan o'r porthladdoedd. Dyma fel yr oedd gyda ni un amser; ond bendigedig, y mae yr *embargo* wedi ei symud; y mae heddwch rhwng y ddwy wlad wedi ei sefydlu eto. Buom un amser ddim yn hwylio i borthladd y nefoedd o gwbl, yr ydoedd yn rhy beryglus; yr oedd rhyfel rhyngom a Brenin y wlad; eithr yn awr y mae heddwch perffaith wedi ei sefydlu rhyngom ag ymerodraeth y nef; y mae y ffordd wedi ei hagor i'r nef ei hun; gallwn hwylio yno bob dydd mewn llongau gweddi, a hwylio yn ol yn llongau llawnion yr addewidion. Yr wyf yn meddwl, fy nghyfeillion, y gallwn wneyd masnach dda iawn, ond i ni godi ati; canys y mae cyfamod heddwch yn gyfamod masnach. Yr wyf yn meddwl gwneyd gwell masnach yn y ffordd hon na holl gybyddion y byd hwn. Yr wyf yn meddwl gwneyd gwell *fortune* na'r Rothschilds, ac na'r *East India Company*, a holl *merchants* Llundain, a Liverpool, a Manchester, a Birmingham; ïe, a'r byd i gyd. Gogoniant! "Gwell yw ei marsiandiaeth hi na marsiandiaeth o arian, a'i chynyrch hi sydd well nag aur coeth. Gwerthfawrocach yw hi na gemau: a'r holl bethau dymunol nid ydynt gyffelyb iddi. Hir-hoedl sydd yn ei llaw ddeheu hi; ac yn ei llaw aswy y mae cyfoeth a gogoniant. Ei ffyrdd hi sydd ffyrdd hyfrydwch, a'i holl lwybrau hi ydynt heddwch. Pren y bywyd yw hi i'r neb a

ymaflo ynddi: a gwyn ei fyd a ddalio ei afael ynddi hi." Mae yn well na marsiandiaeth yr Aipht, ac Ethiopia, y ddwy India, a holl gyfoeth Peru. "Elw mawr yw duwioldeb." Dyma gyfamod sydd wedi sefydlu masnach rhwng nefoedd a daear, Duw a dyn, sydd yn fwy gwerthfawr na holl fasnachau y byd yn un.

2. Y mae yn gyfamod cyfeillgarwch. Yr ydym yn sefyll yn awr ar delerau heddwch â Duw y nefoedd. Mae y rhai oedd gynt yn ddyeithriaid a dyfodiaid wedi eu gwneyd "yn gyd-ddinasyddion â'r saint, ac yn deulu Duw;" wedi eu gwneuthur yn agos trwy waed Crist. Gelynion wedi eu gwneyd yn gyfeillion, a'r rhai oedd heb Dduw yn y byd wedi eu derbyn i gymundeb y nefoedd; yn etifeddion y deyrnas dragywyddol, a barotowyd er seiliad y byd.

3. Y mae yn gyfamod cynorthwyol. Yr ydym yn meddwl cynorthwyo hyd y gallwn gydag achos yr Arglwydd, yn ol ein medr a'n grym; eto nid yw yn werth siarad am dano, mewn cymhariaeth i'r hyn y mae Duw wedi addaw ei wneyd i ni. Mae Crist, fy nghyfeillion, wedi ymrwymo yn y cyfamod tragywyddol i fod yn gynorthwywr i ni yn ein holl amgylchiadau yn y byd. I gynorthwyo yn foreu iawn, i fod wrth law yn wastadol. Mae hyn yn werth siarad o'i blegyd yn nghanol cyfyngderau, a mil a mwy o annghysuron. Diolch! y mae wedi addaw bod gyda ni bob amser hyd ddiwedd y byd.

Yn awr, gadewch i ni wneyd ychydig o gasgliadau cyn dybenu.

1. Gwelwn yr eglurhad perffeithiaf o drefn achub dyn dan y cyfamod gras. Mae Tywysog heddwch wedi dyfod i'n gwlad ar farch gwyn, i orchfygu trwy ras, nid trwy y cleddyf, gan alw i edifeirwch, nid i'r lladdfa. Y titl a roddir i Dduw y rhan amlaf yn yr Hen Destament yw "Arglwydd y lluoedd;" ond yn y Testament Newydd, "Duw yr heddwch." Yr oedd y cyfamod gras dan yr Hen Destament yn y tywyllwch i fesur mawr; eithr o dan y Testament Newydd y mae bywyd ac anllygredigaeth wedi eu dwyn yn fwy i'r goleuni. Cadwyd y datguddiad cyflawn o ras hyd ddyfodiad yr Arglwydd Iesu; yn wir, nis gallesid datguddio gras yn gyflawn ond trwy Grist. Yr oedd yr amlygiad i'r Iuddewon fel y seren foreu: eithr i ni yn haul canol dydd, yn dysgleirio yn ei nerth. Mae "haul cyfiawnder wedi codi" i ni. Gwlith

y boreu oedd gyda hwy; ond y mae genym ni gawodydd pwysig, ïe, gwlaw grasol, digon i wlychu yr holl ddaear.

2. Gwelwn anfeidroldeb daioni Duw yn y cyfamod tragywyddol. Nyni oedd y blaid droseddodd, nyni hefyd oedd y blaid wanaf; buasem wedi colli y dydd byth yn y frwydr; am hyny nyni ddylasai gwympo, a deisyf heddwch gyda brys. Er nad oedd genym allu i dalu traul yr heddwch, eto ein dyledswydd oedd ymbil â'n Barnwr. Nyni hefyd achosodd y rhyfel, a ni oedd yn rhwym i'r costau. Eto y mae Duw yn anfon ei Fab i fod yn iawn, talu yn ein lle, ein rhyddhau o garchar, o'i anfeidrol ras a'i drugaredd ei hun. Mae efe yn troi i'w drysordy ei hun, ac yn talu y cwbl, heb ofyn dim i ni. Felly y mae y priodoliaethau dwyfol yn dysgleirio allan gyda llewyrch anfeidrol yn ein cymod â'r nefoedd trwy farwolaeth Crist.

3. Prif destun syndod y nefoedd yw llwybr y cymod. Byddai yn rhyfeddod clywed fod y *north* a'r *south poles* wedi dyfod at eu gilydd, neu fod y ser wedi ymgymysgu â'r llwch, neu fod angylion y gogoniant wedi eu huno ag ymlusgiaid y llawr; ond bod Duw tragywyddoldeb wedi ymddarostwng i ymuno â'n natur ni sydd fil rhyfeddach. Mae anfeidrol fwy o bellder rhwng ein natur ni a'r Duwdod nag sydd rhwng y *north* a'r *south poles*, ac nag sydd rhwng angylion y gogoniant ac ymlusgiaid y ddaear. Eto dyma y naturiaethau pellaf wedi dyfod at eu gilydd. Mae nefoedd a daear, Duw a dyn yn ysgwyd dwylaw yn y dyn Crist Iesu, "y dyn a'r Duwdod ynddo'n trigo." Yma y mae y gelyn wedi ei adferyd i ffafr yr Hollalluog; yma y mae yr heddwch wedi ei sefydlu am byth. O syndod! Syned y nefoedd uchod, rhyfedded y ddaear isod, uwch ben trefn anfeidrol y cymod. "Canys efe yw ein tangnefedd ni, yr hwn a wnaeth y ddau yn un, ac a ddatododd ganol-fur y gwahaniaeth rhyngom ni; ac a ddirymodd trwy ei gnawd ei hun y gelyniaeth, sef deddf y gorchymynion mewn ordeiniadau, fel y creai y ddau ynddo ei hun yn un dyn newydd, gan wneuthur heddwch; ac fel y cymodai y ddau â Duw yn un corph, trwy y groes, wedi lladd y gelyniaeth trwyddi hi. Ac efe a ddaeth, ac a bregethodd dangnefedd i chwi y rhai pell, ac i'r rhai agos," Eph. ii. 14, 15, 16.

4. O saint, cymerwch gysur, Fe allai y cyhoedda y diafol, uffern, a'r byd ryfel yn eich erbyn: bygythiant chwi ag

angau, ac ag ystormydd erchyll; eithr y mae Duw yn llefaru heddwch i'w bobl ac i'w saint, am hyny nac ofnwch. Solomon a ofynodd gynt, "A breswylia Duw ar y ddaear?" Gwna, ebe Ioan. "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni (ac ni a welsom ei ogoniant ef, gogoniant megys yr unig-anedig oddiwrth y Tad) yn llawn gras a gwirionedd," Ioan i. 14. Mae Duw, fy nghyfeillion, mewn heddwch â ni yn Nghrist Iesu; lle bynag y cyfyd rhyfel, nid oes rhyfel i gyfodi o'r nefoedd byth mwyach. Yr oedd y delyn, yn mhlith yr hynafiaid, yn arwydd heddwch. Mae genym delyn yr efengyl yn chwareu ar ein clustiau bob dydd yn awr; swn heddwch ydyw, caniadau am waed y groes. Llais y delyn, nid y magnel yn rhuo, yr ydym yn ei glywed bellach. Yr ydym wedi haeddu ein gosod yn nod i holl fagnelau y nefoedd, a'n gyru ar encil tragywyddol i dân uffern; ond bendigedig fyddo enw Duw byth, llais y delyn yr ydym yn ei glywed yn chwareu yn felus ar ein clustiau; cenadwri heddwch i bell ac agos. Nid oes ond heddwch i fod mwyach rhwng y saint a'r nefoedd. Y mae Salem yn arwyddo heddwch, ac yn Salem y mae y tabernacl, yn Salem y mae trigfa y Goruchaf. Mae efe yn preswylio yn nheml heddwch, ac ni âd efe ei breswylfod byth: bydd y saint yn cyfarfod am byth yn Salem, dinas heddwch. Torwyd ein heddwch gwreiddiol yn Eden, eithr sefydlwyd heddwch gwell ar Galfaria. Collwyd yr heddwch yn Eden trwy bechod, enillwyd ef drachefn ar Galfaria trwy roi iawn. Gogoniant! Maent yn dweyd fod yr asgwrn a dorwyd yn gryfach yn y clwm nag oedd cyn ei dori. Beth bynag, os ydym wedi ein cymodi â Duw yn ngwaed Iesu Grist, yr ydym yn fwy dyogel nag erioed. Diolch; y mae hi yn gwella. Yr ydym yn well yn Nghrist nag yr oeddym yn Adda cyn y cwymp; mae mwy o sicrwydd sefyll. Ië, y mae yma berffaith sicrwydd na chawn syrthio byth mwyach. Y mae hwn yn heddwch cyfamod tragywyddol, yn heddwch gwaed Cyfryngwr y Testament Newydd; mae yn rhy ddrud i'w golli.

"Ni chollwyd gwaed y groes,
  Erioed am ddim i'r llawr;
Ddyoddefwyd angau loes
  Heb ryw ddybenion mawr:
A dyna oedd ei amcan ef,
Ein dwyn o'r byd i deyrnas nef."

Chwychwi y bobl annuwiol sydd yn fy ngwrando, cofiwch nad yw yr heddwch hwn ddim yn perthyn i chwi; nid oes

genych hawl iddo. "Nid oes heddwch, medd fy Nuw, i'r annuwiol," ac ni bydd heddwch ychwaith; dim ond melldith a digofaint yn oes oesoedd. O diangfa, diangfa! Yr ydych chwi heb santeiddrwydd, ac y mae yn anmhosibl i'r ansantaidd fod mewn heddwch â'r Duw santaidd. Mae heddwch Duw bob amser yn achosi rhyfel â phechod. Y rhai sydd mewn heddwch â'u pechodau sydd mewn rhyfel â'u Barnwr. Nid marw i dawelu eich cydwybodau yn unig a wnaeth yr Arglwydd Iesu, ond hefyd i godi eich eneidiau i fuchedd newydd o gyfiawnder. Nid yn unig eich rhyddhau oddiwrth ganlyniadau tragywyddol eich pechodau, ond hefyd oddiwrth eu harglwyddiaeth a'u llygredigaeth. Os nad yw "gwaed Iesu Grist yn eich glanhau," nid oes genych "heddwch tuag at Dduw," eithr rhyfel cyson yn ei erbyn ef. Mae yr Arglwydd o angenrheidrwydd yn cyhoeddi rhyfel yn eich erbyn chwithau hefyd: y mae yn hogi ei gleddyf dysglaer yn barod i'ch cyfarfod. Fe allai fod Duw yn gwarchae dy ddinas yr awr hon, a thithau yn dawel o fewn, heb ystyried fod un perygl o dy gwmpas. Nid yw *batteries* y gelyn yn rhuo o flaen y ddinas fe allai, eto y mae efe yn gweithio yn ddystaw o dani, i'r dyben o'i chwythu i fyny yn ganddryll ar unwaith. Fe allai, bechadur, nad yw magnelau yr Hollalluog yn rhuo yn dy erbyn heddyw, eto y mae efe yn gweithio yn ddystaw o danat, a bydd dy gwymp o'r diwedd yn ofnadwy o fawr. Bechaduriaid, "cymoder chwi â Duw." Teyrnwialen heddwch sydd yn estynedig yma heddyw, ac nid y cleddyf niweidiol, ac arfau angeuol rhyfel. Teflwch i lawr arfau gwrthryfel, a phlygwch yn ostyngedig ger bron Duw yr heddwch; yr ydych yn sicr o gael trugaredd, er maint eich beiau; eithr os na phlygwch yn nydd gras ger bron Duw yr heddwch, bydd rhaid eich dryllio fel llestri pridd o dan draed Duw digofus. O bechaduriaid, gadewch i mi erfyn unwaith eto "dros Grist, cymoder chwi â Duw."

Y mae rhai o honoch wedi derbyn y cymod trwy waed y cyfamod tragywyddol; bendithiwch y nefoedd am hyny, a gwnewch eich goreu i'w ddangos a'i egluro i'r byd. Diolch am heddwch wedi ei sefydlu ar dir da, ar seiliau na fydd yn siglo byth. Mae cyfamod, marwolaeth, gwaed, testament, llwon, ac addewidion yr Arglwydd Iesu yn golofnau cedyrn yn dal yr heddwch yn ddisigl. Gogoniant, dyma le "i bechadur wneyd ei nyth." "Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Os gellwch ddyddimu fy nghyfamod â'r dydd, a'm cyfamod â'r

nos, ac na byddo dydd na nos yn eu hamser; yna y dyddimir fy nghyfamod â Dafydd fy ngwas," Jer. xxxiii. 20, 21. Dewch yn y blaen; pwy o honoch all atal iddi ddyfod yn ddydd, neu yn nos? pwy all droi y dydd yn nos, a'r nos yn ddydd? Oferedd yw siarad; y mae hyn yn anmhosibl. Y mae yr un mor anmhosibl dyddimu y cyfamod rhwng Duw a'r credadyn gwanaf o fewn y muriau hyn. Y Nefoedd a'ch cynorthwyo i blygu i delerau heddwch yn nydd gras. Amen.

# PREGETH XI.

## PRESENOLDEB GRASOL DUW YN YR EGLWYS.

"Ac enw y ddinas o'r dydd hwnw allan fydd, Yr Arglwydd sydd yno, Ezec. xlviii. 35.

Y MAE y cyd-destunau yn cynwys desgrifiad godidog ac ardderchog o'r ddinas weledigaethol; eithr ei phrif ogoniant yw ei *henw;* "Ac enw y ddinas o'r dydd hwnw allan fydd, Yr Arglwydd sydd yno." Addewid yw y geiriau o bresenoldeb grasol yr Arglwydd gyda'i eglwys. Mae presenoldeb Duw yn ddeublyg; sef yn gyffredinol yn mhob lle, ac yn neillduol gyda'i eglwys. Duw yn mhob man, a Duw gyda'i bobl. Mae presenoldeb cyffredinol yr Arglwydd yn angenrheidrwydd natur; canys y mae yn rhaid, os oes Duw yn bod, ei fod yn mhob man. Mae ei bresenoldeb neillduol yn yr eglwys yn *unig*, yn ras ac ewyllys da. Mae ei bresenoldeb cyffredinol gyda phawb yn mhob man, y da a'r drwg hefyd: a chyda phob creadur, ar fôr, tir, awyr, nefoedd, daear, ac uffern. Bendith i'r eglwys yn unig yw ei bresenoldeb grasol. I'r eglwys yn unig y mae yr addewid o hyn, ac i'r eglwys yn unig y rhoddwyd hyn yn mhob oes o'r byd. "Ac enw y ddinas o'r dydd hwnw allan fydd, Yr Arglwydd sydd yno." Gwelodd Ioan yr Arglwydd Iesu "yn rhodio yn nghanol y saith canwyllbren aur; ac yn nghanol y saith ganwyllbren un tebyg i Fab y dyn, wedi ymwisgo â gwisg laes hyd ei draed, ac wedi ymwregysu yn nghylch ei fronau â gwregys aur," Dat. i. 13. Yr eglwys yw ei breswylfod cyson a neillduol ef ar y ddaear. Dyma y lle y mae yn caru rhodio; ynddi hi y mae *pleasure grounds* a *royal walks* y Brenin Alpha. Os ydych am gyfarfod â'r brenin, a siarad ag ef, deuwch i mewn i'r ddinas; canys o'i mewn hi ac o'i chwmpas y mae y rhodfeydd.

Yn gymaint a bod yr eglwys hyd yn hyn mewn sefyllfa ddeublyg, sef yn filwriaethus ac yn orfoleddus; y mae yr Arglwydd Iesu yn gweinyddu y presenoldeb grasol hwn yn ddeublyg, er cyfarfod â phob sefyllfa perthynol i'r eglwys. Mae efe yn mhlith y gwaredigion fry, yn nghanol caniadau gwresog y nefoedd; ac ar yr un pryd yn mysg y llu ag sydd yn ymladd ar y maes gwaedlyd. Bendigedig, y mae Cadben mawr ein hiachawdwriaeth yn nghanol ei fyddinoedd yn nydd y frwydr. Mae efe yn bresenol mewn gogoniant ac yn

bresenol mewn gras ar yr un pryd. *Present in glory, an. present in mercy also.* Gogoniant! Yn bresenol yn y nef, yn bresenol ar y ddaear; yn bresenol yn nghanol y caniadau fry, yn bresenol yn nghanol y tywallt dagrau ar y llawr; yn bresenol yn yr ystormydd cryfion, ac yn bresenol yn yr hafan ddymunol. Mae yn bresenol yn mhob man lle y byddoch chwithau. "Wele, yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd," Mat. xxviii. 20.

Ei holl-bresenoldeb yw enaid yr holl greadigaeth; felly y mae ei bresenoldeb grasol yn enaid y greadigaeth newydd. Yn ei holl-bresenoldeb y mae pawb a phob peth yn byw, yn symud, a bod, yn naturiol; ac yn ei bresenoldeb grasol yr ydym yn byw, yn symud, a bod, yn ysbrydol. Fel y mae y pysgod yn byw yn y dwfr, ac adar yn byw mewn awyr, felly mae pawb yn bodoli yn holl-bresenoldeb Duw; rhesymolion ac afresymolion, bywydolion ac anfywydolion, saint a phechaduriaid. Eithr y creadur newydd yn unig sydd yn byw, yn symud, a bod, yn ei bresenoldeb grasol. Holl-bresenoldeb sydd yn cynal ein bod naturiol, presenoldeb grasol sydd yn cynal ein bod ysbrydol. Mae holl-bresenoldeb yn llanw pob man. Presenoldeb cynorthwyol sydd yn llanw yr holl fydoedd, presenoldeb dialeddol sydd yn llanw uffern, presenoldeb dedwyddol sydd yn llanw y nefoedd, presenoldeb grasol, trugarog, a chynorthwyol sydd yn llanw yr eglwys ar y ddaear. Mae yn amlwg, fy nghyfeillion, fod y fath beth a phresenoldeb yr Arglwydd gyda'i eglwys yn y byd, a chyda phob aelod o honi yn bersonol.

1. Gwelwn fod yr Arglwydd ei hun yn hysbysu hyn: "Enw y ddinas o'r dydd hwnw allan fydd, Yr Arglwydd sydd yno." "Eithr ti, Israel, fy ngwas ydwyt ti, Jacob, yr hwn a etholais, had Abraham, fy anwylyd. Ti, yr hwn a gymerais o eithafoedd y ddaear, ac y'th elwais oddiwrth ei phendefigion, ac y dywedais wrthyt, Fy ngwas wyt ti; dewisais di, ac ni'th wrthodais. Nac ofna; canys yr ydwyf fi gyda thi: na lwfrha, canys myfi yw dy Dduw: cadarnhaf di, cynorthwyaf di hefyd, a chynaliaf di â deheulaw fy nghyfiawnder," Esay xli. 8, 9, 10.

2. Y mae y saint yn mhob oes wedi cydnabod presenoldeb Duw gyda hwynt, ac wedi priodoli eu pethau mawrion i hyny. Yr oedd yr Arglwydd gyda'r freniniaeth a ordeiniodd ac a roddodd i'w was Dafydd, ac mewn modd neillduol yn ei hamddiffyn; ac yr oedd y bobl hefyd yn cydnabod

presenoldeb Duw gyda'i osodiad, ac yn priodoli y llwydd iddo ef. "Y mae Arglwydd y lluoedd gyda ni; amddiffynfa i ni yw Duw Jacob," Sal. xlvi. 11. "Ac ofer ddynion, sef meibion y fall, a ymgasglasant ato ef, ac a ymgadarnhasant yn erbyn Rehoboam mab Solomon, pan oedd Rehoboam yn fachgen, ac yn wan ei galon, ac ni allai ymgadarnhau yn eu herbyn hwynt. Ac yn awr yr ydych chwi yn meddwl ymgadarnhau yn erbyn breniniaeth yr Arglwydd yr hon sydd yn llaw meibion Dafydd; ac yr ydych yn dyrfa fawr, a chyda chwi y mae y lloi aur a wnaeth Jeroboam yn dduwiau chwi. Ninau, yr Arglwydd yw ein Duw ni, ac nis gwrthodasom ef. Ac wele Duw sydd ben gyda ni, a'i offeiriaid ef ag udgyrn soniarus i udganu yn eich erbyn chwi. O feibion Israel, nac ymleddwch yn erbyn Arglwydd Dduw eich tadau, canys ni lwyddwch chwi," 2 Cron. xiii. 7, 8, 10.

3. Y mae yr addewidion yn cynwys presenoldeb grasol Duw, ac yn addaw hyny fel y prif ddaioni i'r eglwys. Os bydd Duw gyda chwi, fy nghyfeillion, ni waeth pwy fyddo yn eich erbyn. Chwi ewch trwy ddwfr a thân, chwi orchfygwch bob diafol a ddaw yn eich ffordd, a chwi sefwch yn y diwedd yn "fwy na choncwerwyr," "wedi gorphen pob peth." "Pan elych trwy y dyfroedd, myfi a fyddaf gyda thi; a thrwy yr afonydd, fel na lifant drosot: pan rodiech trwy y tân, ni'th losgir; ac ni enyn y fflam arnat. Canys myfi yw yr Arglwydd dy Dduw, Sant Israel dy Waredydd," Esay xliii. 2, 3.

4. Y mae presenoldeb grasol Duw wedi bod yn brif brofiad y saint yn mhob oes. Yr oedd Jacob yn ddyn profedigaethus y rhan fynychaf; yr ydoedd mewn sefyllfa brofedigaethus iawn yn myned i Haran, pan yn gorfod cysgu allan a charn o geryg o dan ei ben. Ond teimlodd bresenoldeb grasol yr Arglwydd mewn modd neillduol iawn yn gwneyd yr holl golledion i fyny, ïe, deng mil o weithiau yn fwy. "Ac efe a freuddwydiodd; ac wele ysgol yn sefyll ar y ddaear, a'i phen yn cyrhaeddyd i'r nefoedd: ac wele, angylion Duw yn dringo ac yn disgyn ar hyd-ddi. Ac wele yr Arglwydd yn sefyll arni: ac efe a ddywedodd, Myfi yw Arglwydd Dduw Abraham dy dad, a Duw Isaac; y tir yr wyt ti yn gorwedd arno, i ti y rhoddaf ef, ac i'th had. Ac wele fi gyda thi; a mi a'th gadwaf pa le bynag yr elych, ac a'th ddygaf drachefn i'r wlad hon: o herwydd ni'th adawaf hyd oni wnelwyf yr hyn a leferais wrthyt," Gen. xxviii. 13, 15.

Yr oedd ei dad yn gwgu arno, ond y mae Duw ei dad yn gwenu arno. Taflwyd Joseph i'r pydew gan ei frodyr, ac i'r carchar gan ei feistr; ond "yr oedd Duw gydag ef," Act. vii. 8. Nid oedd Abram, pan yn gadael gwlad ei enedigaeth, yn gwybod i ba le yr ydoedd yn myned; eithr fe wyddai gyda phwy yr oedd yn myned. Gadawodd y cwbl wrth orchymyn Duw; eithr cafodd yn Nuw fwy fil o weithiau nag a adawodd ar ol. "Nac ofna, Abram (ebe yr Arglwydd), myfi yw dy darian, dy wobr mawr iawn," Gen. xv. 1. Yr oedd presenoldeb grasol Duw gyda Moses a phlant Israel yn eu taith trwy yr anialwch, mewn arwyddion gweledig ac amlwg. Ymddangosodd yr Arglwydd i Moses mewn perth yn llosgi, er ei barotoi at y gwaith. "Ac angel yr Arglwydd a ymddangosodd iddo mewn fflam dân o ganol perth: ac efe a edrychodd, ac wele y berth yn llosgi yn dân, a'r berth heb ei difa. A dywedodd Moses, Mi a droaf yn awr, ac a edrychaf ar y weledigaeth fawr hon, paham nad yw y berth wedi llosgi? Pan welodd yr Arglwydd ei fod yn troi i edrych, Duw a alwodd arno o ganol y berth, ac a ddywedodd, Moses, Moses; a dywedodd yntau, Wele fi. Ac efe a ddywedodd, Na nesâ yma, dyosg dy esgidiau oddiam dy draed; o herwydd y lle yr wyt ti yn sefyll arno sydd ddaear santaidd. Ac efe a ddywedodd, Myfi yw Duw dy dad, Duw Abraham, Duw Isaac, Duw Jacob. A Moses a guddiodd ei wyneb, oblegyd ofni yr ydoedd edrych ar Dduw," Ex. iii. 2—6.

Bu Duw gydag Israel trwy holl daith yr anialwch, mewn colofn niwl a cholofn dân. "A'r Arglwydd oedd yn myned o'u blaen y dydd, mewn colofn niwl, i'w harwain ar y ffordd; a'r nos mewn colofn o dân, i oleuo iddynt: fel y gallent fyned ddydd a nos. Ni thynodd efe ymaith y golofn niwl y dydd, na'r golofn dân y nos o flaen y bobl," Ex. xiii. 21—22. Arweiniodd hwynt trwy y môr coch, a'r holl anialwch, i wlad yr addewid. Presenoldeb grasol Duw oedd yn cadw Dafydd rhag anobaith, pan yn cael ei erlid fel petris ar y mynyddoedd, 1 Sam. xxvi. 20. Y rheswm am ei ddiangfa rhag y fagl, a rhag yr helwyr medrus, oedd fod Duw gydag ef, i'w gadw, ei gyfarwyddo, a'i achub. Taflwyd Jeremiah i'r daeardy; eithr yr oedd Duw gydag ef, ac a'i gwaredodd "Yna y brenin Sedeciah a anfonodd, ac a'i cymerodd ef allan: a'r brenin a ofynodd iddo yn gyfrinachol yn ei dŷ ei hun, ac a ddywedodd, A oes gair oddiwrth yr Arglwydd? A dywedodd Jeremiah, Oes; canys tydi (eb efe) a roddir yn

llaw brenin Babilon," Jer. xxxvi. 17. Mae yn debygol mai yn y carchardy y buasai yn marw, ond fel yr oedd y Duw mawr yn gweithio ei ffordd oddiyno. Y mae Duw, chwi welwch, gyda'i bobl, pan fel petrisod yn ffoi yn y mynyddau, a chyda hwynt yn y dom yn y carchardai; bendigedig, y mae gyda hwynt yn mhob man. Fe fynai Daniel weddio, er fod pawb yn ei erbyn, ac er iddo gael ei rwygo yn llaprau gan lewod am hyny; ymlynai wrth yr Arglwydd mewn dyledswyddau, yn nghanol y peryglon mwyaf, ac y mae Duw Daniel yn glynu wrtho yntau mewn trugareddau, i'w gadw ac i'w waredu. Bwriwyd ef i ffau y llewod. "A ddyfethwyd ef?" Naddo; yr oedd eu safnau wedi eu rhwymo; yr oedd yr Arglwydd wedi rhoddi *muzzles* arnynt. "'Fy Nuw a anfonodd ei angel, ac a gauodd safnau y llewod, fel na wnaethant i mi niwed: o herwydd puredd a gaed ynof ger ei fron ef; ac hefyd ni wnaethum niwed o'th flaen dithau, frenin,' Dan. vi. 22. O frenin, y mae y llewod mawr yn gorwedd am draws eu gilydd, fel ŵyn bach; mewn ufudd-dod i'm Duw i, a'u Harglwydd hwythau. Efe a roddodd orchymyn iddynt, gan ddywedyd, 'Na chyffyrddwch a'm rhai eneiniog, ac na ddrygwch fy mhrophwydi,' Sal. cv. 15. Ac y maent wedi cadw y gorchymyn yn ddifai; maent yn berffaith ddiniwed."

Dywedwyd wrth y tri llanc, os na wnaent ymgrymu i'r ddelw, y caent eu llosgi yn fyw; eithr penderfynasant gymeryd eu llosgi, yn hytrach na phlygu i un duw ond Duw Israel. "Wel, chwi gewch eich llosgi yn ulw, os na phlygwch chwi i'r ddelw. Peidiwch a bod yn rhy sicr, cymerwch bwyll." "Wele, y mae ein Duw ni, yr hwn yr ydym yn ei addoli, yn abl i'n gwared ni allan o'r ffwrn danllyd boeth: ac efe a'n gwared ni o'th law di, O frenin. Ac onide bydded hysbys i ti, frenin, na addolwn dy dduwiau, ac nad ymgrymwn i'th ddelw aur a gyfodaist," Dan. iii. 17, 18. Bwriwyd hwynt i mewn i ganol y ffwrn, yr hon oedd wedi ei thwymno saith boethach nag arferol, eithr ni losgwyd blewyn o'u penau. Llosgwyd eu gelynion wrth geisio eu llosgi hwynt; yr oedd genau y ffwrn yn rhy boeth heb Dduw, ond gyda Duw yr oedd *canol* y ffwrn yn dymherus. Mae y tri wŷr wedi myned yn bedwar; y tri rhwym yn bedwar rhyddion; yn lle tri wedi eu llosgi yn ulw, dacw bedwar yn fyw ac yn iach yn rhodio yn nghanol y tân. "Onid tri wŷr a fwriasom i ganol y tân yn rhwym? Wele fi yn gweled pedwar gwŷr rhyddion yn rhodio yn nghanol y tân, ac nid oes niwed arnynt; a dull y

pedwerydd sydd debyg i Fab Duw." Gogoniant! Yr oedd yr "Arglwydd yno." Llosgodd y tân eu rhwymau, ond nid eu personau; ïe, ni losgodd eu dillad, ac nid oedd sawyr y tân arnynt. Yr oedd y pedwerydd gyda hwynt; Creawdwr a Llywodraethwr y tân a'r cwbl.

Nid oes gan ddynion fawr i wneyd drosoch pan yr aiff yn gyfyng arnoch; eithr os bydd gyda chwi Dduw, chwi wnewch yn burion hebddynt. Yr oedd dynion wedi gadael yr apostol Paul, pan yn sefyll ei brawf, ac yn ei gyfyngderau mwyaf. "Yn fy ateb cyntaf ni safodd neb gyda mi, eithr pawb a'm gadawsant: eithr yr Arglwydd a safodd gyda mi, ac a'm nerthodd, fel trwof fi y byddai y pregethiad yn llawn hysbys, ac y clywai yr holl genedloedd: a mi a waredwyd o enau y llew," 2 Tim. vii. 16, 17. Nid yn unig ni chewch help gan ddynion yn eich cyfyngderau, ond bydd dynion fe allai yn gwneyd eu goreu i'ch dinystrio; ac os na cheidw Duw chwi, byddwch yn ysglyfaeth i ddynion yn fynych. "Yn cael ein herlid" gan ddynion, "ond heb ein llwyr adael" gan Dduw; "yn cael ein bwrw i lawr, eithr heb ein dyfetha." "Gan gylch-arwain yn y corph bob amser farweiddiad yr Arglwydd Iesu, fel yr eglurer hefyd fywyd Iesu yn ein corph ni. Gan wybod y bydd i'r hwn a gyfododd yr Arglwydd Iesu, ein cyfodi ninau hefyd trwy Iesu, a'n gosod ger bron gyda chwi," 2 Cor. iv. 9. Mae yr Arglwydd yn preswylio gyda'i bobl i'w bendithio. "Yr Arglwydd sydd yno" i fendithio, pe na byddai ond dau neu dri; ïe, pe na byddai ond un dyn duwiol. Mae efe yn addaw bod gydag Isaac yn mhob man i'w fendithio. "A'r Arglwydd a ymddangosodd iddo y noson hono, ac a ddywedodd, Myfi yw Duw Abraham dy dad di: nac ofna; canys byddaf gyda thi, ac a'th fendithiaf, ac a luosogaf dy had er mwyn Abraham fy ngwas," Gen. xxvi. 24. Mae Duw Abraham yn byw yn gyson yn y ddinas, fel y galloch ddyfod ato bob amser: "Yr Arglwydd sydd yno."

1. Y mae "yr Arglwydd yno" yn barod i wrando eich gweddiau. Nid "yno" fel Edrychydd yn unig, eithr "yno" fel Cynorthwyydd hefyd. Mae yn wrandawr gweddi, y mae yn derbyn deisebau, ac yn siarad â'r gwaelaf o'r dinasyddion. Mae efe *yno* yn wastad i wrando dy gri, a dy gynorthwyo yn dy holl gyfyngderau. Bendigedig! "Pa genedl mor fawr a'r hon y mae Duw iddi yn nesâu ati, fel yr Arglwydd ein Duw ni, yn mhob dim a'r y galwom arno?" Deut. iv. 7. Mae yr Arglwydd yn y ddinas i wrando eich *petisiynau*, ac i

edrych ar ol eich holl amgylchiadau tymhorol, ysbrydol, a thragywyddol. A oes gyda chwi rywbeth, fy nghyfeillion, ag eisiau rhoddi o'i flaen? Deuwch yn y blaen bob dydd, ïe, dengwaith yn y dydd, os mynwch chwi; mae efe yn sicr o fod gartref yn y ddinas; oblegyd "enw y ddinas o'r dydd hwnw allan fydd, Yr Arglwydd *sydd* yno." Mae yn anhawdd iawn i ddyn tlawd i gael ffordd at freninoedd y ddaear; ac y maent o gartref yn fynych yn y *balls*, y *masquerades*, y *bull-fights*, a phob melldith; yn ddibris am gyrph ac eneidiau y dinasyddion. Ond y mae ein Duw ni yn wastad gartref yn y ddinas. Dyma lle y mae ei *fusnes* ef, fel Duw trugarog a grasol; mae yn wastad yn eistedd ar orseddfainc y gras; wedi "ymddyrchafu i dosturio, i godi y tlawd o'r llwch, a'r angenus o'r domen." "Ac am hyny y dysgwyl yr Arglwydd i drugarhau wrthych, ïe, am hyny yr ymddyrchafa i dosturio wrthych; canys Duw cyfiawnder yw yr Arglwydd: gwyn eu byd y rhai oll a ddysgwyliant wrtho. Canys y bobl a drig yn Sïon o fewn Jerusalem: gan wylo nid wyli; gan drugarhau efe a drugarha wrthyt; wrth lef dy waedd, pan ei clywo, efe a'th ateb di," Esay xxx. 18, 19. "A hyn yw yr hyfder sydd genym tuag ato ef, ei fod ef yn ein gwrando ni, os gofynwn ddim yn ol ei ewyllys ef," 1 Ioan v. 14.

2. Y mae yr "Arglwydd yno" i ddarpar ac arolygu pob angenrheidiau. Mae efe yn cadw gwyliadwriaeth fanwl ar holl angenion y dinasyddion. Efe sydd yn gofalu am y tlawd, y cystuddiedig, yr hen, a'r methedig, yn eu holl angenion presenol a dyfodol. Cerddwch ato, fy nghyfeillion, mae digon i gael; ac nid hyny yn unig, y mae pob parodrwydd hefyd i gyfranu. "Tad y trugareddau" yw Llywydd y ddinas. Mae *exchequer* Llywydd y ddinas yn llawn; ac nid yn unig y *mae* yn llawn, ond hefyd hi *fydd* yn llawn pan y byddo holl freninoedd y ddaear wedi myned yn *fankrupts*. O diolch! y mae ganddo ddigon o "borfeydd gwelltog" i'w ddefaid pan y mae y ddaear yn llosgi: ni bydd eisiau arnynt. "Ti a arlwyi ford ger ein bron yn ngwydd ein gwrthwynebwyr." Os nad yw yn bosibl cael angenrheidiau mewn llwybr cyffredin, fe fynir, ac fe'u danfonir trwy lwybrau annghyffredin. Danfonodd yr Arglwydd cyn hyn fara a chig ddwy waith yn y dydd, yn mhig y gigfran i Elias y prophwyd. Yr oedd yn ddigon rhyfedd, onid oedd, a'r cigfrain mor chwanog i gig eu hunain, i'r hen brophwyd gael tamaid? Mae yn rhyfedd na fuasent yn ei fwyta ar y ffordd; ond eu

Creawdwr a'u gorchymynodd, ac y mae ei awdurdod ef yn safadwy yn mhob man, ac ar bob peth. Dywedodd yr Arglwydd wrth Elias, "O'r afon yr yfi; a mi a berais i'r cigfrain dy borthi di yno. Felly efe a aeth, ac a wnaeth yn ol gair yr Arglwydd: canys efe a aeth ac a arosodd wrth afon Cerith, yr hon sydd ar gyfer yr Iorddonen. A'r cigfrain a ddygent iddo fara a chig y boreu, a bara a chig y prydnawn: ac efe a yfai o'r afon," 1 Bren. xvii. 4—6. Fe wna yr Arglwydd ffyrdd newyddion i'ch cynal, fy nghyfeillion, os bydd yr hen ffyrdd wedi eu cau i fyny. Nid oes neb yn gwybod o ba le yr oedd y cigfrain yn cael y bara a'r cig; fe allai mai ar fwrdd Jezebel, hen elyn Elias, canys y mae ein Duw ni yn caru gwneyd ffyliaid o'i elynion weithiau: beth bynag, nid yw yn bwys yn y byd pa le yr oeddynt hwy yn ei gael, ond i Elias gael ei borthi. Mae gan ein Duw ni gelloedd yn mhob man, yn llawn o bob angenrheidiau. Ond i chwi rodio yn berffaith, "ni bydd arnoch eisiau dim daioni." *Cupboard* mawr ein Duw ni yn yr anialwch oedd y cymylau; oddiyno yr oedd efe yn rhoddi lluniaeth allan i'r miloedd bob dydd, "A meibion Israel a fwytasant y manna ddeugain mlynedd. nes eu dyfod i dir cyfaneddol," Ex. xvii. 35. Y graig oedd y seler; oddiyno y "pistyllodd dwfr, ac y llifodd afonydd. Ac ni sychedasant pan arweiniodd hwynt yn yr anialwch: gwnaeth i ddwfr bistyllo iddynt o'r graig: holltodd y graig hefyd, a'r dwfr a ddylifodd;" Sal. lxxviii. 20; Esay xlviii. 21.

3. "Yr Arglwydd sydd yno" i gadw ac amddiffyn ei bobl rhag gofidiau. Ni chewch fwy o ofidiau nag sydd eisiau arnoch; chwi gewch hyny, a dim ychwaneg. "Duw sydd yn ei chanol; nid ysgog hi; Duw a'i cynorthwya yn foreu iawn." "Duw a'u dyg hwynt allan o'r Aipht: megys nerth unicorn sydd iddo. Canys nid oes swyn yn erbyn Jacob, na dewiniaeth yn erbyn Israel: yr Arglwydd ei Dduw sydd gydag ef, ac y mae udgorn-floedd brenin yn eu mysg hwynt." "Canys yr wyf fi gyda thi, ac ni esyd neb arnat, i wneuthur niwed i ti;" Sal. xlvi. 5; Num. xxiii. 20; Act. xviii. 10. Yr ydym yn nghanol drygau a pheryglon aneirif, a byddem yn eu gafael yn ddiau oni bai fod Duw gyda ni yn ngoruchwyliaethau ei ragluniaeth a'i ras.

4. "Yr Arglwydd sydd yno" i gynorthwyo i ddal o dan helbulon. Os nad yw efe yn gweled yn oreu i'ch gwared oddiwrthynt, efe a wna yn sicr eich cynal o danynt. Mae efe yn gweled aflwyddiant weithiau yn well er eich lles na

llwyddiant, carchar yn well na phalas, caethiwed yn well na rhyddid, clefyd yn well na iechyd, tlodi yn well na chyfoeth, ac erledigaethau yn well nag esmwythder. Mae efe yn ei weled yn well rai prydiau i roddi cysuron lawer i'r annuwiol, a chystuddiau a gofidiau lawer i'r saint. Bydd cnawd yn gofyn uwch ben hyn yn aml, "Os yw Duw yn eu caru, pa fodd y mae efe yn goddef eu cystuddio?" Syrthiodd Gideon, a llawer un gydag ef o bryd i bryd, i'r brofedigaeth hon. "A Gideon a ddywedodd wrtho, O fy Arglwydd, od yw yr Arglwydd gyda ni, paham y dygwyddodd hyn oll i ni? a pha le y mae ei holl ryfeddodau ef y rhai a fynegodd ein tadau i ni, gan ddywedyd, Oni ddyg yr Arglwydd ni i fyny o'r Aipht? Ond yn awr yr Arglwydd a'n gwrthododd ni, ac a'n rhoddodd ni i law y Midianiaid," Barn. vi. 13. Yr oedd Gideon, fel llawer eraill, wedi myned i feddwl fod presenoldeb drwg, ac aflwyddiant, yn annghydweddol â phresenoldeb Duw. Yr oedd Gideon yn filwr da, ond yn dduwinydd canolig.

Nid yw y presenoldeb dwyfol yn ein cadw rhag ystormydd bob amser, eithr yn ein cadw yn eu canol yn fynych. "Dy noddfa yw Duw tragywyddol, ac odditanodd y mae y breichiau tragywyddol: efe a wthia dy elyn o'th flaen, ac a ddywed, Dyfetha ef." "Nac ofna; cynys yr ydwyf fi gyda thi: na lwfrha, canys myfi yw dy Dduw; cadarnhaf di, a chynorthwyaf di hefyd, a chynaliaf di â deheulaw fy nghyfiawnder." "Eto yr ydwyf yn wastad gyda thi: ymaflaist yn fy llaw ddeheu;" Deut. xxxiii. 27; Esay xlii. 10; Sal. lxxiii. 23. Y mae Duw yn bresenol gyda ni i ymaflyd ynom pan mewn peryglon; ïe, cymeryd gafael ynom â'i ddeheulaw. Mae efe yn rhoddi deheulaw cymdeithas i ni mewn gorthrymderau, yn ymaflyd yn ein deheulaw yn arwyddo heddwch, ac yn sicrhau cynorthwy. Mae yn fraint annhraethol, ac yn ddyogelwch tragywyddol i gael ymaflyd yn neheulaw y Goruchaf. "Nis gall neb eu dwyn hwynt allan o law fy Nhad i," ebe Crist. "Y rhai trwy allu Duw ydych gadwedig trwy ffydd i iachawdwriaeth, parod i'w datguddio yn yr amser diweddaf;" Ioan x. 39; 1 Pedr i. 5. Nac ofnwch, y mae Duw gyda chwi yn ei hollalluogrwydd i'ch cadw rhag pob niwed. Y mae efe yn "haul a tharian" i chwi. Yn haul i'ch goleuo yn y ffordd, ac yn darian i'ch amddiffyn rhag eich gelynion. Mae efe "yn fur o dân o amgylch, ac yn ogoniant yn y canol." Yr Arglwydd sydd yn gwneyd yr addewid hon i gyfarfod â'n hofnau yn nghylch dau beth; sef y peryglon oddiallan i'r

ddinas, a'r gwarthrudd o'i mewn. "Nac ofna y peryglon oddiallan, ni thyr neb byth i mewn; 'mi a fyddaf yn fur o dân o'i hamgylch.' Nac ofna dlodi a gwarth tu mewnol ychwaith; mi a fyddaf 'yn ogoniant yn ei chanol.' Nid mur o dân yn eich erbyn chwi, cofiwch, ond mur o dân yn erbyn eich gelynion, ac yn amddiffynfa i chwi. Mi a fyddaf yn fur tanllyd rhyngoch a'ch holl elynion." Fe gaiff y mur tanllyd eich cadw chwi yn gynes o fewn y ddinas, a llosgi eich gelynion oddiallan. Mae y mur *oddiamgylch*, nid oes bwlch yn un man. Pwy all fyned dan sail y mur? Mae yn ddyfnach nag uffern. Pwy all fyned dros ei phen? Mae yn uwch na'r nefoedd.

Mae presenoldeb grasol yr Arglwydd gyda'i ordinhadau yn ogoniant yn ei chanol. Dyma lys y Jehofah ar y ddaear. Bendigedig am le yn ei dŷ, ac yn mhlith ei blant. Maent yn dweyd bod teithwyr yn y gwledydd lle y mae creaduriaid ysglyfaethus, yn cyneu tân yn y nos i'w cadw hwynt draw. Ni a wyddom, fy nghyfeillion, fod tân Duw yn gyru yr anifeiliaid rheibus ymaith; nis gallant ei oddef: ond pan y mae eglwys Dduw dan gwmwl, y maent yn dyfod yn eon i ganol y ddinas. Mae meddwdod, godineb, rhyfyg, eonder, cryfder cnawdol, a *chartiaeth* ysbrydol yn cario pob peth o'u blaen. Presenoldeb grasol Duw sydd yn cuddio ei saint, a'u hamddiffyn rhag yr holl bethau hyn. "Cuddi hwynt yn nirgelfa dy wyneb rhag balchder dynion; cuddi hwynt mewn pabell rhag cynen tafodau," Sal. xxxi. 20. Mae gan Dduw ddirgelfan yn y ddinas i guddio, ac y mae ei wyneb, ei bresenoldeb grasol, yn llewyrchu yno yn wastad. Mae eich cysuron tu mewnol a'ch grym ysbrydol yn ddirgelwch i bawb ond i Dduw a chwi eich hunain; ac y mae eich ymguddfa yn Nuw yn beth nad ydyw y byd wedi ei ddirnad. Mae y saint yn nghudd pan yr ydych chwi yn eu gweled yn fwyaf agored i beryglon a digofaint dynion y byd. Nis gall eu gelynion gyffwrdd â hwynt ond trwy ganiatad yr Arglwydd. Nis gallant eu boddi yn y dwfr, na'u llosgi yn y tân. Er eu bod yn ymddangosiadol yn nwylaw dynion drwg a chythreuliaid uffern, eto nis gallant eu drygu. Mae y pwnc hwn, fy nghyfeillion, yn dyrysu synwyrau y cythreuliaid.

Pan y goddefodd yr Arglwydd i'r gelynion gymeryd bywydau y saint ymaith, braidd yr oeddynt yn teimlo eu dyoddefiadau, gan mor gryf oedd eu cysuron. Mae efe yn cuddio eu penau yn nydd y frwydr: y mae y penau yn ddyogel, er

fod y sodlau wedi eu hysigo. Diolch! Er fod y corph yn dyoddef, mae y gydwybod yn iach; yn rhydd oddiwrth euogrwydd. Dywedir am yr eryr nad yw hi fel y mae adar eraill, yn cario y cywion yn yr ewinedd, ond ar ei hadenydd, ac yn eu cuddio yn ei phlyf, fel y bydd yn rhaid i bwy bynag a'u saetho, ei saethu hi yn gyntaf. "Chwi a welsoch (ebe yr Arglwydd) yr hyn a wnaethum i'r Aiphtiaid; y modd y codais chwi ar adenydd eryrod, ac y'ch dygais ataf fy hun," Ex. xix. 4. Y mae yn rhaid i'r gelynion saethu trwy Dduw tragywyddoldeb cyn y gallont byth ddinystrio yr eglwys. Fe ddichon fod y diafol yn agos, yn rhodio oddiamgylch; eithr y mae yr Arglwydd yn agosach, er amddiffyn a dyogelu. "Yr Arglwydd sydd yno." Daeth satan mor agos at Job nes gallu myned â'r eidionau o'r beudai, y defaid o'r corlanau, a'r holl anifeiliaid oddiar y maesydd; yn nes na hyny, y plant o'r fynwes. Ond yr oedd yr "hoedl" yn rhy ddirgeledig a chysegredig i'r cythraul ei hunan allu gosod ei law arno. Mae y bywyd wedi ei *insurio.* Bendigedig! *The cargo is safe; it is insured in heaven; the company will never fail.* Beth bynag y mae yn bosibl i satan ein difeddianu o hono, y mae yn rhaid iddo adael yr einioes; canys y mae Duw Hollalluog yn sefyll rhyngddo a hyny; ac y mae ei bresenoldeb ef yn rhy ofnadwy i satan ddyfod yn agos iawn. Fe allodd roddi "swmbwl yn nghnawd" yr apostol Paul, ond ni allasai byth ddifeddianu ei enaid o ras y nef. Wel, fy nghyfeillion, nid rhaid i chwi wylo llawer, oblegyd os cawn ni gadw yr einioes ni ganwn yn oes oesoedd wedi colli y byd. Gall satan eich poeni, ond nid eich dinystrio; gall eich gofidio, ond nis gall rhwystro eich cymundeb â'r nefoedd mwy nag y gall dyn rwystro yr haul i dywynu ar y ddaear, trwy ddal ei law yn ei erbyn i daflu ei belydrau yn ol. Y mae mor hawdd i chwi droi Duw o'r nefoedd a'i droi allan o'r eglwys, a'i rwystro i amddiffyn y credadyn gwanaf sydd yn ymddiried yn ei enw. Nid oes yr un gallu ar y ddaear nac yn uffern a all ei ddiorseddu o'i eglwys, ac o'r galon edifeiriol "sydd yn crynu wrth ei air."

5. "Yr Arglwydd sydd yno" i gydymdeimlo â ni yn ein gofidiau. "Er fod yr Arglwydd yn uchel," y mae ganddo deimlad tyner tuag atom yn ein holl dywydd garw. Ië, y mae gan Dduw mewn cnawd wybodaeth brofiadol o'n gwendidau, ein cystuddiau, ein profedigaethau, a'n holl ofidiau. "Canys nid oes i ni Arch-offeiriad heb fedru cyd-ddyoddef

gyda'n gwendid ni, ond wedi ei demtio yn mhob peth yr un ffunud â ninau, eto heb bechod," Heb. iv. 15. Y mae efe yn gofidio pan y gofidier hwynt; ïe, pan y gwneir cam â hwynt y mae efe yn teimlo fel pe cyffyrddid â "chanwyll ei lygad." "Canys fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Ar ol y gogoniant y'm hanfonwyd at y cenedloedd, y rhai a'ch ysbeiliasant chwi: canys a gyffyrddo â chwi sydd yn cyffwrdd â chanwyll ei lygad ef," Zech. ii. 8. Gochelwch chwareu â chanwyll llygad y Duw mawr, canys ni all oddef hyny yn hir iawn. Mae y gair "cyffwrdd â chanwyll ei lygad," yn arwyddo mai y man tyneraf ar Dduw yw ei bobl, a bod cyffwrdd â'u teimladau hwy yn gyffyrddiad â theimladau tyner eu Duw; am hyny nid hwynt-hwy yn unig yr ydych yn eu poeni, ond hefyd eu "Tad yr hwn sydd yn y nefoedd," yr hwn sydd â gallu i'ch lladd mewn moment, a gosod eich rhan gyda'r anffyddloniaid. "Yn eu holl gystudd hwynt efe a gystuddiwyd, ac angel ei gynnrychioldeb a'u hachubodd hwynt; yn ei gariad, ac yn ei drugaredd y gwaredodd efe hwynt: efe a'u dygodd hwynt, ac a'u harweiniodd yr holl ddyddiau gynt," Esay lxiii. 8.

Pan oedd Saul yn y weithred o erlid y saint tlodion ar y ddaear y gofynodd Iesu Grist iddo, "Saul, Saul, paham yr ydwyt yn fy erlid i?" Act. xxvi. 14. "Yr wyf fi, Saul, er fy mod yn y nefoedd yn awr, yn teimlo dy holl fflangellau, dy regfeydd, dy garcharau, dy greulonderau; mae y cwbl yn syrthio arnaf fi fel arnynt hwythau. Mae pob ergyd ag yr ydwyt wedi ei roddi iddynt hwy wedi fy nghlwyfo inau hefyd." Mae gweled y saint yn cael eu cystuddio gan fyd dialeddus yn poeni calon y Goruchaf. Mae efe yn gofalu am ei blant *bob* amser, ond yn enwedigol yn eu cystuddiau a'u profedigaethau. Mae y morwr yn ofalus yn *wastad* am y llong; eithr y mae yn fwy gofalus a phryderus o lawer yn ei chylch pan y mae yn nghanol ystormydd cryfion, a thywydd garw ar y fordaith. Mae y plant yn wrthddrychau gofal y tad a'r fam bob dydd, a phob un o honynt ar ei ben ei hun; ond pan y byddo un o honynt mewn cystudd gallech feddwl fod holl ofal y rhieni yn canolbwyntio yn hwnw. Mae eich Tad nefol yn cydymdeimlo â chwi yn wastadol, ac yn fwy felly pan y byddoch mewn cystuddiau a phrofedigaethau mawrion. "Yr Arglwydd sydd yno," yn barod i wrando eich cri, a'ch cynorthwyo. Nid yw efe yn myned o gartref byth, a'ch gadael chwi yn amddifaid; y mae ei ofal gymaint

am danoch fel y mae bob amser yn ei le yn barod i'ch cynorthwyo. "Yr Arglwydd sydd yno." "Galw arnaf fi yn nydd trallod; myfi a'th waredaf."

6. "Yr Arglwydd sydd yno" i ddysgu a chyfarwyddo. Y mae ceryddon a dysgeidiaeth yn myned law yn llaw yn gyffredin. Ceryddon llaw Duw a chyfarwyddiadau ei Ysbryd ydynt efeilliaid. "Pwy a edwyn nerth dy soriant? canys fel y mae dy ofn y mae dy ddigter. Dysg i ni felly gyfrif ein dyddiau, fel y dygom ein calon i ddoethineb," xc. 11, 12. Mae llawer o wersi yn cael eu dysgu yn amser adfyd sydd yn anmhosibl eu dysgu un amser arall. Yr ydym yn debyg i fechgyn drygionus ac ysgolheigion diofal, yn pallu dysgu dim ond tra fyddo y wialen ar y cefn o hyd. "Dywedais wrthyt pan oedd esmwyth arnat; tithau a ddywedaist, Ni wrandawaf: dyma dy arfer o'th ieuenctyd, na wrandewaist ar fy llais," Jer. xxii. 21. Mae yr Arglwydd yn "llefaru unwaith, ïe, ddwywaith, ond ni ddeall dyn." Yn amser llwyddiant a hawddfyd y mae yn anhawdd peri i ddyn ddeall dim am grefydd, gweddio, darllen y Bibl, a chael blas ar ordinhadau yr efengyl. "Ni ddeall dyn" y pryd hwn. Eithr yn amser adfyd yn fynych "y mae efe yn agor clustiau dynion, ac yn selio addysg iddynt." Mae yn curo gwersi i mewn i benau a chalonau ei bobl â'r wialen geryddol. Dysgodd Gedeon wersi i wŷr Succoth trwy eu curo â drain a mieri nes dryllio eu cnawd, Barn. viii. 7. Felly y mae yr Arglwydd yn dysgu ei bobl trwy gystuddiau; yn eu chwipio â drain a mieri nes dryllio y cnawd, er mwyn cadw yr ysbryd mewn iechyd. Bydd yr Arglwydd yn gorfod ein *stripio* yn noethlymyn weithiau, i'n fflangellu ar y croen noeth, fel y byddis yn gwneyd â phlant drwg; "fel byddo yr ysbryd yn gadwedig." Diolch, am y chwip, y drain, y mieri, y dail surion, dyfroedd Marah, tlodi, cystuddiau, a'r cwbl, ond i'r enaid gael ei wella trwyddynt, a'i gymhwyso i fwynhau tragywyddoldeb diddiwedd o ddedwyddwch. O, y fath wirioneddau gogoneddus mae y saint yn eu dysgu o dan wialen cystudd. Byddant yn ysgolheigion perffaith yn y man, ac yn gwybod pa fodd i ymddwyn yn weddus yn mhlith yr angylion yn ngwlad y gogoniant. Bendigedig! ni bydd cywilydd ar Dduw eich gweled yn yr un *class* a Gabriel. Nid yw pechod un amser mor chwerw, na thrugaredd un amser mor felus, ag yn amser adfyd a chystudd. O mor wag yw y creadur y pryd hwn, ac mor felus yw y Creawdwr!

7. "Yr Arglwydd sydd yno" i'ch cysuro. Yr ydym yn cael mwy o gysur o'r nefoedd pan y mae mwyaf o gystuddiau ar y ddaear. Yn wyneb fod helbulon yn cynyddu, ac fel pe byddai y ddaear yn gwgu ac yn dangos y digofaint mwyaf, y pryd hwnw y bydd yr Arglwydd yn amlygu fwyaf o'i gariad a'i drugaredd, a'r pryd hwnw hefyd y gwerthfawrogir ef fwyaf gan yr enaid. Cerddwch i'r ddinas, fy nghyfeillion, am gysur a thangnefedd yn eich holl ofidiau; "yr Arglwydd sydd yno," yr hwn yn unig all eich dyddanu. Y tywydd garwaf oddiallan yw y tywydd goreu oddifewn yn aml. Pan y byddo y beichiau yn drwm ar yr ysgwyddau, a heddwch yn llon'd y galon, y mae yr ysgwyddau y pryd hwnw yn ddigon cryf i gario y beichiau. "A thangnefedd Duw, yr hwn sydd uwchlaw pob deall, a geidw eich calonau a'ch meddyliau yn Nghrist Iesu," Phil. iv. 7.

Yr ydys yn rhoddi *cordials* i gleifion; felly y mae yr Arglwydd yn gweinyddu y cysuron gloywaf i'w bobl yn eu gofidiau mwyaf. Mae ganddo ei "win a'i laeth," er llawenhau calon dyn, a magu nerth ynddo i deithio yn y blaen heb lwfrhau. Mae ganddo "ddwfr y bywyd a phiol iachawdwriaeth" i'w cysuro. Yr oedd yr Arglwydd gyda Paul pan y cam-gyhuddid ef gan ei elynion; ac yn sibrwd ar y pryd yn ei glust, "Paul, cymer gysur; canys megys y tystiolaethaist am danaf fi yn Jerusalem, felly y mae yn rhaid i ti dystiolaethu yn Rhufain hefyd," Act. xxiii. 11. Y mae presenoldeb grasol Duw, fy nghyfeillion, nid yn unig yn melusu cystuddiau chwerwon, ond hefyd yn gwneyd y galon i edrych ar angau, er ei holl dduwch, yn ddiberygl. Bendigedig! "Pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angau, nid ofnaf niwed: canys yr wyt ti gyda mi, dy wialen a'th ffon a'm cysurant," Sal. xxiii. 4. Os ydyw Duw yn ymweled â chwi â gwialen weithiau, y mae fel gwialen Aaron, yn llawn blodau; ac fel gwialen Jonathan, wedi "gwlychu ei blaen yn nil y mel." "Ti yw Duw fy nerth; paham y'm bwri ymaith? paham yr âf yn alarus trwy orthrymder y gelyn? Anfon dy oleuni a'th wirionedd; tywysant hwy fi; ac arweiniant fi i fynydd dy santeiddrwydd, ac i'th bebyll. Yna yr âf at allor Duw, at Dduw hyfrydwch fy ngorfoledd; a mi a'th folianaf ar y delyn, o Dduw, fy Nuw," Sal. xliii. 2, 3, 4.

8. "Yr Arglwydd sydd yno" i'n cynorthwyo i wneyd a dyoddef pa beth bynag sydd yn ddyledswydd arnom. Os

bydd efe yn gweled cystudd yn angenrheidiol, y mae efe yno i roddi nerth cyfatebol iddynt. Os nad yw efe yn gweled yn dda eich gwaredu o honynt, efe a rydd ddigon o rym i ymgynal o danynt. Nid yw o bwys yn y byd pa un ai symud y baich a wna, neu ynte nerthu y cefn i ymgynal o dano. Os yw y wialen ar ein cefnau, y mae genym ffyn yn ein dwylaw i ymgynal wrthynt. "Y dydd y llefais y'm gwrandewaist; ac a'm cadarnheaist â nerth yn fy enaid," Sal. cxxxviii. 3. Bydd dynion yn gwneyd eu goreu i gystuddio yn aml; eithr y mae yr Arglwydd yn cynal ac yn cynorthwyo. Mae cythreuliaid yn ymuno â dynion dryg-ionus yn fynych, i geisio suddo y saint tlodion o dan y dwfr i'w boddi; ond y mae y breichiau tragywyddol odditanynt yn eu dal i'r lan. Nis gellir eu lladd, canys "yr Arglwydd sydd yno."

9. "Yr Arglwydd sydd yno" i'w harwain. "A'th gynghor y'm harweini, ac wedi hyny y'm cymeri i ogoniant. Pwy sydd genyf fi yn y nefoedd ond tydi? ac ni ewyllysiais ar y ddaear neb gyda thydi," Sal. xxxvii. 24, 25. Presenoldeb grasol Duw oedd y golofn yn yr anialwch. "A'r Arglwydd oedd yn myned o'u blaen hwynt y dydd mewn colofn niwl, i'w harwain ar y ffordd; a'r nos mewn colofn dân, i oleuo iddynt: fel y gallent fyned ddydd a nos. Ac a'u harweiniaist hwy liw dydd mewn colofn gwmwl, a lliw nos mewn colofn dân, i oleuo iddynt trwy y ffordd yr oeddynt yn myned ar hyd-ddi;" Ex. xiii. 21; Neh. ix. 12. Presenoldeb grasol Duw oedd arch y cyfamod; yr hon oedd yn myned o flaen y bobl i'w harwain. "Pan weloch chwi arch cyfamod yr Arglwydd eich Duw, a'r offeiriaid y Lefiaid yn ei dwyn hi; yna cychwynwch chwi o'ch lle; ac ewch ar ei hol hi. Eto bydded encyd rhyngoch chwi a hithau yn nghylch dwy fil o gufyddau wrth fesur: na nesewch ati, fel y gwypoch y ffordd y rhodioch ynddi: canys ni thramwyasoch y ffordd hon o'r blaen," Jos. iii. 3, 4. Arch Duw yn myned o'n blaen ninau yn unig a wna ein taith yn llwyddianus trwy anialwch y byd hwn; a'n mynedfa trwy yr Iorddonen ddofn yn ddyogel. Bendigedig, y mae arch Duw yn sefyll yn nghanol yr Iorddonen, i fynu gweled chwareu teg i'r llesgaf yn y llwythau. "A'r offeiriaid, y rhai oedd yn dwyn yr arch, a safasant yn nghanol yr Iorddonen, nes gorphen pob peth a orchymynasai yr Arglwydd i Josuah ei lefaru wrth y bobl, yn ol yr hyn oll a orchymynasai Moses wrth Josuah:

a'r bobl a frysiasant ac a aethant drosodd. A phan ddarfu i'r holl bobl fyned drosodd, yna arch yr Arglwydd a aeth drosodd, a'r offeiriaid, yn ngwydd y bobl," Jos. iv. 10, 11. O y fath fraint annhraethol yw bod o dan arweiniad anffaeledig y Duw unig ddoeth. Er nad oes arwyddion gweledig yn awr fel ag yr oedd gynt, eto y mae efe yn arwain ei bobl trwy ei air a'i Ysbryd. Y mae y gair yn "llusern" yn eu dwylaw i'w goleuo yn y ffyrdd tywyll. Pan nad oes "haul na ser yn ymddangos" yn eu llewyrch ar ein daear ni, y mae goleu clir yn ngair yr Arglwydd. "Llusern yw dy air i'm traed, a llewyrch i'm llwybrau," Sal. cxix. 105.

Yn fynych bydd yr Arglwydd yn arwain trwy ei ragluniaeth. Fe fydd yn murio i fyny bob ffordd, ac yn gadael un yn unig yn agored. Mae pob ffordd yn dywyll fel y fagddu, ac un yn unig yn oleu o'u blaen; yr hyn sydd yn tynu pob amheuaeth o'r meddwl am uniondeb y llwybr; canys hon yn unig sydd yn agored, hon yn unig yw llwybr dyledswydd, gan hyny hon yn unig yw ffordd rhagluniaeth Duw. Pan yr ydym fel hyn yn gweled ein ffordd yn glir, yr ydym yn gysurus, er fod y ffordd yn ymddangos yn beryglus. Mae amheuon ac ofnau yn nghylch y ffordd yn fwy gofidus na pheryglon *yn* y ffordd. Unwaith yr ydym yn benderfynol beth yw ewyllys yr Arglwydd, bydd yn hawdd i ni ymddiried ynddo am gymhorth i gyfarfod â pha bethau bynag a'n cyferfydd yn y ffordd hon. Os ydym yn gwneuthur ei ewyllys, y mae dyoddef yn dyfod yn hawdd. Os cyfarfyddwch â llewod yn ffordd eich dyledswyddau, bendithiwch Dduw am mai yno yr ydych yn eu cyfarfod; byddai yn ofnadwy eu cyfarfod yn un man arall. "Yr Arglwydd sydd yno" i'ch cyfarwyddo, am hyny chwi ewch yn y blaen yn fuddugoliaethus.

10. "Yr Arglwydd sydd yno" i'ch santeiddio. Os dygwydd i blentyn droseddu pan y byddo y tad o gartref, gall ddianc cerydd; eithr os bydd y tad gartref, y mae yn debyg iawn o gael ei fflangellu. Os ydych gartref gyda'ch Tad, a'ch Tad gyda chwithau, fy nghyfeillion, yr ydych yn sicr o gael eich ceryddu am eich beiau. Eithr os nad ydych yn preswylio yn y ddinas, ond yn crwydro yn annuwiol ar hyd y byd llygredig, fe allai y diangwch am dro. "Yr Arglwydd sydd yno" i edrych ar ol y plant a'u cadw mewn trefn weddus; eu glanhau a'u puro, a'u parotoi i gymdeithas y

saint a'r angylion; ïe, Duw ei hunan. Os ydym yn troseddu yn erbyn Duw, a'i ddigio, y mae yn sicr o'n ceryddu, ond fel Tad, yn ol natur y bai, ac "wrth fesur," nid yn ol nwydau. Nid i ddial llid fel y mae llawer o dadau a mamau; eithr i wella oddiwrth y bai, ac i "buro iddo ei hun." "A darawodd efe ef fel y tarawodd y rhai a'i tarawsai ef? a laddwyd ef fel lladdfa ei laddedigion ef? Wrth fesur, pan êl allan, yr ymddadleu ag ef: y mae yn atal ei wynt garw ar ddydd dwyrein-wynt. Am hyny, trwy hyn y glanheir anwiredd Jacob; a dyma yr holl ffrwyth, tynu ymaith ei bechod: pan wnelo efe holl geryg yr allor fel ceryg calch briwedig; ni saif y llwyni na'r delwau," Esay xxvii. 7, 8, 9.

Y mae llawer iawn o lygredigaethau yn nglŷn â ni; llawer o rwd a llawer o ûs; am hyny y mae yn rhaid i'n Tad nefol ddefnyddio moddion geirwon yn fynych iawn i'r dyben o'n puro oddiwrth y cwbl. Mae yn rhaid cael y *dross* oddiwrth yr aur; pe na byddai *dross*, ni byddai eisiau eich tynu trwy y tân; pe na baech yn aflan, ni byddai eisiau eich tynu trwy y dwfr; pe na byddai rhwd arnoch, ni byddai eisiau y durlif (*file*); pe na byddai ûs, ni byddai eisiau y ffust a'r wyntyll; pe na byddai dim ffolineb yn nglŷn â chwi, ni byddai eisiau y wialen. Eithr gan fod *dross* yn gymysg â chwi, y mae yn rhaid i'ch Tad dwymno y ffwrn, a'ch bwrw i mewn i'ch toddi, er mwyn eich gwahanu oddiwrth y sothach, a'ch gwneyd yn fetel pur. "Wele, yn mlaen yr âf, ond nid ydyw efe yno; yn ol hefyd, ond ni fedraf ei ganfod ef. Ar y llaw aswy, lle y mae efe yn gweithio, ond ni fedraf ei weled. Ond efe a edwyn fy ffordd i: wedi iddo fy mhrofi, myfi a ddeuaf allan fel aur. Fy nhroed a ddylynodd ei gerddediad ef: cedwais ei ffyrdd ef, ac ni ŵyrais," Job. xxiii. 8—10. Os nad ydwyt yn medru ei ganfod, fy nghyfaill, rai gweithiau, pan yn y ffyrnau poethion, eto "yr Arglwydd sydd yno" yn gwylied yr oruchwyliaeth yn fanol. "Ni'th losgir." Bendigedig. Puro a glanhau sydd yn yr amcan grasol, ac nid dyfetha. Rho dy ofal i dy Dad nefol; canys er dy fod yn methu ei weled yn glir ar y pryd, eto y mae efe yn sicr o fod yno. "Ond pwy a oddef ddydd ei ddyfodiad ef? a phwy a saif pan ymddangoso efe? Canys y mae efe fel tân y toddydd, ac fel sebon y golchyddion. Ac efe a eistedd fel purwr a glanhawr arian: ac efe a bura feibion Lefi, ac a'u coetha hwynt fel aur ac fel arian, fel y byddont yn offrymu i'r Arglwydd offrwm mewn cyfiawnder," Mal. iii. 2, 3. "Yr Argl-

wydd sydd yno" wrth enau y ffwrn, yn gwylied y fetel bob moment; ni chei fwy o dân nag sydd yn eisiau i dy gael di a dy sothach oddiwrth eich gilydd. Yr wyf yn teimlo awydd y fynyd hon i ddiolch am y tân, er yn boeth, os ydyw yn fy mhuro oddiwrth fy sothach. Diolch am y dyfroedd dyfnion, ond iddynt fy ngolchi oddiwrth fy aflendid. Diolch am y dur-lif, er yn arw, ond iddi ddur-lifo y rhwd oddiarnaf am byth. Diolch am y ffust a'r wyntyll, ond iddynt wahanu yr ûs a'r gwenith oddiwrth eu gilydd.

Mae y garddwr yn defnyddio *pruning-knife* i dori ymaith y cangenau gwylltion, fel y byddo i'r pren ddwyn mwy o ffrwyth, a gwell ffrwyth. Mae eich Tad nefol, fy nghyfeillion, yn trin y gorchwyl hwn ei hunan; ni wna ymddiried y gwaith hwn i neb arall; rhag, wrth dori y cangenau, gwneyd cam â'r pren. Y "Tad yw y llafurwr. Pob cangen ynof fi heb ddwyn ffrwyth y mae efe yn ei thynu ymaith: a phob un a ddygo ffrwyth, y mae efe yn ei glanhau, fel y dygo fwy o ffrwyth," Ioan xv. 1, 2. Y mae *pruning-knife* cystudd yn llaw ein Tad, yn tori i lawr gangenau gwylltion a diffrwyth, ac yna mae y ffrwyth yn dyfod yn "santeiddrwydd, a'r diwedd yn fywyd tragywyddol." Diolch am gystudd; "Canys cyn fy nghystuddio yr oeddwn yn cyfeiliorni, ond yn awr cedwais dy air di. Da yw i mi fy nghystuddio; fel y dysgwn dy ddeddfau," Sal. cxix. 67, 71. Mae yr Arglwydd fel y meddyg yn gyru y *probe* i waelod y clwyf, i gael y drwg allan yn llwyr. Mae yn wir fod yr oruchwyliaeth yn dost, ond eto y mae yn angenrheidiol er iechydwriaeth. Pe gadewid i'r clwyf gau i fyny, a'r drwg yn y gwaelod, byddai yn llawer gwaeth eto yn mhen ychydig, ac yn anwelladwy; gwell yw i'r clwyfus ddyoddef yn awr oruchwyliaeth briodol am ychydig, na gorfod dyoddef am weddill yr oes boen cyson oddiwrth glwyfau anwelladwy. Gadewch i Dduw drin eich clwyfau, fy nghyfeillion, peidiwch a grwgnach, ymlonyddwch o dan law Duw: os ydyw yr oruchwyliaeth yn chwerw, y mae yn iachus; os yw y *probe* yn boenus, y mae yn esmwythder rhagllaw. "Y diwedd yn fywyd tragywyddol." Diolch. Diolchwch am y cwbl, fy nghyfeillion. Am y *probe*, i gyrhaedd gwaelod y clwyf; am y wialen, i guro ymaith y ffolineb ag sydd yn rhwym yn ein calonau; am sebon y golchyddion, am dân y toddydd, i gymeryd ymaith ein haflendid a'n hanmhuredd; am y *file*, i *filio* ymaith y rhwd; am y *pruning-knife*, i ysgythru y cangenau diffrwyth; am y ffust a'r wyntyll, i

gymeryd ymaith yr ûs; bendigedig am y cwbl, ond ein glanhau a'n puro i Dduw. Mae yn gysur mawr i ni feddwl fod yr "Arglwydd ei hun yno," i edrych ar y goruchwyliaethau mawrion hyn.

Yn olaf. "Yr Arglwydd sydd yno" i waredu ei bobl o'u holl ofidiau. Mae efe nid yn unig gyda hwynt i'w cysuro a'u cynorthwyo, ond hefyd i'w gwared am byth allan o bob trueni yn y diwedd. "Peraist i ddynion farchogaeth ar ein penau; aethom trwy y tân a'r dwfr: a thi a'n dygaist i le diwall," Sal. lvi. 12. Nid yn unig y mae yn eu cadw rhag llosgi yn y tân, rhag boddi yn y dwfr, a rhag cael niwed mewn peryglon, eithr yn eu gwared hwynt yn llwyr ac am byth allan o'u holl orthrymderau. Lle bynag y mae y credadyn, yr Arglwydd hefyd sydd yno i'w wared o'i gyfyngderau. Dinas yr Arglwydd yw y carchar os bydd y saint yno; y mae efe gyda'i eglwys yn mhob man i'w gwaredu. Beth oedd y berth yn llosgi yn dân? Yr eglwys. Pa le yr oedd Duw pan oedd yr eglwys yn nghanol y tân? Yr oedd efe yn nghanol yr eglwys, o ganlyniad yn nghanol y tân hefyd, am hyny yr oedd y berth heb losgi; nid oedd yn bosibl ei difa, yr oedd yr Arglwydd gyda hwy, i'w gwaredu o'u holl orthrymderau. Bendigedig! "Ac angel yr Arglwydd a ymddangosodd iddo mewn fflam dân o ganol perth: ac efe a edrychodd, ac wele y berth yn llosgi yn dân, a'r berth heb ei difa. A dywedodd Moses, Mi a droaf yn awr, ac a edrychaf ar y weledigaeth fawr hon, paham nad yw y berth wedi llosgi. Pan welodd yr Arglwydd ei fod ef yn troi i edrych, Duw a alwodd arno o ganol y berth, ac a ddywedodd, Moses, Moses; a dywedodd yntau, Wele fi." Am fod Duw yn nghanol y berth yr ydoedd heb losgi. Gogoniant! y mae efe yn nghanol ei bobl yn bresenol, yn eu holl gystuddiau a'u treialon. Mae yn nghanol y berth, yn nghanol y tân, yn ei chadw rhag ei llosgi yn ulw. Ac yn fuan y mae yn rhoddi gwaredigaeth lwyr o'r Aipht, trwy law Moses. Wedi cadw yn hir yn nghanol y tân rhag llosgi, y mae o'r diwedd yn gwaredu yn llwyr o'r tân.

Bydd yr Arglwydd weithiau yn gwaredu oddiwrth dreialon a cholledion personol yn y byd hwn, ac yn adferu yn ol y cysur a gollwyd yn yr amddifadrwydd o honynt, gyda llawer ychwaneg. "Yna yr Arglwydd a ddychwelodd gaethiwed Job, pan weddiodd efe dros ei gyfeillion: a'r Arglwydd a chwanegasai yr hyn oll fuasai gan Job yn ddau ddyblyg.

Yna ei holl geraint, a'i holl garesau, a phawb oll o'i gydnabod ef o'r blaen, a ddaethant ato, ac a fwytasant fwyd gydag ef yn ei dŷ; ac a gwynasant iddo, ac a'i cysurasant ef am yr holl ddrwg a ddygasai yr Arglwydd arno ef, a hwy a roddasant iddo bob un ddarn o arian, a phob un dlws o aur. Felly yr Arglwydd a fendithiodd diwedd Job yn fwy na'i ddechreuad," Job xlii. 10—13. Chwi welwch fod yr Arglwydd yn defnyddio llawer ffordd i achub a chysuro ei bobl. Gadewch iddo gymeryd ei ffordd ei hun; y mae cael ein gwaredu yn rhyw ffordd yn ddigon i ni. Arch drefnwyd i achub Noah. "Ond â thi y cadarnhaf fy nghyfamod, ac i'r arch yr âi di, tydi a'th feibion, a'th wraig, a gwragedd dy feibion gyda thi," Gen. vi. 18. Dinas fechan Soar oedd dyogelwch Lot. "Brysia dianc yno." Ogof oedd dinas noddfa y prophwydi yn wyneb creulondeb Jezebel. "Canys pan ddystrywiodd Jezebel brophwydi yr Arglwydd, Obadiah a gymerodd gant o brophwydi, ac a'u cuddiodd hwynt bob yn ddeg a deugain mewn ogof, ac a'u porthodd hwynt â bara ac â dwfr," 1 Bren. xviii. 4. Yr oedd gwaredigaeth Moses mewn darparu *nurse* i'w gipio o'r dwfr a'i fagu i Dduw. "Merch Pharaoh a ddaeth i waered i'r afon i ymolchi, a hi a ganfu y cawell yn nghanol yr hesg, ac a anfonodd ei llawforwyn i'w gyrchu ef. Ac wedi iddi ei agoryd, hi a ganfu y bachgen; ac wele y plentyn yn wylo: a hi a dosturiodd wrtho, ac a ddywedodd, Un o blant yr Hebreaid yw hwn," Ex. ii. 5. Bol y pysgodyn oedd arch a dinas noddfa Jonah. "A'r Arglwydd a ddarparodd bysgodyn mawr i lyncu Jonah. A llefarodd yr Arglwydd wrth y pysgodyn, ac efe a fwriodd Jonah i dir sych." Taflodd cyfiawnder ef dros y bwrdd i'r môr, a darparodd drugaredd bysgodyn i'w fwrw o'r môr drachefn i dir sych. Gwaredwyd Paul, a'r rhai oedd gydag ef yn y llong, "rhai ar ystyllod, ac eraill ar ryw ddrylliau o'r llong. Ac felly dygwyddodd ddyfod o bawb i dir yn ddiangol," Act. xxvii. 44.

Y mae yr Arglwydd yn sicr o ffeindio moddion i gario ei amcanion anfeidrol allan. Mae y moddion hyny yn amrywiol, ac yn annysgwyliadwy yn fynych; ïe, y mae yn defnyddio moddion gweinion i waredu ei saint allan o beryglon mawrion. Mae yn agor y môr coch, ac yn troi yr Iorddonen yn ol, ddim ond codi gwialen arnynt; a dyna "ffordd i'r gwaredigion fyned trosodd." Y mae efe yn gosod gelynion yr eglwys i ymladd â'u gilydd weithiau, a thra y maent hwy

yn ymladd, mae y saint tlodion yn cael eu gwaredu o'u dwylaw. Felly y gwaredodd efe Israel o law y Midianiaid; efe a osododd gleddyf un yn erbyn y llall, a thrwy hyny a achubodd Gideon a'i ychydig wŷr. Mae efe yn troi y gwynt a'r môr, y rhai er ys ychydig oedd yn gryf yn erbyn yr eglwys, yn awr o'i thu. Mae efe yn toddi calon Esau gelyniaethus tuag at Jacob, ac yn lle ei ddyfetha y mae yn ei gofleidio; yn ei gusanu, ac nid ei drywanu â chleddyf. "Ac Esau a redodd i'w gyfarfod, ac a'i cofleidiodd ef, ac a syrthiodd ar ei wddf ef, ac a'i cusanodd ef: a hwy a wylasant," Gen. xxxiii. 4. Y mae yn sychu y diluw, nes y mae yr arch yn gorphwys ar dir sych.

Os na wared efe yn fuan rhag gofidiau, efe a wna y gofidiau eu hunain yn foddion gwaredigaeth o'r diwedd. Yr wyf yn cofio darllen am ryw un yn amser Mari waedlyd, pan ydoedd yn cael ei arwain o'r carchar tua'r ystanc, dygwyddodd iddo yn rhyw fodd dori ei glin; felly gadawyd ef yn y carchar eilwaith hyd nes y buasai ei glin yn gwella; ond yn y cyfamser, rhwng tori y glin a'r gwellhad, bu farw Mari. Aeth y dyddiau gwaedlyd heibio gyda hi, ac yn lle arwain y dyn at yr ystanc, gollyngwyd ef yn rhydd i ddychwelyd at ei deulu ac at ei bobl. Torwyd y glin, chwi welwch, i achub y bywyd. Os dygwydd i'r saint farw mewn profedigaethau, bydd profedigaethau felly yn foddion achubiaeth; canys bydd marwolaeth y corph yn fywyd i'r enaid. Presenoldeb holl-ddigonol yw presenoldeb grasol yr Arglwydd gyda'i eglwys. Mae y Drindod santaidd, yn un Duw bendigedig, yn bresenol i gyfarfod ag angenion pob enaid sydd yn credu yr efengyl. Mae gras ein Harglwydd Iesu Grist, cariad y Tad, a chymdeithas yr Ysbryd Glân i aros gyda ni yn oes oesoedd.

Y mae yn rhaid i ni wrth bresenoldeb y tri Pherson bendigedig, yn eu gwahanol swyddogaethau, er ein gwneyd yn ddiwall. Os cawn ni un, yr ydym yn sicr o gael y cwbl; os cawn ras Crist, bydd cariad y Tad yn sicr o fod gyda ni, a chymdeithas yr Ysbryd Glân hefyd. "Na thralloder eich calon: yr ydych yn credu yn Nuw, credwch ynof finau hefyd." "Yr Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrtho, Os câr neb fi, efe a geidw fy ngair; a'm Tad a'i câr yntau, a nyni a ddeuwn ato, ac a wnawn ein trigfa gydag ef." "Nid chwi a'm dewisasoch i, ond myfi a'ch dewisais chwi, ac a'ch ordeiniais chwi, fel yr elech ac y dygech ffrwyth, ac yr arosai

eich ffrwyth; megys pa beth bynag a ofynoch gan y Tad yn fy enw i, y rhoddo efe i chwi." "Mi a weddiaf ar y Tad, ac efe a rydd i chwi Ddyddanydd arall, fel yr aroso gyda chwi yn dragywyddol," Ioan xiv. 1, 23; xv. 16; xiv. 16. Cyfaill yw Crist sydd yn gweddio drosoch, chwi welwch; a'r cyfeillion goreu yw y rhai sydd yn gweddio drosom. Gweddi yr Arglwydd Iesu yn y fan hyn yw, am i chwi gael cwmpeini yr Ysbryd Glân gyda chwi yn dragywyddol. Dywedaf finau, Amen, felly y byddo. "Nid wyf am i'r Ysbryd Glân ddyfod atoch fel pererin dros noson, ond i aros gyda chwi yn dragywyddol. Pan y daethum i fy hun i'r byd, dyfod i gwblhau amcan mawr y brynedigaeth a wnaethum, a dychwelyd i dŷ fy Nhad. Eithr yr wyf yn gweddio am i'r Ysbryd Glân gael aros gyda chwi yn dragywyddol, nes y "byddo y llesgaf yn y llwythau fel Dafydd, a thŷ Dafydd fel angel Duw.'"

1. Mae Duw oll yn oll gyda'r eglwys oll. "Ac Arglwydd y tangnefedd ei hun a roddo i chwi dangnefedd yn wastadol yn mhob modd: yr Arglwydd fyddo gyda chwi oll," 2 Thes. iii. 16. "Yn mhob modd:" mewn corph ac enaid. "A gwir Dduw y tangnefedd a'ch santeiddio yn gwbl oll; a chadwer eich ysbryd oll, a'ch enaid, a'ch corph, yn ddiargyhoedd yn nyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist," 1 Thes. v. 23. "A'r Arglwydd Iesu Grist fyddo gyda'th ysbryd di. Gras fyddo gyda chwi. Amen." 2 Tim. iv. 22. Mae yr oll o Dduw ar gyfer gwneyd pob angen i fyny ag sydd yn eich cyrph ac yn eich eneidiau. Y mae efe nid yn unig gyda'r eglwys yn gyffredinol ac yn gynulleidfaol, ond hefyd gyda phob aelod yn neillduol, ar ei ben ei hun, pa mor wael bynag y byddo ei sefyllfa. Gweddiwch am i'r Duw mawr beidio tynu yn ol ei bresenoldeb grasol, a chilio oddiwrthym, a'n gadael i drengu yn ein pechodau. Y peth mwyaf ofnadwy y gallwn gyfarfod byth yw colli presenoldeb grasol Duw. Pe bai efe yn tynu yn ol ei bresenoldeb cynorthwyol i'r byd yn gyffredinol, byddai yn farwolaeth naturiol i bob peth yn uniongyrchol; felly, pan y bydd efe yn tynu yn ol ei bresenoldeb ysbrydol a grasol oddiwrth yr eglwys, mae marwolaeth ysbrydol yn dyfod i mewn yn y man. "Oblegyd ynddo ef yr ydym yn byw, yn symud, ac yn bod," Act. xvii. 28. Fel yr ydym yn byw, yn symud, ac yn bod, yn ei bresenoldeb cyffredinol, yn naturiol yn ein perthynas â'r byd hwn, felly yr ydym yn byw, yn symud, a bod yn ysbrydol, neillduol, a grasol. Yr Arglwydd sydd yn rhoddi bywyd, symudiad, a

bod i bob peth ysbrydol yn ei bresenoldeb grasol. Ac unwaith y tynir y presenoldeb hwn yn ol, marwolaeth ysbrydol a thragywyddol yw y canlyniad.

2. Y mae yr Arglwydd yn bresenol yn ngweithrediad ei holl briodoliaethau. "Yr Arglwydd sydd yno" i'ch cyfarfod yn eich holl angenion. Mae yr Arglwydd yno yn ei drugaredd i gyfarfod â'n holl drueni; yn ei hollalluogrwydd, i gyfarfod â'n gwendidau; yn ei holl-bresenoldeb, i gyflenwi ein holl ddiffygiadau, ac mewn cyfleusdra i'n cynorthwyo. Nid Duw yn mhell ydyw, ond Duw yn agos, Duw wrth law, Duw yn bresenol, yn barod i ymddangos mewn moment, yn y naill briodoledd fel y llall. Y mae yr Arglwydd yno yn ei holl briodoliaethau; yn nghanol ei eglwys, yn barod i wneuthur lles iddi, a dyrchafu ei ogoniant ei hun trwy hyny. "Ydwyf yr hyn ydwyf," medd yr Arglwydd. Mae hyn yn ddigon ar gyfer y byd hwn, a'r byd a ddaw. Yn y ddinas y mae trueni dyn a thrugaredd Duw, annheilyngdod dyn a theilyngdod Duw, gwendid dyn a nerth Duw, eisiau dyn a holl-ddigonoldeb Duw, yn cyfarfod â'u gilydd, ac yn myned i gytundeb am byth.

3. Mae cymhwysder yn mhresenoldeb grasol Duw i'n holl amgylchiadau. Beth sydd yn fwy cymhwys mewn brwydr na helm? Beth mor gymhwys mewn tywyllwch a goleu? Beth sydd mor gymhwys mewn ystorm a chysgod? Beth sydd yn fwy cymhwys yn ddyogelwch rhag gelynion na thŵr cadarn? "Tŵr cadarn yw enw yr Arglwydd. "Haul a tharian yw yr Arglwydd Dduw; yr Arglwydd a rydd ras a gogoniant; ni atal efe ddim daioni oddiwrth y rhai a rodiant yn berffaith." Mae yr Arglwydd yn bresenol fel tad gyda'i blant, i dosturio wrthynt. "Fel y tosturia tad wrth ei blant, felly y tosturia yr Arglwydd wrth y rhai a'i hofnant ef," Sal. ciii. 13. Mae gyda hwynt fel tad i'w ceryddu os bydd eisiau. "Canys y neb y mae yr Arglwydd yn ei garu, y mae yn ei geryddu; ac yn fflangellu pob mab a dderbynio. Os goddefwch gerydd, y mae Duw yn ymddwyn tuag atoch megys tuag at feibion: canys pa fab sydd yr hwn nid yw ei dad yn ei geryddu?" Heb. xii. 6, 7. Mae gyda hwynt fel tad i'w dysgu i gerdded. "Pan oedd Israel yn fachgen, mi a'i cerais ef, ac a elwais fy mab o'r Aipht. Myfi hefyd a ddysgais i Ephraim gerdded, gan eu cymeryd erbyn eu breichiau," Hosea xi. 1, 3. Mae efe gyda hwynt i'w porthi,

a'u dysgu yn y ffordd. Mae efe gyda hwynt fel gwr gyda'i wraig. "Dy briod yw yr hwn a'th wnaeth." Mae efe gyda hwynt fel y mae cyfaill gyda chyfaill. Cyfaill Duw y galwyd Abraham; ac y mae efe yn "gyfaill a lŷn wrthyt yn well na brawd." Mae efe gyda hwynt fel bugail gyda'i braidd, fel cadben gyda'i fyddin, ac fel brenin gyda'i ddeiliaid. Mae efe gyda ni ac yn eiddo i ni bob amser; yn holl-ddigonol ac yn holl-bresenol i gyfarfod â'n holl angenion mawrion. Gogoniant! y mae y gwirioneddau hyn yn llawn mêl i fy enaid tlawd, ïe, yn felusach na'r mêl, ac yn llifo dros y llestri. Diolch, y mae fy llestr bach yn llawn; y mae gorfoledd yr iachawdwriaeth, fy nghyfeillion, yn gorlifo ambell waith. Mae bod Duw yn *bresenol*, ac yn eiddo i ni, yn gwneyd pob priodoledd arall yn anfeidrol werthfawr; oblegyd beth fuasem ni well o hollalluogrwydd, trugaredd, holl-ddigonoldeb, a'r cwbl yn mhell oddiwrthym pan yn nghanol ein cyfyngderau, neu heb fod yn eiddo i ni, er eu bod yn agos? Ond dyma Dduw trugarog, Duw ein nerth, Duw ein hiachawdwriaeth, yn ein hymyl bob amser, "yn edrych am le i drugarhau." Diolch! ein Duw ni ydyw hefyd. "Un corph sydd, ac un Ysbryd, megys ag y'ch galwyd yn un gobaith eich galwedigaeth. Un Duw a Thad oll, yr hwn sydd goruwch oll, a thrwy oll, ac ynoch oll," Eph. iv. 4, 6. Mae efe uwchlaw oll mewn bodolaeth a gogoniant, trwy oll mewn rhagluniaeth, ynoch oll trwy Ysbryd y gras. Mae eich cyrph yn demlau iddo. "Oni wyddoch chwi mai teml Dduw ydych, a bod Ysbryd Duw yn trigo ynoch?"

4. Trefn gras yw presenoldeb Duw gyda'i eglwys. Mae y presenoldeb hwn yn ffrwyth cyfamod tragywyddol, ac addewidion diamodol. Mae efe yn bresenol gyda *chreadur* yn *naturiol*, ond gyda *chredadyn* yn rasol a chadwedigol. Y mae yr undeb hwn â chredinwyr yn cael ei gydio mewn ailenedigaeth. Mae y cyntaf mewn creadigaeth, eithr hwn mewn iachawdwriaeth; ac y mae yr undeb yn cael ei barhau mewn santeiddhad. Y mae ei holl-bresenoldeb yn naturiol gyda dynoliaeth yn gyffredinol; y presenoldeb hwn yn benarglwyddiaethol, a chyda ei saint yn neillduol. "Canys megys y tyngais nad elai dyfroedd Noah mwy dros y ddaear, felly y tyngais na ddigiwn wrthyt, ac na'th geryddwn." "Ni saif neb o'th flaen di holl ddyddiau dy einioes: megys y bum gyda Moses y byddaf gyda thithau; ni'th adawaf, ac ni'th wrthodaf." "Canys efe a ddywedodd, Ni'th roddaf di

i fyny, ac ni'th lwyr adawaf chwaith;" Esay liv. 9; Jos. i. 5; Heb. xiii. 5. Dyma ras cyfamod ac addewidion grasol y Jehofah, fy nghyfeillion; canys yr oeddym yn haeddu pressenoldeb dialeddol, tanllyd, a digofus y Barnwr cyfiawn, yn gospedigaeth dragywyddol am ein pechodau. Ond bendigedig, dyma bresenoldeb grasol, tuag at ein cynorthwyo yn ein cyfyngderau, a'n hachub o'n holl ofidiau. Diolch! "Cyfamod tragywyddol a wnaeth efe â mi." Byddem yn crynu byth yn ngwydd presenoldeb yr Anfeidrol, oni bai fod gras wedi tymheru y cwbl i gyfateb amgylchiadau pechaduriaid. Mae yr un gras hefyd wedi tymheru fy enaid tlawd inau i fwynhau Duw grasol a goruchel. Bendigedig, am feddyliau tyner at yr Hollalluog, am duedd i'w fawrhau byth am ei ras anfeidrol.

5. Mae presenoldeb Duw yn barhaus yn ei eglwys. "Yr Arglwydd sydd yno." Yno y mae yn cartrefu, yno y mae ei *head quarters* yn y byd. "Ac wele, yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd. Amen," Mat. xxviii. 20. Cewch chwithau hefyd fod gyda minau y tu hwnt i ddiwedd y byd, i bob tragywyddoldeb. Ar ol i chwi golli eich golwg ar y lleuad a'r ser ag sydd yn eich goleuo ar hyd y ddaear hon, bydd haul wedi codi na fachlud byth, yr hwn a orddysgleiria y cwbl ag sydd mewn bod. Pan y bydd eich holl bydewau daearol wedi sychu yn llwyr. Mae y ffynon agorwyd ar Galfaria yn llifo o hyd. Mae yr afon sydd yn dyfod allan o "orseddfainc Duw a'r Oen" yn parhau fel y grisial yr ochr hwnt i'r diluw. Bendigedig; os collwn y creadur, y mae genym y Creawdwr. Ni gollwn ffryndiau, a pherthynasau, gwragedd, a phlant, yn y man, ond bendigedig, y mae genym Dduw a saif gyda ni yn y dwfr ac yn y tân bob amser, ac i dragywyddoldeb. Bydd y gwragedd yma wedi colli eu gwŷr cyn hir; eithr y mae eich priod, yr hwn a'ch gwnaeth, yn fyw. "Paham y dywedi Jacob, ac y lleferi Israel, Cuddiwyd fy ffordd oddiwrth yr Arglwydd, a'm barn a aeth heibio i'm Duw? Oni wyddost, oni chlywaist, na ddiffygia ac na flina Duw tragywyddoldeb, yr Arglwydd, Creawdwr cyrau y ddaear? ni ellir chwilio allan ei synwyr ef. Yr hwn a rydd nerth i'r diffygiol, ac a amlha gryfder i'r dirym. Canys yr ieuenctyd a ddiffygia ac a flina, a'r gwŷr ieuainc gan syrthio a syrthiant: eithr y rhai a obeithiant yn yr Arglwydd a adnewyddant eu nerth; ehedant fel eryrod, rhedant ac ni flinant, rhodiant ac ni ddiffygiant," Esay xl. 27—30. Yr Argl-

wydd, yr hwn sydd wedi bod yn "breswylfa i ni yn mhob cenedlaeth," fydd yn breswylfa i ni byth. Bendigedig am arweinydd cyfarwydd, canys y mae y byd hwn yn ddigon i ddyrysu un dyn, yn nghanol ei gyfnewidiadau, a'i droion gwyllt. Mae fy mhen yn mron *dotio* gyda Jacob; yn meddwl fod yr holl gwbl yn myned yn llong-ddrylliad. "Joseph nid yw fyw, a Simeon yntau nid yw fyw, a Benjamin a ddygech ymaith: yn fy erbyn i y mae hyn oll," Gen. xlii. 36. Dyma y byd yn myned yn ben-ben, y naill beth yn ymdreiglo am draws y llall, y dwfr a'r tân mewn ymrafael, y môr yn curo y creigydd, ac yn cadw *mwstwr* yn ddigon i syfrdanu y byd. Mae pen hen Jacob yn troi, ac y mae fy mhen inau yn troi yn aml ar ei ol, ac yn barod i waeddi yn aml, "Beth fydd diwedd y pethau hyn?" "Yn fy erbyn i y mae hyn oll." Ond, fy nghyfeillion, y mae presenoldeb grasol Duw yn tynu y *ddot* o'r pen, yn adferu y synwyrau i'w lle, ac yn rhoddi y creadur i eistedd wrth draed yr Iesu yn ei "ddillad ac yn ei iawn bwyll." Peidiwch edrych ar y tonau, onide yr ydych yn sicr o ddyrysu; edrychwch ar y tir, y bryniau sefydlog yr ochr draw i'r dwfr. "Y mae pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw; sef i'r rhai sydd wedi eu galw yn ol ei arfaeth ef," Rhuf. viii. 27. Diolch am angor i'r enaid, pan y byddo yr holl fyd yma yn dyrysu arnom, y gallwn ei thaflu i gymeryd "gafael ar yr hyn sydd o'r tu fewn i'r llen;" ac yna yr ydym "yn ddyogel ac yn sicr." Nid oes na dyogelwch na sicrwydd, fy nghyfeillion, mewn dim creadigol; ond yn llwyr i'r gwrthwyneb, peryglon ac ansicrwydd sydd yn ysgrifenedig ar bethau cryfaf a chadarnaf y greadigaeth. "Hwy a ddarfyddant;" fel gwisg y cyfnewidiant. Yr wyf yn meddwl y gwnawn lesmeirio cyn myned o'r fan yma, pe bawn heb le i obeithio fy mod yn ngafael rhyw beth a fydd gyda mi yn mhob tywydd yn y byd, yn nyfroedd dyfnion yr Iorddonen, yn nydd y farn ddiweddaf, ac i bob tragywyddoldeb. Bendigedig! yr wyf bron yn meddwl, fy nghyfeillion, na wnaf lesmeirio byth mwyach; fod Duw Hollalluog a minau wedi ymuno â'n gilydd; yr ydym yn *bartners and Co.* Gogoniant; dyma *firm* nad aiff byth yn *fankrupt.* Er fod miloedd o dlodion ynddi, y mae un yn ddigon cyfoethog i gadw *credit* y *company* nid yn unig am amser, ond am dragywyddoldeb. Fe fydd aur y cwmpeini hyn yn pasio pan y bydd aur breninoedd Lloegr yn ddim ond *counterfeits.* Aur

Calfaria, yr hwn sydd wedi ei buro trwy dân. Diolch, fe fydd yn loyw y tu hwnt i bydredd y bedd.

Wel, fy nghyfeillion, trowch oddiwrth y creadur at y Creawdwr, oddiwrth wendid at gryfder, oddiwrth dlodi at gyfoeth, oddiwrth siomedigaethau at gysuron cryfion, oddiwrth y ddaear at y nefoedd, oddiwrth ddynion at Dduw, oddiwrth ddim at bob peth. Ond i chwi wneyd hyn, bydd y pethau mawrion a thragywyddol yn eich gafael, beth bynag ddaw o'r lleill. Diolch. "Byw yw yr Arglwydd, mewn gwirionedd, mewn barn, ac mewn cyfiawnder: a'r cenedloedd a ymfendithiant ynddo; ïe, ynddo ef yr ymglodforant." "Eto enyd bach, a'r byd ni'm gwel mwy; eithr chwi a'm gwelwch; canys byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd," Jer. iv. 2; Ioan xiv. 19. Wel, fy anwyl gyfeillion, bydded y Duw hwn gyda chwithau byth ac yn dragywydd. Amen.

# PREGETH XII.

## RHAGRITH.

"Llefa â'th geg, nac arbed; dyrchafa dy lais fel udgorn, a mynega i'm pobl eu camwedd, a'u pechodau i dŷ Jacob. Eto beunydd y'm ceisiant, ac ewyllysiant wybod fy ffyrdd, fel cenedl a wnelai gyfiawnder, ac ni wrthodai farnedigaeth eu Duw; gofynant i mi farnedigaethau cyfiawnder, ewyllysiant nesâu at Dduw," Esay lviii. 1, 2.

Ni ymdrechwn wneyd ychydig sylwadau ar un athrawiaeth yn unig oddiwrth y geiriau hyn, yr hon sydd yn ymddangos yn eglur yn ngeiriau y testun; sef, Fod yn beth posibl i ddyn wneyd llawer o bethau gydag achos yr Arglwydd yn allanol, ac eto yn bwdr yn du fewnol: y galon yn ddrwg, er y gall y dyn gyflawni llawer iawn o weithredoedd da. Mae rhai yn gwneyd crefydd yn glogyn i guddio pechodau. Mae dillad cywilyddus o dan glogyn golygus yn aml. Pe tynid y clogyn ymaith, fe giliai y dyn rhagddo ei hun, byddai arno gywilydd weled ei lun a'i agwedd, ei ddillad budr a charpiog. Clogyn sidan i guddio gwisg arw, dyllog, ffiaidd, a bront. Fy nghyfeillion, cofiwch nad oes neb yn myned i'r farn yn ei glogyn; y mae pawb yn tynu ymaith y fantell cyn myned yno. Gellwch ymddangos yn y cwrdd, yn y cymun, ïe, yn mhob man yn y byd hwn yn eich clogynau, ond nid yn ngwydd Duw. Mae yn rhaid tynu ymprydio oddiam danoch, a thaflu prophwydo yn enw yr Iesu naill ochr; a bwrw allan gythreuliaid, a'r holl bethau cyffelyb. Pethau yr ochr allan, y wisg uchaf yw yr holl bethau hyn. Os na fydd crefydd yn ddyfnach na hyn, byddi yn colli y cwbl o dy grefydd cyn myned i wydd Duw.

Y mae rhai dynion yn gwneyd crefydd yn *horse block* i fyned ar gefn rhyw geffyl uchel, a marchogaeth dros benau pawb i ddystryw a cholledigaeth. Nid oes gan lawer un ffordd i ddyrchafu i ychydig o anrhydedd ond trwy grefydd, gan hyny yn defnyddio crefydd yn *step* dan eu traed er mwyn ei gyrhaeddyd. Gosod ordinhadau santaidd Duw dan draed i'r dyben o ymddyrchafu wrthynt, a phorthi cnawd a balchder. Maent fel y gwelwch y badwyr; yn rhwyfo un ffordd, ac yn edrych ffordd arall. Mae miloedd o grefyddwyr yr oes hon yn rhwyfo â rhwyf hunanoldeb tua'r nefoedd, ond yn edrych tua'r ddaear. Y traed yn cerdded i Soar gyda gwraig Lot, eithr y galon yn Sodom gyda y Sodomiaid. Yn gwasanaethu Duw â'r corph, ac yn gwasanaethu hunan â'r enaid

ar yr un pryd. Gwerthent Dduw am elw y byd hwn; felly hwy a'i wasanaethant ef am elw. Mae rhyw beth yn mhawb am ymwneyd â chrefydd, ond mae llawer yn troi crefydd i ddybenion drwg. Gwelwn yn—

1. Fod ymwneyd â chrefydd yn beth naturiol i ddyn. Y mae bod gyda rhyw grefydd, yn rhyw fodd, yn beth ag y mae y rhan fwyaf o ddynion y byd yn chwenych. Mae hyn yn natur: nid yn ail natur o herwydd arferiad, ond yn natur wreiddiol o herwydd creadigaeth. Fe fyn dyn addoli rhyw-beth, er y gŵyr fod ei addoliad yn annghywir ac yn dwyll-odrus. Mae goleu natur, goleu cydwybod, yn cydnabod bod Duw, yr hwn sydd Dad pob bod arall, achos yr holl achosion, ac mai gweddus yw addoli hwnw fel y cyfryw, pwy bynag ydyw. Nid ydyw cydwybod, fel y mae wedi ei darostwng trwy bechod, ac yn y tywyllwch, yn canfod y gwir Dduw, na'r gwir addoliad. Mae genym lawer o *Atheistiaid ymar-ferol;* y mae pob plwyf yn llawn o honynt; y maent yn byw fel pe na byddai un Duw, ond nid ydynt yn gallu gwadu Duw yn eu meddyliau. Mae argraff bod Duw yn y meddwl, er fod y meddwl wedi colli y parch priodol iddo; wedi colli, nid y gydwybod, ond santeiddrwydd y gydwybod, a phurdeb y galon. Mae llawer yn proffesu yr adwaenant Dduw, ac yn cofio am angau Iesu bob Pasg a phob Sulgwyn gyda'r cysondeb mwyaf, ac eto yn Atheistiaid ymarferol. *They are practical Atheists.* "Ar weithredoedd ei wadu y maent;" ac fe wna Duw eu gwadu hwythau am byth yn y diwedd. Maent "yn ffiaidd ac yn anufudd, ac at bob gweithred dda yn annghy-meradwy," Tit. i. 16.

Y mae yn anmhosibl i braidd neb fod heb Dduw, o ran barn am dano, o ryw fath; mae gan bob cenedl eu duwiau, ac y maent yn selog iawn drostynt. Mae dynion wedi eu ffeindio heb freninoedd arnynt, heb gyfreithiau, heb ddillad, ac heb unrhyw drefniadau, fel gwylltfilod yn eu harferiadau; eithr nid heb ryw fath o dduwiau. Bydded mor farbaraidd ag a fyddo, y mae ganddo ryw lun o dduw. Yr wyf yn cofio darllen am un atheist yr hwn a wnaeth ei eithaf, a goreu ei galon i ddiffodd canwyll cydwybod, trwy bob rheswm a haeriad a allasai feddwl am danynt. Yr oedd wedi llwyddo, fel llawer, i'w rhoddi i orwedd yn lled ddystaw, ond ar am-serau yr oedd y fflam yn cyneu ac yn cyneu. Ond ryw ddi-wrnod gwnaeth daranau dychrynllyd, nes oedd y ddaear yn crynu, a thybiwyd yn gyffredin fod diwedd y byd wedi dyfod,

canys ni welsid yr elfenau mor ofnadwy yn nghof neb ar y ddaear. Dychrynodd yr Atheist â dychryn mawr; ni wyddai beth i wneyd, na pha le i fyned; ond o'r diwedd dyma yr anffyddiwr galluog yn cilio o dan y gwely mewn gwylltineb a braw. Yr oedd ei gydwybod ei hun yn dyfod yn gryf, ac yn dywedyd wrtho fod gallu dwyfol yn llywodraethu y byd presenol, ac mai efe oedd Barnwr pawb oll. Llafuriodd yn galed i fwrw allan ffydd; ond ni allasai fwrw allan ofn. Er proffesu peidio credu dim, eto yn gorfod dyfod i gredu y cwbl. Yn ceisio perswadio dynion i beidio credu dim, eto efe ei hun yn methu peidio ofni fod Duw. Och, hi fydd yn ofnadwy, ar ol gwneyd pob ymdrech i gredu nad oes yr un Duw, i ffeindio allan yn sydyn ryw dro fod y cyfryw Fod yn bodoli, trwy orfod sefyll ger ei fron fel Barnwr cyfiawn, a derbyn dedryd marwolaeth dragywyddol oddiar ei law. Yn awr, fy nghyfeillion, y mae llawer o bethau yn ein gwlad ni, ac yn y tymhor presenol, ag sydd yn galluogi dynion i ymwneyd â chrefydd, a hyny gyda rhyw fesur o brydferthwch, heb oleuni gras cadwedigol, a'i ddylanwad yn effeithio iachawdwriaeth ar y galon.

2. Nid yn unig y mae tuedd grefyddol mewn dynion yn naturiol, ond hefyd y mae tueddiadau Cristionogol mewn dynion at grefydd o dan yr efengyl, heb fod yn wir grefyddol. Mae gan yr efengyl ddylanwad ac effeithiau cyffredinol ag sydd yn effeithio tueddiadau crefyddol o ryw fath mewn dynion, eto yn mhell o fod yn ddynion da. Mae y dylanwad hwn yn ychwanegol at yr un naturiol oddiwrth gydwybod, chwi welwch, yr hyn sydd yn gwneyd y duedd grefyddol yn gryfach, a'r ymroad yn fwy o lawer gyda chrefydd. Gall cydwybod fod o dan argyhoeddiad deddfol y gyfraith, ac yn teimlo fel pe byddai gwreichion Sinai yn syrthio yn filoedd ar filoedd i'r enaid, ac fel pe byddai fflamiau uffern yn dechreu cyneu eisoes, a mwg y pwll diwaelod fel pe byddai yn dechreu esgyn i fyny yn oes oesoedd. Dan y cyfryw amgylchiadau, fy nghyfeillion, y mae yn orchwyl cyffredin iawn i geisio cau genau y gydwybod â dyledswyddau crefydd, hyd y gellir. Fel Absalom, yn anfon eilwaith ac eilwaith at Joab i ddyfod ato yn ei gyfyngderau, er hyny nid yw efe yn dyfod; y mae yn ei adael yn ei ofidiau mawrion. "Am hyny efe a ddywedodd wrth ei weision, Gwelwch randir Joab ger fy llaw i, a haidd sydd ganddo yno; ewch a llosgwch hi â thân. A gweision Absalom a losgasant y rhandir â thân. Yna Joab

a gyfododd, ac a ddaeth at Absalom i'w dŷ, ac a ddywedodd wrtho, Paham y llosgodd dy weision di fy rhandir i â thân?" 2 Sam. xiv. 30, 31. Fe frysiodd Joab i ddyfod wedi i'r ŷd gael ei roddi ar dân, ond nid gyda chalon gywir. Mae yr Arglwydd yn galw dynion ato yn fynych trwy ei air, eithr nid ydynt yn dyfod, er anfon atynt eilwaith ac eilwaith. O'r diwedd y mae efe yn danfon gwreichionen o dân uffern i'r gydwybod; yna y maent yn rhedeg yn wyllt i weddi, nid o gariad, ond rhag ofn. Mae y ci yn dychwelyd at ei chwydfa wedi ymwaghau, ac yn teimlo y cylla yn well.

Y mae gwahaniaeth annhraethol, fy nghyfeillion, rhwng *gorfod* gwneyd rhyw beth, a thuedd i'w wneyd, a chariad ato. Os ydych wedi eich goleuo yn wirioneddol, eich goleuo i fywyd tragywyddol, ni ellwch wasanaethu Duw yn arwynebol fel y rhagrithiwr: nis gellwch gael heddwch a thawelwch meddwl yn y dull hyny o wasanaethu. Y mae efe yn cael heddwch, mae yn gallu gorphwys yn dawel ar ol gwneyd rhyw lun o wasanaeth crefyddol; ond nid felly y cyfryw ag sydd wedi eu gwir oleuo. Pa fwyaf y goleu, mwyaf hefyd y dyledswyddau: y mae y gydwybod yn galw am oleu i gael gwneyd y cwbl yn y goleu, fel nad ymddangoso gwarth y noethder yn y dydd a ddaw, pan y bydd goleu yn tywynu ar ddirgeloedd dynion. Mae yn ofynol i ni fod yn fanol, fy nghyfeillion, rhag ein bod yn y tywyllwch am y mater mawr tragywyddol, a ninau yn tybio ein bod yn y goleu. Mae llawer iawn o gamsyniadau am wir grefydd yn y dyddiau hyn; y mae dynion yn myned i uffern wrth ganu am y nefoedd, ac yn syrthio i'r pwll diwaelod wrth freuddwydio am baradwys. Mae haner crefydd yr oes hon yn freuddwydion ac yn llewygfeydd crefyddol; fel dynion yn siarad, yn codi o'r gwely, ac yn rhodiana y nos yn eu cwsg. Mae y galon yn ddrwg, yn dwyllodrus; gall eich twyllo heb yn wybod i chwi; y mae yn "fwy ei thwyll na dim." Peidiwch ag ymfoddloni â goleuni gwan, neu deimladau arwynebol, y rhai y gellwch eu gwella a'u hiachau wrth gyflawni ychydig o ddyledswyddau cyffredin ac arwynebol. Mae yn beth posibl, ïe, y mae yn beth hawdd i ddynion wneyd llawer o bethau da gyda chrefydd, a chalonau drwg yn llechu o dan y fron. Y mae y dyn yn gweddio llawer, ac yn gweddio yn weddol gyson, er mwyn cael plastr i guddio y clwyf heb ddyfod at y Balm o Gilead. Fel hyn y mae y bobl yn gwella wyneb y croen â dyledswyddau, eithr y drwg yn aros yn y gwaelod.

Och, adeilad ar dywod, beth ydyw o werth? Hi ddaw i lawr pan y byddo fwyaf ei heisiau.

Mae dynion yn dymuno ac yn llafurio am esmwythder yn eu crefydd, nid gwellhad; yn dymuno cael rhyw beth i wella poen y ddanodd, a chadw y dant; yn dymuno cael rhyddhad oddiwrth y gofidiau, ac eto glynu wrth y pechodau. Ar hyn o bryd y mae yn debyg y byddai y meddwl am welliant yn fwy marwol na'r clwyf; byddai y meddwl am adael pechod bron yn annyoddefol. Felly y maent yn *bribio* cydwybod nes cael rhyw fath o lonyddwch, ond pell ydyw oddiwrth fod yn heddwch sylweddol. Mae yr aflonyddwch a'r heddwch yn rhyw beth cyffelyb. Llai nag argyhoeddiad yr Ysbryd Glân oedd yr argyhoeddiad, a llai na gwaed Crist sydd yn heddychu hefyd. Troseddu goleu cydwybod glwyfodd, a rhodio yn weddol yn ol goleu cydwybod sydd yn esmwythau. Yr ydym yn darllen am baganiaid yn cael pangfeydd dychrynllyd a rhwygiadau arswydus yn y gydwybod o herwydd pechu yn erbyn goleu natur; eithr hwy a gawsant heddwch wedi hyny pan ufuddhasant i'r goleu hwnw, a chyflawni y dyledswyddau yr oedd eu cydwybodau yn cyfarwyddo. Felly, fy nghyfeillion, yr oedd eu hargyhoeddiad a'u gwelliant yn deilliaw oddiwrth oleu cyffredinol, nid goleu efengylaidd a chadwedigol.

Mae cydwybod yn canfod pethau mawrion, nid pethau bychain; yn dyfod ar y dyn gyda nerth a thanbeidrwydd, os bydd yn gŵyro yn mhell oddiwrth arferiadau cyffredin, eto yn weddol dawel uwch ben pechodau a arferir bob dydd; pechodau cyhoeddus a gondemnir fwyaf ganddi, nid y rhai dirgelaidd; y rhai corphorol ac anifeilaidd, nid y rhai ysbrydol; rhai y llech gyntaf o'r gyfraith, nid yr ail llech. Nid oes hanes am deimladau mawrion o herwydd pechodau yn erbyn yr efengyl—pechodau y galon; megys annghrediniaeth o ddatguddiad Duw am ei Fab, a gwrthodiad o hono yn Geidwad. Yn sathru dan draed gynygiad o iachawdwriaeth trwy yr efengyl, "barnu yn aflan waed y cyfamod, a difenwi Ysbryd y gras." Mae yn canfod rhai pechodau, nid yr holl bechodau; ac nid pechod fel y mae yn dra phechadurus. Y mae yn debyg i'r *wolf* yn y cylla, os na phorthwch ef o hyd, efe a ymbortha arnoch chwi. Felly y maent yn ei borthi â bwyd i gael esmwythder presenol, eithr yn methu cael gwelliant llwyr a pharhaus. Os na phorthir y gydwybod euog â dyledswyddau yn barhaus, y mae yn agor ei genau, ac yn barod i larpio ei pherchenog. Felly y mae hi yn cael ei

*thendio* â dyledswyddau, er mwyn cael esmwythder presenol; ond pell iawn yw hyn oddiwrth welliant tragywyddol. Rhywbeth sydd eisiau, fy nghyfeillion, at iachau byth. Mae yn rhaid i chwi fyned yn mhellach na dagrau, gweddiau ffurfiol, mynychu moddion gras, a bod yn gymunwyr, cyn y gellwch gyrhaedd hyn. Iachau yn ysgafn y mae yr holl bethau yma; bydd y clwyfau yn agor eto pa na bydd balm yn Gilead, na modd i'w gwella byth.

3. Mae angenion corphorol yn gyru y rhagrithiwr at ddyledswyddau crefyddol. "Pan laddai efe hwynt, hwy a'i ceisient ef, ac a ddychwelent, ac a geisient Dduw yn foreu. Cofient hefyd mai Duw oedd eu craig, ac mai y Goruchaf Dduw oedd eu Gwaredwr. Er hyny rhagrithio yr oeddynt iddo ef â'u genau, a dywedyd celwydd wrtho â'u tafod," Sal. lxxviii. 34—36. Troisant at yr Arglwydd mewn ymddangosiad allanol yn unig, ceisient ef yn foreu. Eithr paham? Am fod llaw Duw yn drwm arnynt ar y pryd, canys nid oedd dim ond twyll a rhagrith yn y galon, yn nghanol eu holl ymddangosiadau crefyddol. "Rhagrithiasant iddo â'u genau." Crefydd y Samariaid yw hon: yr oedd y rhai hyny yn dychwelyd at yr Arglwydd pan y danfonodd efe lewod i'w mysg. Mae rhai bechgyn yn yr ysgol, y mae yn anmhosibl eu cadw yn y llyfr ond tra fyddo y wialen yn llaw yr ysgolfeistr. Mae y llyfr yn y llaw cyhyd ag y byddo y wialen ar y cefn. Nid oes dim a wna y tro ond darllen a gweddio mewn cystuddiau; ond wedi y symudir y wialen a thynu y croesau ymaith, dyna hwy yn troi eu hwynebau draw oddiar lyfr gweddi at ynfydrwydd a chwareuyddiaeth. Maent yn debyg yn eu crefydd i'r morwyr mewn ystorm, y rhai ydynt yn drafferth i gyd, ac yn barod i dori eu calonau; yn gweddio ac yn ymbil am drugaredd tra fyddo arwyddion o longddrylliad; ond mor fuan ag y mae yr ystorm yn tawelu, y maent mor ddigrifol ac mor annuwiol ag erioed; a'r llwon yn llawer amlach na'r gweddiau. Mewn hindda ni chydnabyddant Dduw o gwbl; maent yn dywedyd gydag haerllugrwydd, "Cilia oddiwrthym, canys nid ydym yn chwenych gwybod dy ffyrdd;" eithr mewn tywydd garw yn rhedeg ato am eu bywydau; gan ddywedyd, "Ti yw ein Tad ni, a'n Duw ni; O achub ni, a thrugarha wrthym." Nid yw hyn yn cynwys y cariad lleiaf ato, ac hyfrydwch ynddo, ond yn unig yn cilio i ryw le am gysgod tra parhao yr ystorm a'r peryglon. Chwi welwch, pan y mae yn dyfod yn wlaw sydyn, y bobl yn cilio i ymgysgodi o dan

y coedydd a'r llwyni, ond wedi i'r ystorm ymatal a myned heibio, y maent yn ymadael odditan y goeden. Mae miloedd fel hyn yn ysbrydol; yn cilio at yr Hollalluog pan y mae yn gyfyng arnynt, a phan welont nad oes gan neb arall ddim i'w wneyd drostynt, ac mor gynted ag yr elo yr ystorm heibio, dyna hwythau yn gadael cysgod yr Hollalluog. Nid ydyw y rhai hyn yn byw yn y cysgod; y mae rhai yn byw yno ddydd a nos, haf a gauaf, oerni a gwres, gwlaw ac eira, gwynt garw, a thywydd tesog. "Yn aros yn nghysgod yr Hollalluog." Cydnabyddant yr Arglwydd yn noddfa mewn tywydd garw, ond nid yn breswylfa yn amser heddwch. Mae efe yn breswylfa i rai "yn mhob cenedlaeth." Yr wyf yn crynu, fy nghyfeillion, wrth ddarllen y geiriau pwysig yr ydwyf wedi eu dewis yn destun, a gobeithio y crynwch chwithau wrth eu gwrando.

Pan edrychwn i'r geiriau yn fanol, y maent yn dyfod yn nes na dim sydd wedi ei ddywedyd. Mae yn ymddangos wrth y geiriau, fod yn beth posibl i ddynion nid yn unig i wneyd llawer o bethau da, ond hefyd gwneyd gyda chysondeb mawr, ac eto bod yn fyr, ac yn rhy fyr, i fyned i mewn i'r bywyd tragywyddol. "O Arglwydd, pwy gan hyny a all fod yn gadwedig!" Yn y rhan fwyaf o ddosbarthiadau o ddynion y mae colledigaeth yn amlwg; gellwch ei ddarllen o hirbell, gellwch ei weled yn mhob agwedd, gweithred, a gair. Mae yr anffyddwyr a'r Atheistiaid fel yn cael eu gadael gan bawb yn gyffredin i golledigaeth, fel pe na byddai un gobaith na dysgwyliad am eu hiachawdwriaeth hwy. Mae y meddwyn yn arswydo rhag y tylwyth hyn, ac yn dywedyd fod yn anobeithiol achub dyn oedd yn gwadu pob peth; fel Galio, yr hwn "nid oedd yn gofalu am ddim o'r pethau hyny," Act. xviii. 17. "Yr wyf fi, er meddwi tipyn weithiau, yn myned i'r cwrdd yn aml." Ond yr wyt ti, y meddwyn, y godinebwr, y tyngwr, y cablwr, y celwyddwr, yr annghyfiawn, a'r halogedig, yn cario nodau damnedigaeth yn eich cyrph a'ch eneidiau. Byddwch mor sicr o fod yn mhlith cythreuliaid a'ch bod ar y ddaear yn awr, ac yn arfer y dull hyn o fywyd; byddwch yn uffern mor sicred a'ch bod yn y tafarndai yn meddwi. "Barnedigaeth er ys talm nid yw yn hepian." Ond nid â'r cyfryw y mae a fyno ein testun; y maent hwy yn myned i uffern yn gyhoeddus, a thân anniffoddadwy mewn llythyrenau breision, mawrion, yn ysgrifenedig ar eu talcenau; ond yma y siaredir am broffeswyr crefydd. Mae proffeswyr

crefydd yn cael eu darlunio yn y Bibl yn ddau fath; sef y cyfryw ag sydd yn cynyg corph o ddyledswyddau meirwon i Dduw, a'r cyfryw ag sydd yn cynyg ysbryd a bywyd mewn dyledswyddau. Y cymeriadau cyntaf sydd genym yn ein testun presenol. Oni buasai i Dduw ei hunan ddywedyd eu bod yn annghywir, buasem yn meddwl eu bod y crefyddwyr mwyaf difrifol yn y byd.

1. Y maent yn *ceisio* Duw. Nid ei geisio mewn ystorm, fel y bobl y buom yn son o'r blaen am danynt, neu ryw amser penodol; eithr y maent yn myned yn mhellach o lawer, fel y gwelwch: "Eto *beunydd* y'm ceisiant." Yr oedd cysondeb yn eu dyledswyddau; y boreu a'r prydnawn yn ddyfal a diflino. Nid crefydd mewn clefyd oedd hon, ond mewn iechyd hefyd; nid pan yn gyfyng, ond pan yn helaeth hefyd; nid pan yn marw, ond yn nghanol bywyd hefyd. "Eto *beunydd* y'm ceisiant."

2. Mewn pob ymddangosiad yr oeddynt yn wneuthurwyr cyfiawnder: "Fel cenedl a wnaethai gyfiawnder." Nid cenedl a glywodd am gyfiawnder, ac wedi dysgu siarad yn fedrus am gyfiawnder, fel y bydd llawer ag sydd yn ddigon pell oddiwrth yr egwyddor yn mhob rhyw fodd; eithr "fel cenedl a wnaethai gyfiawnder, ac ni wrthodai farnedigaeth eu Duw." Yr oedd yr holl ymddangosiadau i'r byd yn uniawn, fel y saint mwyaf dewisol. Ac nid oedd un rheswm gan neb i farnu yn wahanol am danynt, canys yr oeddynt yn ddiargyhoedd yn eu hymarweddiad yn y byd.

3. Gofynasant gan Dduw farnedigaethau cyfiawnder. Gofynasant iddo eu dysgu yn ffyrdd cyfiawnder; yr oeddynt yn teimlo parch i'w ddeddfau a'i lywodraeth, ac yn cymeryd arnynt na wnaent ddim heb ei gyfarwyddyd neillduol, gan ddymuno, hyd yr oedd ynddynt, wneyd tegwch ac uniondeb tuag at Dduw a dynion.

4. Teimlant hyfrydwch mewn nesâu at Dduw. "Eto *beunydd* y'm ceisiant;" "*ewyllysiant* nesâu at Dduw." Chwi welwch, fy nghyfeillion, fod yma nesâu at Dduw bob dydd gyda chysondeb anarferol; a hyny gyda graddau o hyfrydwch hefyd. Nid oedd crefydd yn ymddangos yn faich a gorthrymder, eithr yn hytrach pleser a hyfrydwch. Yr oeddynt yn cael hyfrydwch yn ordinhadau crefydd, pleser wrth wrando y pregethau, a hwyl yn y gweddiau. Dyma grefydd uchel, onide? Beth a allwn ddywedyd yn ychwaneg? Pa fodd y gallwn ymddyrchafu yn uwch? Gadewch i ni

sefyll dros ychydig amser uwch ben y mater difrifol hwn, a synu, rhyfeddu, a chrynu! Canys er hyn oll, y mae yr Arglwydd yn dywedyd yn groyw uwch ben y grefydd hon na thâl hi ddim; mai rhagrithwyr yw y dynion hyn sydd yn siarad mor dduwiol a chrefyddol. "O Arglwydd, pwy gan hyny a all fod yn gadwedig!"

Os oes llawer yn meddianu y doniau a'r teimladau oedd yn y bobl hyn, ac yn gwneyd cymaint o weithredoedd cyfiawnder yn eu dydd ac yn syrthio i uffern yn y diwedd, beth ddaw o'r meddwyn? beth ddaw o'r tyngwr? beth ddaw o'r torwr Sabbathau? beth ddaw o'r diweddi? beth ddaw o ddiystyrwr crefydd? O Arglwydd, "beth fydd diwedd y rhai nid ydynt yn credu i efengyl Duw? Pa le yr ymddengys yr annuwiol a'r pechadur?" Os yw gwneyd y pethau hyn i gyd gyda chrefydd yn rhy fyr, y mae peidio gwneyd dim yn mhlaid crefydd, ïe, gwneyd drwg, a gwneyd pob peth yn groes i grefydd, yn sicr o fod yn rhy fyr o lawer. Chwi welwch fod yma helaethrwydd o ddyledswyddau yn cael eu harfer, ac nid yn unig hyny, ond hefyd y maent yn cael eu harfer gyda graddau helaeth o fanylwch, ac eto hwynt-hwy a'u holl gyfiawnderau yn wrthodedig. O, mor bell mae yn bosibl i ni fyned gyda chrefydd ac heb fod yn wir dduwiol! Mae yn ymddangos fod tuedd wirioneddol yn y dyn ieuanc am fywyd tragywyddol, ond y telerau oedd yn methu boddloni ei feddwl; â'r telerau y darfu iddo annghytuno. "Athraw da (eb efe), pa beth da a wnaf, fel y caffwyf fywyd tragywyddol? Yntau a ddywedodd wrtho, Paham y gelwi fi yn dda? nid da neb ond Duw: ond os ewyllysi fyned i mewn i'r bywyd, cadw y gorchymynion. Efe a ddywedodd wrtho yntau, Pa rai? A'r Iesu a ddywedodd, Na ladd, Na odineba, Na ladrata, Na ddwg gam dystiolaeth, Anrhydedda dy dad a'th fam, a châr dy gymydog fel ti dy hun. Y gwr ieuanc a ddywedodd wrtho, Mi a gedwais y rhai hyn oll o'm hieuenctyd: beth sydd yn eisiau i mi eto? Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Os ewyllysi fod yn berffaith, dos, a gwerth yr hyn oll sydd genyt, a dyro i'r tlodion; a thi a gei drysor yn y nef: a thyred, canlyn fi. A phan glybu y gwr ieuanc yr ymadrodd, efe a aeth i ffordd yn drist; canys yr oedd efe yn berchen dâ lawer," Mat. xix. 16—22.

Dyma ddyn ieuanc, dyn cyfoethog, dyn cybyddlyd, yn dyfod at Iesu Grist, nid i'w demtio, fel y byddai llawer yn gwneyd, ond yn dyfod yn onest i'r dyben o gael cyfarwyddyd

ganddo beth oedd yn rhaid gwneyd i etifeddu bywyd tragywyddol. Mae gan y dyn ieuanc fater mawr, a than ryw gymaint o deimlad o'i bwysigrwydd yn dyfod at yr Arglwydd Iesu; y mae yn ddifrifol iawn uwch ei ben, gan ddymuno cael goleu arno. "Pa beth da a wnaf fel y caffwyf fywyd tragywyddol?" Yr oedd eisiau gwaith arno, ac y mae Crist yn rhoddi gwaith iddo i'w wneyd. Mae efe yn cymhwyso y physygwriaeth ag sydd yn ateb i'w glefyd. Argyhoeddwyd ef o'i anmherffeithrwydd yn yr hyn yr oedd yn tybied ei hun yn berffaith. Gan ei fod am ymgyfiawnhau trwy Moses, y mae yn cael myned at Moses, a Moses a gaiff fod yn farnwr. "Y pethau hyn oll a gedwais i o'm hieuenctyd," eb efe; eithr nid oedd yn gwybod yn iawn pa beth yr ydoedd yn ei ddywedyd, yn gymaint ag nad oedd yn deall dim yn nghylch ysbrydolrwydd y gyfraith. Yr ydoedd wedi ufuddhau i'r gorchymynion. "Y rhai hyn oll a gedwais," ac yr wyf wedi eu cadw yn gyson "o'm hieuenctyd." Y llythyren, nid ysbryd y gyfraith; y gweithredoedd allanol, nid serchiadau y galon. "Beth sydd yn eisiau i mi eto? A oes rhyw beth ag sydd yn eisiau i mi ei wneyd eto, i'r dyben o gael gafael ar fywyd tragywyddol?" "Oes, y mae un peth eto yn ol i ti; dos, gwerth yr hyn oll sydd genyt, a dyro i'r tlodion; a thi a gei drysor yn y nef, a thyred, canlyn fi." Yma y mae yn methu a dyfod i delerau y farchnad. Mae yn myned yn athrist; mae yn troi ei gefn ar fywyd tragywyddol, yn myned ymaith, ac yn glynu wrth y byd presenol. Ah! dacw ef yn colli y nefoedd ar ol y cwbl y mae wedi wneyd i'w hynill; dacw fywyd tragywyddol yn cael ei aberthu i'r bywyd amserol a darfodedig. Nid wyf yn ewyllysio, fy nghyfeillion, i glwyfo y gwan, ond dymunwyf ddychrynu y rhagrithwyr, "y rhai esmwyth arnynt yn Sïon." Gwrandawyr cyson yr efengyl, gadewch i mi ddweyd wrthych, fod gwrando yn rhy fach o grefydd. Yr ydych yn gwrando yn gyson ac yn astud, a chyda phleser mawr yn aml; ac yn ymorphwys ar hyny fel pe baech wedi eistedd i lawr, wedi aros, wedi cartrefu yn y fan hono. Ffowch, onide bydd tân uffern yn debyg o gydio ynoch yn eich eisteddleoedd cysurus. Mae y lle yr ydych yn byw yn beryglus, mae y ddinas yr ydych yn aros ynddi wedi ei chondemnio i lid a digofaint, i dân a brwmstan. Diangfa, diangfa. Ffowch, y mae Duw yn dyfetha y ddinas hon. "Edfarhewch a chredwch yr efengyl;" canys nid digon yw bod yn wrandawyr yn unig.

(1.) Y mae yn bosibl gwrando gyda theimlad o syndod a rhyfeddod, ac eto heb wrando yn grediniol ac i ddyben bywyd tragywyddol. "A bu, wedi i'r Iesu orphen y geiriau hyn, y torfeydd a synasant wrth ei ddysgeidiaeth ef. Ac yr oedd pawb yn dwyn tystiolaeth iddo, ac yr oeddynt yn rhyfeddu am y geiriau grasusol a ddeuai allan o'i enau ef: a hwy a ddywedasant, Onid hwn yw mab Joseph?" Mat. vii. 28; Luc iv. 31. Rhyfeddasant oll, ond ni achubwyd hwynt oll. Ni bu y gair yn fuddiol, er ei fod yn rhyfeddol. Mae llawer yn synu ac yn rhyfeddu yn swn pethau mawrion Duw, pan yn gwrando y pregethwr talentog, ac yn myned adref heb feddwl fod ganddynt ddim ychwaneg i'w wneyd at fod yn gadwedig. Mae y cwbl yn dybenu gyda'r Amen yn y capel.

(2.) Nid yn unig gwrandewir gyda syndod, ond cynyrchir hefyd deimlad o ofn a braw yn fynych. Mae miloedd yn ofni a chrynu, gyda Ffelix, ac yn troi eu cefnau fel yntau am byth ar iachawdwriaeth eu heneidiau.

(3.) Nid yn unig gwrando gyda syndod, ond hefyd gyda rhyw fath o gariad ar y pryd. Mae gweinidogaeth yr efengyl yn effeithio ar y serchiadau, fel y gellir meddwl ar y pryd fod cariad yn cael ei enyn at y Gwaredwr; eithr y mae y cwbl drosodd wedi i swn llais toddedig y pregethwr dewi. "Wele di hefyd iddynt fel cân cariad un hyfryd-lais ac yn canu yn dda: canys gwrandawant dy eiriau, ond nis gwnant hwynt," Ezec. xxxiii. 32. Maent yn cael pleser mawr wrth wrando dy eiriau, ond byddai yn boen mawr gorfod eu gwneyd hwynt.

(4.) Y maent yn gwrando gyda llawenydd mawr. Maent yn llawenhau yn swn hyfryd y cyfamod tragywyddol, yr "addewidion mawr iawn a gwerthfawr," gwaed y groes "yn glanhau oddiwrth bob pechod," er yn wirioneddol nad yw y pethau hyn yn perthyn dim iddynt hwy. Yr oedd Herod yn ofni Ioan, gan ei fod yn wr cyfiawn a santaidd, ac a'i parchai ef; ac wedi iddo ei glywed ef, efe a wnai lawer o bethau, ac a'i gwrandawai yn ewyllysgar, Marc vi. 20. Yr oedd yn grefyddol iawn, ac yn cael y difyrwch a'r pleser mwyaf yn y bregeth; yr oedd yn teimlo yn ddedwydd yn swn y pregethwr, ond pan y darfu i Ioan ei argyhoeddi o'i bechodau gwarthus, a dweyd ei fod yn byw mewn godineb, yna annghysurwyd ef, a thaflwyd ei feddwl yn bendramwnwgl; ac yn hytrach na gadael ei bechod, torodd ben y pregethwr, fel pe buasai hyny yn gallu ei achub. Ond yr oedd y gwirionedd

yn fyw wedi i'r pregethwr gael ei ladd. Mae y bobl yn llawenhau o dan y pregethau, ac yn byw yn y pechodau mwyaf gwarthus yn y byd. Yn llawenhau o herwydd bod trefn i achub, ac yn gwrthod yr iachawdwriaeth ar yr un pryd. "A'r hwn a hauwyd ar y creigleoedd yw yr hwn sydd yn gwrando y gair, ac yn ebrwydd trwy lawenydd yn ei dderbyn; ond nid oes ganddo wreiddyn ynddo ei hun, eithr dros amser y mae: a phan ddelo gorthrymder neu erlid oblegyd y gair, yn y fan efe a rwystrir," Mat. xiii. 20, 21.

2. Dichon i ddynion nid yn unig wrando y gair, ond hefyd gweddio llawer yn eglwysig, yn deuluaidd, ac yn ddirgel, ac eto syrthio yn fyr o gadwedigaeth. Mae yn dyfod mor agos at wirionedd ag i wneyd llefau cryfion at Dduw, gyda theimladau drylliedig; ond cofiwch, teimladau naturiol ydynt, nid ysbryd cystuddiedig a chalon ddrylliog; canys aberthau yw y rhai hyn na ddirmyga yr Arglwydd mo honynt byth. Er ychwanegu ympryd at weddi, a wylofain at ympryd, mae rhyw beth yn eisiau wedi hyny i fod yn dduwiol. Nid ydynt bell oddiwrth deyrnas nefoedd, eto yn rhy bell i fyned i mewn iddi. "A phan estynoch eich dwylaw, mi a guddiaf fy llygaid rhagoch: hefyd pan weddioch lawer ni wrandawaf: eich dwylaw sydd lawn o waed," Esay i. 15. "Nis gwrandawaf chwi, canys yr ydych yn Phariseaid rhagrithiol. Yr oedd y Phariseaid yn gweddio yn aml, ac yn ymprydio hefyd, eto gwasanaethu eu hunain oeddynt yn y cwbl, nid yr Arglwydd; iddynt hwy eu hunain yr oeddynt yn ymprydio. "Dywed wrth holl bobl y tir, ac wrth yr offeiriaid, gan lefaru, Pan oeddych yn ymprydio ac yn galaru y pumed a'r seithfed mis, y deng mlynedd a thriugain hyny, ai i mi yr ymprydiasoch chwi ympryd, i mi? A phan fwytasoch, a phan yfasoch, onid oeddych yn bwyta ac yn yfed i chwi eich hunain?" Zec. vii. 5, 6.

3. Y mae dynion yn galaru am bechod, ac yn y diwedd yn cael eu cospi byth am eu pechodau. Nid am bechod, fel y mae yn drosedd yn erbyn Duw, y mae y galar, ond fel y mae yn creu rhyw aflonyddwch iddynt eu hunain, neu fel y mae yn achos cosp dragywyddol. Y mae cariad ato, ac at y cwbl o hono; ond pan edrychir ar ei ganlyniadau y mae yn peri gofid a galar tost. Ofn y gosp haeddianol am dano sydd yn gwneyd y gofid, nid y casineb lleiaf ato. Mae y dyn yn arogli tân a brwmstan ynddo yn awr weithiau yn nghanol ei gyflawni, ac fel pe bai yn gweled fflamiau uffern bron yn

cydio ynddo, nes y mae yn dychrynu, yn arswydo, yn gwaeddi, ac yn wylo, o herwydd y peryglon tragywyddol sydd yn ymddangos yn agosâu. Mae yn wylo am ei hen bechodau o dan deimlad o euogrwydd; eithr y mae dagrau gau yn gystal a gweddiau gau. Mae yn wylo uwch ben yr hyn y mae yn ei garu, yn griddfan uwch ben y pechodau sydd anwyl gan ei enaid; yn siarad yn eu herbyn, ac eto yn eu cofleidio yn ei fynwes. Mae yn bosibl fod calon ddrylliog heb ddeigryn yn y llygad, a dagrau lawer yn y llygaid heb galon ddrylliog o dan y fron. Mae dagrau anobaith fel yr eiddo Judas a'r damnedigion yn uffern. Fe wylodd Judas mewn anobaith, a rhedodd i'r crogbren i esmwythau cydwybod danllyd. Y mae hefyd yn wylo, yn wylofain a rhincian danedd, yn y pwll diwaelod, yn y teimlad mwyaf arteithiol am bechod, nid yn y teimlad o gasineb ato. Mae dagrau edifeirwch am bechu fel yr eiddo Pedr; "efe a wylodd yn chwerw-dost." Wylo oedd hwn am wadu ei Feistr, a gofid am iddo wneyd y fath beth; ac nid oedd dim yn gallu ei wella ond cymod â'i Feistr drachefn, a blas maddeuant. Mae dagrau rhagrithiol, pan yr wylir o herwydd y gosp, nid o herwydd y pechod. Ond y mae yn bosibl i'r galon deimlo pan nad oes deigryn yn y llygad, ac i'r llygad wylo heb deimlad gwirioneddol yn y galon.

4. Y mae dynion yn gwneyd ymddangosiad mawr mewn ffurf allanol o ddyledswyddau crefyddol, heb galon gywir a gwirioneddol tuag atynt. Maent yn dirwyn edau crefydd mor fain, fel na allo y craff ei lygad weled y twyll. Yr wyf yn cofio darllen am liwiedydd a dynodd rawnwin mor berffaith, fel yr oedd yr adar yn camsynied, ac yn ehedeg atynt. Ac nid hawdd twyllo hen adar, medd y ddiareb. Darllenais am un arall a dynodd lun boneddiges mor berffaith, fel ag yr oedd pawb ag oedd yn ei gweled yn meddwl ei bod yn fyw. Tybiodd yr arluniedydd ei hun hyny o'r diwedd, a syrthiodd mewn cariad â'i *bictiwr* ei hun. Felly, fy nghyfeillion, y mae rhai yn gallu tynu duwioldeb mor agos i fywyd fel ag i dwyllo nid yn unig y byd, ond y saint goreu, ïe, a hwy eu hunain hefyd.

Mae rhai yn meddwl y gall fod crefydd mor agos i fywyd ag i dwyllo y diafol a'r angylion; ond nid wyf yn gwybod am hyn; eithr hyn a wn, nid yw yn bosibl twyllo yr Hollwybodol. Mae Duw yn gwybod. Gall dynion chwydu allan hen dueddiadau, a gadael hen bechodau gwarthus, golchi eu

hunain oddiallan, ac ymddangos yn weddus gyda phob peth allanol crefydd, eto yn llwyr amddifad o fywyd duwiol ac ysbrydol—gwir grefydd yn llywodraethu yr enaid, yn "caethiwo pob meddwl i ufudd-dod Crist," a chysegru y galon i Dduw, a'i wneyd yn deml i'r Ysbryd Glân breswylio yn dragywydd ynddi. "Canys os wedi iddynt ddianc oddiwrth halogedigaeth y byd trwy adnabyddiaeth yr Arglwydd a'r Achubwr Iesu Grist, y rhwystrir hwy drachefn â'r pethau hyn, a'u gorchfygu; aeth diwedd y rhai hyny yn waeth na'u dechreuad. Canys gwell fuasai iddynt fod heb adnabod ffordd cyfiawnder, nac, wedi ei hadnabod, troi oddiwrth y gorchymyn santaidd yr hwn a draddodwyd iddynt. Eithr dygwyddodd iddynt yn ol y wir ddiareb, Y ci a ymchwelodd at ei chwydiad ei hun; a'r hwch, wedi ei golchi, i'w hymdreiglfa yn y dom," 2 Pedr ii. 20—22.

Y mae dynion wedi gadael pechodau yn fynych o angenrheidrwydd, a chymeryd crefydd i fyny, ac yn ymddangos yn grefyddwyr da iawn. Mae lluaws wedi gadael meddwdod o herwydd methu cael cwrw, yr amgylchiadau wedi treulio allan, y byd wedi myned yn ol, fel y mae yn anmhosibl cael dim yn awr, am hyny y maent yn ddynion sobr a chrefyddol. Gwelsom amryw, yn wyneb gwasgfeuon amser drwg, pan oedd yr enill yn fach, yn dyfod i'r capelau yn lle i'r tafarndai, yn yfed o gwpan y cymundeb yn lle o'r *peint;* ond wedi i bethau wella, ac amgylchiadau yn dyfod i'w lle, collasom hwynt eilwaith o'r capel, ac fe'u cafwyd yn y dafarn gyda'r hen gwmpeini a'r hen arferiadau. Dyna eu pethau, dyna'r bywyd y maent yn ei garu yn wirioneddol; y maent yn eu helfen yn nghanol llwon, a maswedd, a meddwdod, a digrifwch y cnawd. Yr oeddynt fel pysgod allan o'u helfen pan gyda chrefydd; yr oeddynt fel yn haner marw gyda gwaith yr Arglwydd; "nid oeddynt o honom ni; canys pe buasent o honom ni, hwy a arosasent gyda ni."

Y mae llawer iawn hefyd wedi myned yn rhy hen i ddylyn rhyw fath o bechodau yn gyhoeddus, y rhai fu yn uchel iawn yn eu bryd, ac mewn arferiad yn nyddiau eu hieuenctyd; a gellwch feddwl eu bod yn galaru yn brudd uwch ben eu ffolineb gynt, wrth eu clywed yn siarad. Fy nghyfeillion, y corph sydd wedi ffaelu eu dylyn, nid yr enaid sydd wedi eu gwir gasâu. Maent yn flasus yn awr pe gellid eu dylyn, ac er nad ydynt yn gallu eu dylyn, y maent yn caru siarad am danynt pan y ceir cyfleusdra teg. Mewn eraill y mae rhyw

bechodau yn myned am draws y lleill, ac yn rhyfela yn erbyn eu gilydd; a rhyw bechod nad yw yn ymddangos yn eglur i gymdeithas, yn rhoddi pechod arall i lawr ag sydd yn waeth i gymdeithas. Y mae y cybydd wedi rhoddi y meddwyn i lawr, ac yn ei drin yn andwyol am ei ffyrdd brwnt, a'i fywyd aflan a gwastraffus, yn drygu y teulu wrth dreulio y meddianau gwerthfawr, ac yn gwarthruddo cymeriad gyda llaw. "Pechod a gwarth ofnadwy," meddai y cybydd, "yw meddwi yn ngwydd Duw a dynion; ac y mae yn gas genyf weled dyn meddw yn mhob man; yr wyf yn ei ffieiddio o hirbell." Y mae hyn yn wir i gyd am y meddwyn druan; ond nid casineb at bechod yw yr achos bod y cybydd yn ei ffieiddio mor fawr, ond yn hytrach cariad at yr arian. Y mae cariad at un pechod yn peri bod dynion yn casâu yr arferiad o bechod arall fyddai yn dinystrio y mwynhad o'r prif bechod. Felly y mae y cybydd yn rhodio gyda chrefydd yn y byd mewn gwisg dafad, yn ddichlynaidd a duwiol iawn. Chwi welwch, fy nghyfeillion, mai angenrheidrwydd sydd yn peri bod rhai yn gadael pechod, a henaint a methiant yn peri bod eraill yn eu gadael, a phechodau mwy dirgelaidd yn peri bod eraill yn gadael rhai mwy cyhoeddus a chostus; ac nid gras yn gweithredu yn gadwedigol yn eu heneidiau. Mae gras cadwedigol yn peri i ddynion adael pechod am ei fod yn bechod, am ei fod yn groes i santeiddrwydd, cyfiawnder, a harddwch; am hyny yn gadael pob pechod, yn casâu nid yn unig anwiredd yn y dafarn, yn y ffair, ac yn y farchnad, ond hefyd anwiredd yn y galon—"meddyliau ofer."

6. Y mae aelodiaeth yn mhlith rhyw enwad grefyddol yn beth cyffredin, heb grefydd wirioneddol. Mae yn hawdd cael enw o grefydd yn y dyddiau hyn; ond yr un peth yw crefydd dda y dyddiau hyn a rhyw ddyddiau eraill. Y mae proselytiaeth yn cael ei gario yn y blaen gyda llaw uchel yn mhlith pob enwad o grefyddwyr. Cael y *dynion* yw y pwnc, nid gwaeth beth ddelo o'u heneidiau. Ychwanegu y blaid, gwneyd i fyny gynulleidfa gref, i gael pob peth yn gysurus i'r gweinidog, ac yna eled yr eneidiau lle y mynont; y mae y dyben wedi ei gyrhaeddyd. Ni wna eich dyfod at grefydd un lles i chwi heb ddyfod at Grist; ac ni wna eich dyfodiad at grefydd heb ddyfod at Grist ddim lles i grefydd ychwaith. Os ydych yn ymfoddloni byw heb Grist, gwell yw i chwi fod heb grefydd hefyd. Twyll a rhagrith yw y cwbl mewn eglwys am gael dynion at grefydd, os nad yw y syched am

gadwedigaeth eu heneidiau, a gogoniant yr Arglwydd Iesu, yn fwy nag ychwanegiad plaid. Eglwys heb ofn Duw ynddi ydyw hono sydd yn fwy am broselytio cyrph nag achub eneidiau. Dewch at Grist yn gyntaf, a thrwy Grist at grefydd.

Beth fyddwch yn well o ddyfod at grefydd, a myned oddiwrth grefydd i dân uffern? Nid yw crefydd, er ymarfer yn fanol â'i holl ffurfiau allanol, yn ddyogelwch ac yn achubiaeth i neb. Aeth Saul o blith y prophwydi i uffern, a Judas o blith yr apostolion. Gellwch ddyfod yn hawdd i blith y defaid, i gorlan y defaid; ac eto bod yn fleiddiaid rheibus yn y diwedd. Mae yr efrau yn cyd-dyfu yn mhlith y gwenith ar y maesydd, ac y mae ûs yn gymysg â'r gwenith yn yr ysgubor ar y llawr-dyrnu; y mae pysgod da a drwg yn y rhwyd. Y mae rhagrithwyr yn mhlith y duwiolion yn yr eglwys. "Y maent '*fel* fy mhobl,' medd yr Arglwydd; "beunydd yn fy ngheisio, ac yn ewyllysio gwybod fy ffyrdd, fel cenedl a wnelai gyfiawnder, ac ni wrthodai farnedigaeth eu Duw."

7. Y mae dynion wedi dyoddef llawer dros ac yn achos crefydd yn eu henwau, eu meddianau, a'u cyrph, ac eto heb grefydd wirioneddol eu hunain. Mae yn bosibl i galon ddrwg ddyoddef llawer mewn achos da. Nid yw pawb ag sydd yn dwyn croes Crist ar eu hysgwyddau yn ei dwyn ar eu calonau. Mae yn costio cymaint i lawer wisgo *livery* Crist a phe baent yn gwisgo Crist ei hun; ïe, a llawer ychwaneg; canys y maent yn cymeryd trafferth yn allanol, ac heb dderbyn cysur tu mewnol; y maent yn llafurio ar y maes, ac heb dderbyn y gyflog; y maent yn llafurio yn y winllan, ac heb fwyta o'r ffrwyth. Maent yn darllen a gweddio *fel* cristionogion, ond nid ydynt yn derbyn bywioliaeth a chysur cristionogion. "A chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi," 2 Tim. iii. 5. Gall fod y ffurf yn dda mewn *pictiwr*, eto heb ddim ynddo ag sydd yn hanfodol i ddyn: dim rheswm, dim bywyd, na dim teimlad. Mae gan y rhagrithiwr y pethau allanol sydd gan y cristion; y pethau tu fewnol sydd yn ddiffygiol; gras a bywyd tragywyddol—y pethau ag sydd yn gwneyd dyn yn debyg i Dduw. Mae yr Arglwydd yn gyfranogol ac annghyfranogol. Mae efe mewn rhyw bethau yn annghyfranogol, fel nad yw yn bosibl i neb fod yn debyg iddo. Nid oes neb all fod yn debyg iddo yn y nefoedd nac yn y ddaear, yn ei holl-

bresenoldeb, ei hunan-ymddibyniad, a'i annghyfnewidioldeb; eithr cyfranogir o'i ras, a dygir rhyw gymaint o'i ddelw santaidd trwy hyny. Y mae rhyw beth yn y saint hefyd ag sydd yn anhawdd ymdebygu iddynt, a phethau eraill yn ddigon hawdd. Gellir gwneyd *pictiwr* lled berffaith o honynt, o'u penau i'w traed, eto y mae pethau ynddynt nad yw yn bosibl eu darlunio.

Pwy all dynu llun dŷn mewn gwir drafferth ysbrydol am achos ei enaid o dan argyhoeddiadau Ysbryd Duw? pwy all dynu llun enaid yn crynu wrth y gair? pwy all wneyd darlun o enaid yn ymdrechu â Duw mewn gweddi, a meddwl yn ymdreiglo mewn llwch a lludw? Gellir gwneyd *pictiwr* o'r ffurf, ond nid yr ysbryd a'r bywyd ag sydd yn y ffurf; y mae hyn yn annarluniadwy. Os bydd dyn wedi colli braich neu lygad, a thynu y llun felly, nid ydyw y llun hwnw yn ddarlun perffaith o ddyn, er y gall fod yn gywir o'r dyn yr amcanwyd ef. Mae yn ddarluniad anmherffaith o ddyn heb fod y cwbl ag sydd yn perthyn i ddyn ynddo. Felly os bydd rhagrithwyr yn fyr mewn dyledswyddau crefyddol, nid yw yn ddarlun cywir o ddyn duwiol, ac nid yw y rhagrithwyr hyny yn *rhagrithwyr* da. Mae yn angenrheidiol bod *fel* ei bobl ef yn allanol heb golli dim, eithr yn gyflawn yn mhob dyledswyddau crefyddol. Rhaid cadw yr ochr allanol yn gyflawn, heb dwll na bwlch, yn ddyn perffaith, heb golli na braich na llygad. Cymerir yn ganiataol fod y cyfryw ag sydd yn gwasanaethu Duw mewn ysbryd a gwirionedd, yn ofalus am gyflawni dyledswyddau crefyddol yn ffyddlon yn ol y gosodiadau dwyfol. Gwareded yr Arglwydd mawr ni rhag bod yn rhagrithwyr yn eglwys Dduw; *fel* ei bobl, ac heb fod yn bobl iddo. O Dduw, gwna ni yn "Israeliaid yn wir, yn y rhai nid oes dim twyll."

Y mae yn anmhosibl cael dim da yn y byd hwn, heb fod y drwg yn bresenol gydag ef. Mae rhagrithwyr wedi bod yn eglwys Dduw yn mhob oes, ac y maent yn yr oes hon gymaint os nid yn fwy nag unrhyw oes; eto y mae yr Arglwydd, yn ei ben-arglwyddiaeth a'i ddoethineb, yn tynu da allan o ddrwg; yn goruwch-lywodraethu pethau gofidus a blin i fod o les yn y diwedd. Mae efe yn peri fod rhagrithwyr yn yr eglwys nid yn ddinystr, ond yn lles iddi. Y peth y gellid dysgwyl yn naturiol fyddai dinystr y saint gan ragrithwyr, y bleiddiaid rheibus yn llarpio yr ŵyn; ond y mae yr Arglwydd yn cadw gwyliadwriaeth fanol ar y

praidd, yn eu cadw rhag cael eu llarpio; ac nid hyny yn unig, ond yn gwneyd i'r bleiddiaid fod yn wasanaethgar iddynt. Bendigedig am ofal Duw; os yw y rhagrithiwr yn boenus ac yn brofedigaethus ambell waith, y mae ein Duw ni yn troi y drwg yn ddaioni, yn troi y tywyllwch yn oleuni, y drygfyd yn llesâd, i'w saint. Maent yn gwneyd y tro yn *scaffaldiau* i fyned â'r adeilad i fyny; cânt aros yno hyd oni ddygir allan y maen penaf, ac y gorphenir adeiladu Sïon, pan y gwaeddir trwy holl ymerodraeth Jehofah, "Rhad, rhad iddo." Mae y gwaith ar ben. Angylion, tynwch y *scaffald-iau* i lawr, a bwriwch hwynt i'r tân tragywyddol; nid oes eu heisiau mwyach. Mae coes pren yn dda i'r dyn sydd wedi colli ei glun, ond ni ddaw byth yn rhan o'r corph; nid oes na gwres na theimlad ynddi; y mae yn cael ei thaflu y naill ochr wrth fyned i'r gwely.

Mae yr Arglwydd nid yn unig yn goddef, ond hefyd yn defnyddio rhagrithwyr i wneyd llawer o bethau er gwasan-aethu i lesâd ei eglwys ar y ddaear.

(1.) Y maent wedi cael eu defnyddio i wneyd lles i eraill. O Arglwydd, yr wyf yn crynu wrth ddweyd y pethau hyn, rhag fy mod inau hefyd o'r cyfryw a ddemnir byth, er fe allai wedi bod yn offerynol i achub eraill. Mae yn ddigon tebyg fod yr Arglwydd wedi defnyddio talentau dynion er llesâd i'w eglwys, a gwrthod eu personau byth. Yr oedd y cigfrain yn aflan o dan yr oruchwyliaeth Iuddewig, fel y gwyddoch, eto defnyddiodd Duw hwynt i ddyfod â bara a chig i Elias. Nid oedd y cigfrain yn gig da, eto daeth-ant â chig da i'r prophwyd. "Yn nghadair Moses yr eistedd yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid. Yr hyn oll gan hyny a ddywedant wrthych am eu cadw, cedwch a gwnewch; eithr ar ol eu gweithredoedd na wnewch; canys dywedant, ac nis gwnant," Mat. xxiii. 2, 3. Er ein bod yn ddrygionus ein hunain, os ydyw yr athrawiaeth yn iachus, bwytewch a chryfhewch; "canys pob un a ddwg ei faich ei hun." Ym-wrthodwch â ffyrdd y dysgawdwyr, eithr glynwch wrth eu hathrawiaeth. "Yr hyn oll a ddywedant wrthych am eu cadw, cedwch a gwnewch." Cymerwch berl o enau y llyff-ant; gall fod y perl o uchel bris, er bod y llyffant yn wenwyn. Er nad yw gogoniant Duw a lles yr eglwys yn ngolwg y rhagrithiwr yn ei gyflawniadau crefyddol, eto y mae y Duw mawr yn eu goruwch-lywodraethu i'r dybenion hyn. Mae efe yn gwneyd i'r diafol ei hun wasanaethu llawer iawn er

lles ei blant yn bersonol, a'r eglwys yn gyffredinol yn y byd. Yn troi uffern yn ogoniant i'r nefoedd.

Prif nod rhagrithwyr yn gyffredinol yw eu henwau eu hunain yn mhob peth, ac wrth wneyd y cwbl gyda chrefydd; eto y mae yr Arglwydd yn troi yr amcan i ddyrchafu eu henwau eu hunain, yn glod ac yn fawl i'w enw ei hun. Mae llawer o bregethwyr yn gwasanaethu fel pynt i gario eraill drosodd, ac yn syrthio yn bwdr i'r afon eu hunain. Maent fel llusernau i oleuo eraill ar noson dywyll, ond pan godo haul nid ydynt yn werth dim ond eu taflu o'r golwg. Maent yn ddefnyddiol mewn tywyllwch i eraill, ac yn y diwedd yn myned i dywyllwch tragywyddol eu hunain. Mae llawer o bregethau ag sydd yn toddi ac yn maethu y saint, yn caledu y pregethwyr sydd yn eu traddodi; yn eu llanw â gwynt a balchder, nes "ymchwyddo a syrthio i ddamnedigaeth diafol." O Arglwydd, gwared ni; canys os unwaith yr ymgaledwn wrth drin yr efengyl, dyna y caledwch gwaethaf. Pwy ar y ddaear sydd haner mor galed a rhyfygus a phregethwr annuwiol? y dyn y mae pob pregeth yn ei galedu, y dyn sydd yn cymhell ar eraill bethau nad ydyw yn eu credu ei hunan; y dyn sydd yn rhybyddio eraill am y farn, ac yn byw yn dawel yn y pechodau mwyaf gwarthus; mae y dyn hwn yn ddigon caled i gyflawni pob drygioni dan glogyn crefydd a gweinidogaeth y gair, nes o'r diwedd y mae yn rhy frwnt ac anaddas i fod mewn un gymdeithas, nac mewn eglwys na byd. Nid yw yn addas i'r tir na'r domen; y mae yn annghymhwys i bob man ond ei fwrw i blith cythreuliaid. Eto gall fod llawer wedi eu hachub byth, a derbyn cysuron cryfion trwy ei athrawiaeth ef; ei dalentau wedi eu defnyddio dros dymhor gan yr Arglwydd, ac wedi gwrthod ei berson am dragywyddoldeb. Och! y fath sefyllfa andwyol ac ofnadwy!

(2.) Y mae yr Arglwydd yn goddef rhagrithwyr yn ei dŷ i gadw ei bobl yn wyliadwrus ac yn effro. "Na fydd uchelfryd, eithr ofna." Os yw yn beth tebyg y collir miloedd o ddynion sydd yn ymarfer â dyledswyddau crefydd gyda chysondeb a diwydrwydd, pa mor selog a gwyliadwrus a ddylwn i fod, rhag bod yn un o honynt? Ni thrig rhagrith yn yr un galon a sel ac eiddigedd duwiol. Nid yw calon eiddigeddus byth yn galon dwyllodrus. Felly, fy nghyfeillion, byddwch yn selog ac yn wresog yn ngwasanaeth yr Arglwydd; ac arswydwch rhag myned yn oer mewn crefydd, ac heb fod genych

ddim ond ffurfioldeb ac anffrwythlondeb. Nid oes dim gwres mewn rhagrith; mae yr holl ddyledswyddau yn oerion; nid oes yr un haf byth; gauaf tragywyddol ydyw o hyd. Nid oes gwres ond lle y byddo bywyd neu dân; eithr mewn rhagrith nid oes dim ond lluniau pob peth, heb rinweddau dim. Diangfa rhag crefydd ddrwg; diangfa rhag bod yn debyg o fod yn ol.

(3.) Y mae rhagrithwyr yn cael eu goddef yn yr eglwys er egluro a dangos i'r saint nad oes dim mewn dyledswydd, ond dyledswyddau. Pe byddai pawb ag sydd yn ymarfer â dyledswyddau crefyddol yn gadwedig, byddem yn dueddol i feddwl mai dyledswyddau yw y cwbl; eithr y mae hyn yn peri i ni ddysgwyl rhyw beth mewn dyledswyddau uwchlaw dyledswyddau. Nid yw dyledswydd yn ddyben dyledswydd; am hyny y mae yn rhaid edrych y tu hwnt ac uwchlaw ymarferiadau allanol. Yr ydych yn arfer dyledswyddau crefyddol er mwyn cyrhaedd rhyw ddyben trwy hyny—uwch na hwy eu hunain. Nid er mwyn siarad yr ydych yn myned ar eich gliniau, ond siarad â Duw; nid er mwyn *exercise* yr ydych yn myned i'r cwrdd, ac er mwyn eistedd i lawr yno wedi hyny am ddwy awr, ond cwrdd â Duw; nid er mwyn bwyta yr ychydig fara ac yfed yr ychydig win yr ydych yn myned i'r cymun, ond i fwyta cnawd Mab y dyn, ac yfed o'i waed ef. Gellwch gyflawni y dyledswyddau yn ddichlynaidd, ymarfer a phob peth yn weddus ac mewn trefn, dechreu a dybenu yn brydferth, a syrthio i blith cythreuliaid heb ddim yn y diwedd. Mae yn rhaid fod y rhai sydd yn myned i'r nefoedd yn gwneyd ychwaneg yn eu dyledswyddau crefyddol na'u harfer yn allanol yn unig. Y mae rhyw beth, fy nghyfeillion, o'r golwg mewn crefydd, y tu hwnt yn mhell i'r ddyledswydd allanol; a moddion i gyrhaedd hyny yw yr holl ddyledswyddau a'r arferiadau crefyddol sydd genym.

(4.) Y mae rhagrithwyr yn cael eu goddef er dylanwadu ar y saint i geisio mwy o sicrwydd ar eu mater tragywyddol. Pe byddai y mân angorau hyn yn dal yn weddol yn yr ystormydd, fe allai y byddai y saint yn dawel heb ymdrech i fwrw rhai cryfach allan. Eithr gan fod llawer yn cael eu bwrw ac yn tori, y mae hyn yn peri i ddynion godi ati, a thaflu angor digon cryf at yr hyn sydd o fewn y llen. Nid yw y rhagrithwyr yn gwybod dim am lafur caled, a gweddiau taerion, a dagrau heilltion, am i'r Arglwydd eu bendithio â mwy o arwyddion sicrwydd. Na, rhyw dir mae y credadyn

yn rhodio wrtho ei hun yw hwn; nid yw rhagrith yn myned mor bell a hyn mewn crefydd. Peidiwch a gorphwys, fy nghyfeillion, peidiwch a rhoddi llonydd i Dduw, nes cael profion sicr o gadwedigaeth. Gan fod y peryglon mor fawr, a chan fod miloedd yn cwympo i drueni byth o eglwys Dduw, cloddiwch, nac arbedwch un drafferth, ewch yn ddwfn iawn, nes teimlo eich eneidiau ar y graig dragywyddol na syfl byth. Bendigedig, yr wyf yn teimlo weithiau y graig, y sylfaen safadwy, o dan fy enaid tlawd yn nghanol holl dywyllwch y byd hwn, a'r byd crefyddol, a phob peth; nes wyf yn teimlo ar fy nghalon i waeddi, "Ni ddemnir fi byth." Gogoniant! Os yw pob peth arall yn siglo, y mae Craig yr oesoedd yn safadwy. Nid oes genyf ddim ond "bratiau budron;" dyna yw fy holl gyfiawnderau, fy holl grefydd, fy holl ddyledswyddau.

Yn noeth, heb ddim o'm heiddo fy hun, yr wyf am bwyso ar y sylfaen a osododd Duw yn Sïon. Mae miloedd wrth bwyso ar eu gweddiau, eu cymuno, a'u defosiynau, yn syrthio o'u canol, a chael eu colli yn oes oesoedd. Fe fydd satan yn temtio y saint yn fynych i adael gweddio yn hollol, gan fod cynifer yn cael eu colli a fu yn gweddio; gan eu perswadio nad oes yr un sail am eu cadwedigaeth hwythau ychwaith. Mae yn dywedyd, "Gall dynion weddio, a chael eu damnio yn dragywydd; gallant ymarfer â dyledswyddau crefydd, a bod yn golledig am byth; gallant gymuno, ac wedi y cwbl syrthio i uffern i blith y cythreuliaid. Am hyny pa ddefnydd ydyw i chwi alaru? Cymerwch eich rhyddid, mwynhewch ychydig o gysuron y byd tra yr ydych yn byw ynddo, ni ellwch fod yn waeth na chael eich damnio yn y diwedd wedi hyny. Ac y mae llawer iawn wedi eu hachub ar yr unfed awr ar ddeg, pan y mae eraill a fu yn grefyddol trwy eu hoes yn cael eu bwrw ymaith." Mae hyn i gyd yn ddigon gwir, satan, ond pe na bai un nefoedd i gael y mae yn rhaid i'r duwiol weddio; ei fara ydyw yn y byd hwn. Eto, os ydyw yn methu llwyddo gyda hwynt i adael gweddio yn hollol, a rhoi i fyny ymarfer â dyledswyddau crefydd yn llwyr; os ydyw yn eu gweled yn benderfynol ac yn ddiysgog i lynu wrth eu proffes, er iddynt fethu a myned i mewn i'r bywyd yn y diwedd, y mae yn eu dwrdio, eu temtio, a cheisio rhwystro eu cerddediad hyd y gallo, a pheri iddynt deithio tua'r bywyd mor drymlwythog ag y mae yn bosibl. Mae yn gwneyd ei oreu i lanw ac i lwytho yr enaid tlawd ag ofnau, amheuon, ac â gwan feddyliau, i'r dyben o'i wanychu a'i ddi-

ffrwytho gyda gwaith yr Arglwydd. Dywed wrthynt, "A ellwch chwi wneyd ychwaneg na hwn a hwn? ac eto rhagrithiwr oedd hwnw." Fe allai y dywed wrthynt hefyd, "Na, nis gelli wneyd yr haner cymaint, canys nid oes genyt y fath ddoniau, y fath gymhwysderau, a'r fath dalentau i wasanaethu yr Arglwydd. Nid oes obaith yn y byd y cedwir di, canys y mae eraill wedi gwneyd mwy ddeg o weithiau nag sydd yn bosibl i ti wneyd byth, ac yn rhagrithwyr." Fel hyn mae satan yn ymdrechu ac yn ymorchestu i rwystro pobl Dduw, a pheri iddynt anobeithio am eu sefyllfa dragywyddol.

Y mae diafol yn fynych yn dyfod yn y blaen â chwympiadau proffeswyr gau er mwyn eu digaloni. Mae y byd hefyd yn ymuno ag ef yn hyn, ac yn dywedyd yn wyneb rhyw gwympiadau mawrion, "Yr un fath ydynt i gyd." Mae pawb yn cael eu condemnio o herwydd cwymp un dyn. Rhesymu drwg yw hyn; twyll-resymu; y mae yn rhy wael i ddynion call i'w arfer; eto pan y byddo gelyniaeth yn llon'd y galon at ryw beth, arferir twyll a chelwydd, a phob arfau annghyfiawnder, pan na ellir cael dim fyddo yn well. Os bydd dyn digrefydd yn lleidr neu yn llofrudd, a ydyw yn rheswm dywedyd, Y mae pob dyn digrefydd ag sydd yn y byd yr un fath. Lladron a llofruddion ydynt oll. Nid oes yr un dyn onest yn eu plith. Byddai y byd yn condemnio hyn fel y ffolineb penaf, ac yn edrych ar bwy bynag a ddywedo y cyfryw bethau yn ynfyd. Ynfydrwydd yw i chwithau ddywedyd, o herwydd fod rhai crefyddwyr yn ddrwg, mai dyna y fath rai ydynt i gyd. Mae y peth yr un mor annghariadol i chwi ddywedyd felly am danom ni â phe baem ni yn dywedyd felly am danoch chwi. Ymaith â thwyll-resymu o'r natur hyn. Yr ydych yn condemnio crefydd o herwydd fod rhai o'i phroffeswyr yn annghywir; ac yn taflu llaid i'w gwyneb o herwydd fod ambell ragrithiwr yn cwympo i bechodau rhyfygus, ac ambell ddyn duwiol hefyd. Yr un peth yw dywedyd fod rheolau moesoldeb yn ddrwg o herwydd fod dynion drwg yn eu troseddu; a'r efengyl ei hunan yn ddrwg am fod dynion yn ei hannghredu,—fod yr aur i gyd yn ddiwerth am fod rhai *counterfeits*. Ah, y mae satan yn gwybod fod aur pur i'w gael yn yr eglwys, mai nid *counterfeits* yw y cwbl. Mae yn wir fod ambell *counterfeit* yn awr ac eilwaith yn dyfod i'r golwg; ond beth yw ambell un at y llawer o aur pur sydd yno? Y mae crefydd, fy nghyfeillion, yn cael

mwy o'i chablu o herwydd twyll un nag yw yn ei gael o ganmoliaeth a chlod o herwydd onestrwydd deg. Y mae yn cael mwy o anfri o herwydd cwymp un, a hwnw yn ddyn digon gwael, nag y mae yn ei gael o fri o herwydd ymlyniad miloedd yn ffyddlon a diysgog. Dywedodd Nathan wrth Dafydd idd ei gwymp echryslawn beri i "elynion yr Arglwydd gablu." Cafodd Duw fwy o ddianrhydedd o herwydd aflendid Dafydd na holl ffieidd-dra Sodom. Y mae satan yn cymeryd mantais oddiwrth ryw gwymp fel hyn i berswadio y saint gweiniaid fod yn ofer iddynt hwy feddwl am sefyll, yn gymaint a bod dynion mor gryfion ac enwog wedi methu.

Y mae yn naturiol i ddyn ofni peryglon; ac y mae satan yn dywedyd, "Beth! rhedeg cynifer o beryglon ofnadwy, ac anhawsderau mawrion, ac fe allai yn ofer yn y diwedd? Beth! anturio i'r môr sydd a'i donau yn rhuo, a sefyll tywydd garw am amser maith, a myned yn llong-ddrylliad yn y diwedd? Y mae y gelyn diafol fel hyn yn cryfhau rhagfarn dynion yn erbyn ffyrdd Duw o herwydd rhagrithwyr ac esiamplau drwg proffeswyr llygredig, ac yn eu gyru yn y blaen yn eu ffyrdd drygionus fwyfwy, gan beri iddynt feddwl nad oes dim mewn crefydd. Ond na rwystrer chwi er dim; os oes rhai drwg, arnynt hwy fydd hyny, ceisiwch chwi ddianc byth gan eich Barnwr. Beth sydd a fynoch chwi ag eraill i ymrwystro wrthynt? "Ffowch am eich einioes." Os ydych am edrych ar rwystrau, ac ymrwystro wrthynt, cewch ddigon o hyny yn mhob man. Y mae Crist ei hun, y Pen congl-faen gwerthfawr, yn graig rhwystr i'r rhai sydd yn tramgwyddo wrth y gair, gan fod yn anufudd. "Ac efe a fydd yn noddfa: ond yn faen tramgwydd ac yn graig rhwystr i ddau dŷ Israel, yn fagl ac yn rhwyd i breswylwyr Jerusalem. Megys y mae yn ysgrifenedig, Wele fi yn gosod yn Sïon faen tramgwydd, a chraig rhwystr: a phob un a gredo ynddo ni chywilyddir. Wele, hwn a osodwyd yn gwymp ac yn gyfodiad i lawer yn Israel, ac yn arwydd yr hwn y dywedir yn ei erbyn;" 1 Pedr ii. 8; Esay viii. 14; Rhuf. ix. 33; Luc ii. 24.

Y mae y bobl hyn wedi penderfynu myned i uffern; y maent yn gwrthod ac yn ymrwystro wrth yr unig drefn sydd at gadw dynion. Nid oes dim i wneyd ond i chwithau benderfynu myned yno hefyd gyda hwynt, os ydych yn chwilio am resymau yn erbyn crefydd. Rhesymau at eich damnio byth yw y rhai hyny. Cewch ddigon o resymau yn erbyn

ffydd yr efengyl, a gwasanaeth y Duw byw, os oes arnoch eu heisiau i'r dyben o'ch gwneuthur yn galetach nag ydych, a'ch gwneyd yn gymhwysach i dân uffern. Y rhai a fynant fod yn ddall a wneir yn ddall; y rhai a fynant fod yn galed a wneir yn galetach. "Ac ynddynt hwy y cyflawnir prophwydoliaeth Esaias, yr hon sydd yn dywedyd, Gan glywed y clywch, ac ni ddeallwch, ac yn gweled y gwelwch, ac ni chanfyddwch. Canys brasâwyd calon y bobl hyn, a hwy a glywsant â'u clustiau yn drwm, ac a gauasant eu llygaid, rhag canfod â'u llygaid, a chlywed â'u clustiau, a deall â'r galon, a throi, ac i mi eu hiachau hwynt," Mat. xiii. 14, 15. Mae y bobl hyn yn casâu purdeb ffyrdd yr Arglwydd, a'i wirioneddau santaidd, ac yn llawen pan y mae efe yn cael ei ddianrhydeddu trwy halogedigaeth proffeswyr. Nid yw satan yn prisio cymaint am eich gweddiau a'ch cymuno, ond i chwi fyw yn galed ac yn halogedig yn nghanol hyny. Mae efe yn gwybod na wna eich dyledswyddau crefyddol, y rhai a gyflawnwyd yn hanerog, ddim yn y byd ond gwneyd eich uffern yn boethach o lawer, a'u bod yn sicrhau y lle poethaf a mwyaf llosgedig i chwi yn y poenau tragywyddol. Os i uffern yr ewch wedi ymarfer â gwrando yr efengyl, ac ymarfer â'i hordinhadau, bydd yn dda genych gael newid lle â'r Twrc, neu ryw bagan tywyll na chlywodd am efengyl erioed. Dyn yn myned â chanoedd o weddiau ar ei ben i uffern sydd yn suddo ar unwaith i'r pwll dyfnaf a phoethaf yn y llynclyn llosgedig. Y mae dyledswyddau crefyddol fel tanwydd, yn gwneyd i dân uffern losgi a fflamio i fyny yn fwy dychrynllyd. Pa uchaf y dyrchefir dyn i fyny mewn ymddangosiad crefyddol, iselach fydd byth mewn poenau tragywyddol. Gweddiwch ar y Nefoedd am eich gwared rhag twyll a rhagrith; y mae yn ofnadwy i fyned i'r farn heb y wisg briodas.

Yr wyf yn meddwl fod satan wedi gwneyd ei hun yn sicr o lawer ag sydd yn uchel gyda chrefydd mewn ymddangosiad. Er nad ydynt yn uffern, eto y mae gan ddiafol ymddiried hollol yn eu caledwch, na chyll mo un o honynt byth. Mae ar satan ryw ofn a braw yn nghylch llawer; nid yw yn hollol dawel na chyll efe hwynt ryw dro, ond y mae yn gallu ymddiried y rhai hyn i bob man heb ofni eu colli. Mae efe yn temtio rhai i beidio myned i wrando y gair, rhag ofn iddynt gael eu cipio o'r gyneu dân; y mae perygl os ânt i wrando iddynt gael eu hachub i fywyd tragywyddol. Eithr am ryw rai y mae diafol yn bur dawel o'u plegyd na ddwg

neb hwynt byth allan o'i law ef. Y maent wedi gwrando, a gweddio, a chymuno eu hunain i galedwch barnol, fel y mae satan yn ddiofal yn eu cylch, mewn cyrddau, mewn gweddiau, ac wrth fwrdd yr Arglwydd. Mae y rhai hyn yn *all right. Satan says*, "*His heart is prayer-proof, sermon-proof; I am at perfect ease about him.*" Mae ar ddiafol ofn colli llawer, er mor ddrygionus ac annuwiol ydynt; nid yw yn dawel mewn un cwrdd gweddi na phregeth i'w gadael i rodio yn rhydd heb wyliadwriaeth fanol drostynt. Mae yn gwneyd pob ymdrech i'w cadw o'r cyfryw leoedd; a phan yn methu, yn myned gyda hwynt i' gadw y meddwl yn llawn o ddrain, fel y byddo yr had yn sicr o gael ei dagu. Ond y dyn hwn, y rhagrithiwr, y mae efe wedi ymgaledu mewn ymarferiadau crefyddol, nid oes perygl am hwna byth mwy. Mae satan yn foddlon i ymddiried hwn i bob man, mae ganddo *gonfidence* yn ei gymeriad a'i ffyddlondeb. Caiff fyned i'r ordinhadau gwerthfawrocaf yn ddirwystr; y mae digon o brawf wedi ei gael o hono er ys blynyddau lawer; y mae wedi sefydlu ei gymeriad, y mae wedi llwyddo i sefyll yn galed yn wyneb ordinhadau yr efengyl am lawer o flynyddoedd, ac nid yw yn debyg yr â un saeth byth trwy y caledwch hwnw mwy. Mae yn wir ei fod yn teimlo pangfeydd cydwybod ambell waith; eithr y mae diafol yn ei adael yn llonydd, gan y gŵyr y dychwel i'w hen dymhor drachefn, fel canoedd o weithiau o'r blaen. Mae yn debyg i ddwfr berwedig, yn dychwelyd eilwaith i'w oerfel ond ei adael iddo ei hun. Felly fe ddiffydd y fflam yna yn y gydwybod yn fuan, ac fe ddychwel y galon i'w chaledwch a'i hoerfelgarwch arferol. Mae y dynion sydd wedi poethi ac oeri fel hyn ganoedd o weithiau, mewn sefyllfa o galedwch ofnadwy! Mae syrthiad hollol y cyfryw yn gyffredin yn ofnadwy ac yn anadferadwy.

Y mae yn wir fod cristionogion cywir wedi cwympo lawer gwaith, a chael adferiad wedi hyny, a nerth i fod yn ddefnyddiol gydag achos yr Arglwydd; ond yn anaml y bydd rhagrithiwr yn codi wedi cwymp echryslon. Yn gyffredin gwelwch y cyfryw yn ymdreiglo yn y dom a'r llaid dros weddill yr oes. Fe syrthiodd Pedr; bu ei gwymp yn fawr; ond nid hir y bu yn ymdreiglo yn y pechod; ac yr oedd ei edifeirwch yn fawr, yn cyfateb i'w drosedd; "fe wylodd yn chwerw-dost." Felly adferwyd ef i'r eglwys ac i'w ddefnyddioldeb drachefn. Syrthiodd Judas, ac och! "ei gwymp a fu fawr;" ni chododd byth mwyach! Pa uchaf y sefyllfa,

mwyaf yw y cwymp. Pan syrthier oddiar fryniau uchel dyledswyddau, a mynyddau gweddiau, uchder proffes, oddiar uchelfeydd Sïon, mae y cwymp hwnw y rhan fynychaf yn anadferadwy.

Gristion gwan, pa le yr wyt ti o ran dy deimladau yn wyneb y pethau hyn? Yr wyf yn gwybod y cymer satan fantais oddiwrthynt i dy guro i lawr, a'th yru i anobaith. Bydd satan yn rhoddi y pwys mwyaf ar bechod yn fynych, yn enwedig pan mae yn temtio rhyw greadur gwan i anobeithio. Mae yn dywedyd am santeiddrwydd a glendid natur y Goruchaf, a ffieidd-dra pechod, yn nghyda'r anhawsder i ddyfod i wydd Duw mor bur, a chael maddeuant pechodau ganddo. Yn enwedig y pechodau hyny a gyflawnwyd yn y goleu ac yn erbyn gwybodaeth. Fel hyn y bydd satan yn rhoddi y pwys mwyaf ar bechod, i'r dyben o ddigaloni y credinwyr gwan, a pheri iddynt anobeithio am faddeuant a bywyd tragywyddol. "Taw, diafol: y mae yn wir fod fy mhechodau yn fawr; ond y mae Duw yn faddeuwr mawr; mwy yw Duw na fy nghalon; am hyny, mwy yw Duw na fy mhechodau hefyd. Diafol, er fy mod yn bechadur mawr, nid wyf yn caru fy mhechodau, ac yn eu porthi yn ddirgel o dan glogyn dyledswyddau." Y mae byw mewn pechodau yn berffaith wybodus o honynt, yn gwneyd pechod yn dra phechadurus. Yr oedd yn bechod ofnadwy i groeshoelio yr Arglwydd Iesu, ond yr oeddynt yn hollol anwybodus mai yr Arglwydd ydoedd; yr oeddynt yn ei wneyd o dan yr argyhoeddiad mai twyllwr oedd. "O Dad, maddeu iddynt, canys ni wyddant beth y maent yn ei wneuthur." Mae *meddwl* pechadurus yn erbyn gwybodaeth, yn waeth na *gweithred* bechadurus mewn anwybodaeth. Mae pechodau y rhagrithiwr yn erbyn gwybodaeth, yn erbyn cydwybod, yn erbyn crefydd, yn groes i'r dyledswyddau y mae efe ei hun yn ei harfer, ac yn condemnio y gweddiau y mae efe yn eu gweddio. Y pethau a ddylasai fod yn gysuron, ïe, y cysuron mwyaf, sydd yn troi yn feichiau trymion, ïe, y beichiau trymaf o bob peth. Y gweddiau, y cymuno, y pregethau, yw y gofidiau mwyaf, yn lle y cysuron mwyaf. Bu yr holl ymwneyd â hwynt yn rhagrithiol, ac nid o'r galon. "Pa beth bynag a wneloch, gwnewch o'r galon."

Tra y byddo pen dyn i'r lan yn y byd yma, a'r ymddangosiad allanol yn weddol olygus, y mae ei ofynwyr *tlodion* yn ei adael yn llonydd, ond yn unig gofyn yn wylaidd am

eu harian mewn ffordd weddus ac ymostyngol. Ond unwaith yr ymosodir arno, ac y daw yr amgylchiadau i'r golwg, dyma y mân ofynwyr i fyny yn gawod, ac yn dechreu ymosod arno â'u holl nerth; ac fe allai mai y gofynwyr tlodion ag oedd mor wylaidd a pharchus yn ei adael yn llonydd, gan ymddiried iddo, sydd â'r llaw drymaf arno o lawer. Pan y mae y rhagrithiwr yn rhodio yn ffordd crefydd yn weddol ddifwlch, mae yn cael llonydd da iawn gan satan, cydwybod, a phawb; nid oes dim llawer yn ei aflonyddu. Ond unwaith yr elo i lawr, ac yn methu cyflawni, y mae pawb yn codi ac yn dyfod arno ar unwaith. Hyd y nod ei ddyledswyddau, y rhai y gallesid tybied fuasai ei ffryndiau goreu, sydd yn awr yn gosod y llaw drymaf arno, ac yn rhoddi yr euogrwydd mwyaf ar ei ben. Och! y mae pob gweddi yn fynydd mawr, nid o dano, ond yn gwasgu arno. Y gofidiau sydd yn dyfod o'r manau y dysgwyliwyd cysur yw y gofidiau mwyaf o gwbl. Beth bynag yr ydych yn ei wneyd gyda gwaith yr Arglwydd yn y byd, os nad ydych yn teimlo cysur yn dylifo trwyddo i'ch eneidiau, y mae gofid yn sicr o ddylifo o hono ryw ddydd. Os nad oes ffydd a chariad yn dy grefydd, bydd yn sicr o gael anobaith ynddi cyn hir. Mae anobaith yn rhedeg o'r diwedd o'r manau y dylasai cysur redeg. Gwasanaethasant Dduw er eu mwyn eu hunain, a gwasanaethasant satan er eu mwyn eu hunain; gwasanaethasant y pethau yr oedd hunan a chnawd yn gallu cael mwyaf ynddynt.

Y mae satan yn ennill rhai oddiar Dduw yn fynych trwy gynyg mwy am danynt. *Satan outbids the Lord often-times.* Mae diafol yn codi pris y farchnad, ac yn prynu y rhagrithiwr at ei wasanaeth ef. Yr uchaf geiniog a'i piau ef. Yr elw mwyaf i gnawd. Mae satan yn gosod aml bregethwr yn gapelwr mammon, ac yn offeiriad y cythraul. Gwasanaethodd Demas yr Arglwydd i ddybenion bydol, eithr y mae satan yn cynyg ychwaneg am dano, sef yn dal allan fwy o elw i gnawd, fwy o le i gnawd gael chwareu; y mae y diafol yn ei gael, dacw ef yn troi ei gefn yn y fynyd ar wasanaeth yr Arglwydd, ac yn cymeryd yr arian gan ddiafol. Felly y mae yn troi yn offeiriad eilun-addolgar i satan, ac yn myned ymaith i Thessalonica i wasanaethu y swydd. Mae y diafol wedi codi ei *salary;* y mae wedi cael *promotion* o'r pwll diwaelod, ac y mae cnawd yn cael lle bras i wledda ar hyny bellach. Mae miloedd ar *sale* yn awr; y cynyg uchaf aiff â hwy. Y dyn ag sydd yn gwasanaethu Duw

am y byd, neu am fod gwasanaeth Duw yn fwy manteisiol i'w lygredigaethau ar y pryd, a wasanaetha y diafol hefyd am yr un peth. Yr hwn sydd yn gwasanaethu Duw am ychydig o hunan, sydd yn sicr o adael Duw os gall gael gwell lle, ac ychwaneg o dâl gan ddiafol. Mae dynion yn fynych yn gadael eu gwaith a'u meistriaid, ond i rywun arall gynyg gwell cyflog iddynt. Caru y gyflog mae y dynion, nid caru y meistriaid, na'r gwaith ychwaith. Mae satan yn dymuno cael gwasanaeth y cyfryw ddynion, ac y mae yn gwneuthur pob peth i'r dyben o'u sicrhau. Hwy yw y gweision mwyaf ffyddlon o neb i ddiafol, ag sydd wedi bod yn gwasanaethu crefydd er eu mwyn eu hunain. Nid oes milwyr ffyddlonach ar y maes na'r rhai sydd wedi troi eu cefnau ar eu brenin, a rhedeg drosodd at y gelyn. Nid oes ofn yn nghylch eu colli hwynt drachefn; gan eu bod yn frad-ychwyr y mae arnynt arswyd troi yn ol eilwaith. Mae clust-iau gwrthgilwyr wedi eu tyllu, er arwyddo ymostyngiad hollol ac ufudd-dod llwyr i'r tywysog du.

Pechodd yr angylion, y rhai ni chadwasant eu dechreuad, yn erbyn y fath oleuni dysglaer, fel na adferwyd hwynt byth; felly y rhai hyn hefyd, fel yr angylion, sydd wedi pechu yn erbyn y fath oleuni grasol; nid yw ond dygwydd iddynt gael eu hadferu yn dragywydd. Y goleu na ddarfu eu cadw rhag pechu, ni lwydda ychwaith i'w hadferyd o'u pechodau. Maent wedi pechu yn "wirfoddol ar ol derbyn gwybodaeth y gwirionedd," ac wedi dewis satan, yr hwn y gwyddent ei fod yn ddrygionus, o flaen Duw, yr hwn y gwyddent ei fod yn gyfiawn a da. Nid yw satan yn fwy sicr, nac mor sicr o neb, a'r cyfryw ag sydd yn eiddo iddo o'u dewisiad eu hunain, wedi cael prawf o'r goleu. Mae y rhai hyn wedi dewis diafol oddiar brofiad, ac oddiar gasineb at eu meistr blaenorol. Y dyn sydd yn ngwasanaeth satan, heb erioed gael prawf o wasanaeth yr Arglwydd, y mae rhyw obaith am ei ddychwel-iad; ond ar ol profi gwasanaeth yr Arglwydd, a throi yn fwriadol i wasanaethu satan, gan ddewis pleserau pechod o flaen y pleserau sydd mewn crefydd; mae dyn felly, yn debyg o wneyd gwas ffyddlon i'w chwantau, ac yn debyg iawn o fod wedi ymwerthu i'r cythraul. Mae yn wir ein bod wedi ein gwerthu i bechod yn Adda, ond yma y mae dyn yn y goleu yn bwyllog ac yn fwriadol yn cadarnhau y fargen â'i law ei hun. Mae efe yn gwneyd gwerthiant newydd o hono ei hun, ac yn cytuno am bris. Y tad werthodd gynt, ond

yn awr mae y mab yn dyfod i'w oed, ac yn arwyddo â'i law ei hunan, "Eiddo diafol ydwyf fi." Felly mae y tad diafol yn bur dawel yn nghylch hwn, ac yn edrych arno fel un o'i offerynau mwyaf defnyddiol a phwrpasol. Nid ydyw yn aflonyddu y bobl hyn gyda'u crefydd am dro, yn gymaint ag y mae bod yn grefyddol yn rhag-barotoad ac yn gymhwysder i'w wasanaeth ef mewn amser dyfodol.

Mae gan y cythraul, fel y Pabyddion, ei Jesuitiaid yn nhŷ Dduw yn wastad ar y *look-out*, ac yn chwilio cyfleusderau manteisiol i gyflawni eu hamcanion melldigedig. Mae diafol fel pe bai yn gadael dynion fel hyn yn llonydd i ymgaledu yn raddol, fel y byddont yn fwy cyfarwydd a chymhwys at ei wasanaeth ef. Maent ar eu *prentis* yn nhŷ Dduw i fod yn beirianwyr mwy medrus i ddiafol; yn fwy uffernol, ac yn fwy eu malais yn erbyn yr Arglwydd a'i achos yn y byd. Mae satan yn gwybod o'r goreu mai *deserters* o fyddin Iesu Grist fydd ei filwyr goreu ef, gan mai hwy yw gelynion penaf y Gwaredwr a'i deyrnas. Hwy yw ysbiwyr tywysog yr awyr, y rhai sydd yn nodi allan fanau gwan yr eglwys, ac yn gwneyd yr ymosodiadau mwyaf ofnadwy. Hwy yw y cablwyr gwaethaf; ïe, y maent wedi eu gosod yn fflam gan dân uffern. Cythreuliaid wedi ymgnawdoli ydynt, ysbrydion y pwll diwaelod yn nghrwyn dynion. Dyma brif *champions* y gelyn diafol. Dyma *grenadiers* byddin ddu y tywyllwch. Maent wedi pechu ymaith gydwybod, goleu yr efengyl, naturiaeth, teimladrwydd, a phob tynerwch meddwl. Nis gellwch ddysgwyl dim daioni oddiwrth y cyfryw. Nid oes gleddyf mewn bod mor finiog ac awchus a'r eiddynt hwy, yr hwn sydd wedi ei awchu ar drothwy tŷ yr Arglwydd. Nid oes un pin ysgrifenu mor wenwynig a'r eiddynt hwy, yr hwn sydd wedi ei drochi yn ngwaed eu cydwybodau eu hunain. Nid oes neb yn hwylio mor gyflym i uffern a'r hwn sydd wedi gwneyd llong-ddrylliad am y ffydd. Yr oeddynt er ys ychydig yn ol "*fel fy mhobl;*" eithr yn awr fel y cythreuliaid; mae y *mask* wedi ei dynu ymaith. Yr Arglwydd a roddo grefydd dda i chwi, fy nghyfeillion. Gweddiwch am iddo eich gwneyd nid "fel ei bobl," ond *yn* bobl, y rhai a fydd "byth yn gadwedig."

## PREGETH XIII.

### ATHRAWIAETH Y DRINDOD.

"Gras ein Harglwydd Iesu Grist, a chariad Duw, a chymdeithas yr Ysbryd Glân, a fyddo gyda chwi oll. Amen," 2 Cor. xiii 13.

Y MAE yr apostol Paul, a Pedr hefyd, yn dechreu a diweddu eu hepistolau gyda "Gras ein Harglwydd Iesu Grist;" ond y mae diweddglo yr epistol hwn yn llawnach ac yn gyfoethocach nag un o'r lleill. Mae yr apostol yma nid yn unig yn dywedyd, "Gras ein Harglwydd Iesu Grist," ond hefyd, "cariad y Tad, a chymdeithas yr Ysbryd Glân." Y mae yr apostol yn dechreu yr epistol at y Rhufeiniaid gyda dymuno, "Gras a thangnefedd oddiwrth Dduw ein Tad, a'r Arglwydd Iesu Grist;" ac yn diweddu gyda "Gras ein Harglwydd Iesu Grist a fyddo gyda chwi oll. Amen." Ac felly y mae yn dechreu ac yn diweddu ei holl epistolau yn agos yn yr un geiriau. Y diweddglo cyfoethocaf a mwyaf cyflawn yw geiriau y testun. Mae cariad cryf a theimladau tyner yr apostol tuag at yr eglwys yn Corinth yn cael eu hamlygu yn rymus yn y testun, yn nghyda'r adnod flaenorol i'r testun. Y mae efe yn gweddio yn daer drostynt; ac yr oedd yn anmhosibl i'w galon ddychymygu byth weddi mwy cyfaddas a chyflawn i weddio dros blant anwyl. Mae ei agwedd wrth ffarwelio â'r eglwys yn niwedd yr epistol yn debyg iawn i gyfeillion hoff yn anhawdd ganddynt ymadael â'u gilydd, yn ysgwyd dwylaw eilwaith ac eilwaith. Wedi dywedyd ffarweliwch unwaith, y maent yn siarad eilwaith ryw ychydig, ac yn ffarwelio drachefn, ac yn dyblu a threblu cyn ymadael yn lân. Maent yn methu cael eu hunain yn rhydd oddiwrth eu gilydd er ymdrech; y maent bron yn annghydwybodol yn ysgwyd dwylaw, ac yn methu datod y rhwymau. Ond o'r diwedd y maent yn penderfynu, ac yn troi eu cefnau ar eu gilydd mewn teimladau hiraethog. Felly yr apostol Paul yn yr adnodau blaenorol; eithr yn y testun y mae fel yn troi ei gefn ac yn ymadael mewn tristwch, gan ddymuno i Dduw Dad, Duw y Mab, a Duw yr Ysbryd Glân i fod gyda hwynt oll. Chwi welwch yr apostol yn adn. 11 yn ffarwelio â hwynt, a gallasech feddwl ei fod y pryd hwnw yn ymadael. "Bellach, frodyr," eb efe, "byddwch wych. Byddwch berffaith, dyddaner chwi; syniwch yr un peth, byddwch heddychol; a Duw y cariad a'r heddwch a fydd gyda chwi."

*Farewell verse* yw hon. Pa le y mae efe yn awr? A ydyw yn myned i'w gadael yn llwyr? Na, wele ef yn troi yn ol megys oddiar y trothwy; y mae yn rhaid ysgwyd dwylaw eto cyn ymadael. Yn adnod y testun y mae yr ysgydwad mwyaf cynes a welsoch erioed; y mae yn edrych yn eu hwynebau mor siriol, ac yn gwasgu eu dwylaw mor galed, ac yn dymuno tair rhodd fawr iddynt, oddiwrth y tri Pherson yn y Drindod; ac yn selio ei ddymuniadau â chalon wresog. "Er fy mod i yn gorfod ymadael â chwi, O arosed gyda chwi 'ras Crist, cariad y Tad, a chymdeithas yr Ysbryd Glân.'" Nid yw yn bosibl i enaid ddymuno bendithion mwy na'r rhai hyn ar y ddaear, nac yn y nefoedd ychwaith. Nid oes eisiau ond y rhai hyn i wneyd eich llafur ar y ddaear yn gysurus, ac i berffeithio eich gorphwysfa yn y nef. "Gras ein Harglwydd Iesu Grist, cariad y Tad, a chymdeithas yr Ysbryd Glân fyddo gyda chwi oll. Amen."

Nid yw yr apostol yn gweddio am iddynt gynyddu mewn golud, enwogrwydd daearol, nac mewn doniau ac anrhydedd yn yr eglwys ychwaith; yr oeddynt eisoes yn rhagori ar y rhan amlaf o'r eglwysi yn y doniau hyn. Yr oedd yr apostol yn gwybod mai *gras* mawr, ac nid *doniau* mawr, oedd yn hanfodol i'w hiachawdwriaeth. "Canys i un trwy yr Ysbryd y rhoddir ymadrodd doethineb; ac i arall ymadrodd gwybodaeth, trwy yr un Ysbryd; ac i arall ddawn i iachau, trwy yr un Ysbryd; ac i arall wneuthur gwyrthiau; ac i arall brophwydoliaeth; ac i arall wahaniaeth ysbrydoedd; ac i arall amryw dafodau,; ac i arall gyfieithiad tafodau. A'r holl bethau hyn y mae yr un a'r unrhyw Ysbryd yn eu gweithredu, gan ranu i bob un o'r neilldu megys y mae yn ewyllysio," 1 Cor. xii. 8—11. Nid y doniau hyn, fy nghyfeillion, ond gras sydd i fod yn destun caniadau y nef. Mae yn bosibl i chwi gael y rhai hyn, a bod yn mysg cythreuliaid yn y diwedd, canys hwy a gollir, hwy a gwympant ymaith, gan eich gadael heb ddim byth o'u plegyd hwy. Am hyny y mae Paul yn gweddio am iddynt gael y pethau penaf sydd gan Dduw; yr oedd hyny yn egluro ei gariad diffuant atynt. Gras ein Harglwydd Iesu Grist fyddo gyda chwi oll, cariad y Tad fyddo gyda chwi oll, cymdeithas yr Ysbryd Glân fyddo gyda chwi oll. Amen. Y pethau fydd gyda chwi byth yw y rhai hyn, os cewch afael arnynt. Yr oedd yr apostol fel pen-saer celfydd, yn ofalus am osod sylfaen cadwedigaeth dyn i fywyd tragywyddol yn dda i lawr. Mae efe yn seilio

y cwbl mewn rhad ras, fel y clywch. Gras ein Harglwydd Iesu Grist, gras y Tad, gras yr Ysbryd Glân: gras yw y dechreu. Bendigedig! y mae fy enaid inau bron mewn hwyl i ymuno â'r apostol i ddywedyd, Amen; felly y byddo; yr wyf yn foddlon i'r drefn rasol.

Trwy ras ac mewn gras y mae yr adeilad yn cael ei chario yn y blaen; nid yn unig y mae yn cael ei sylfaenu mewn gras, ond hefyd y mae gras yn rhedeg drwyddi i gyd; a gras yw ei gorpheniad gogoneddus. Gras yw y dechreu, gras yw y canol, gras yw y diwedd. Gogoniant! mae y cwbl o ras. Mae y gareg gyntaf, y sylfaen, yn ras; y mae yr holl geryg adeiladu yn wrthddrychau gras; y mae y maen penaf yn ras. Clod byth am drefn i achub fy enaid tlawd yn gyfangwbl o ras. Fy unig obaith, fy nghyfeillion, am ddiangfa, yw bod cadwedigaeth i gyd o ras. Mae yr apostol yn ffurfio ei epistol yn ol cynllun trefn gras; y mae efe yn dechreu, yn dwyn yn y blaen, ac yn dybenu mewn gras. Y mae efe yn dymuno mewn gweddi i eglwys Corinth y pethau y mae yr Arglwydd hefyd yn ewyllysio eu cyfranu i'w bobl. "Llefarodd yr Arglwydd hefyd wrth Moses, gan ddywedyd, Llefara wrth Aaron ac wrth ei feibion, gan ddywedyd, Fel hyn y bendithiwch feibion Israel, gan ddywedyd wrthynt, Bendithied yr Arglwydd di, a chadwed di; a llewyrched yr Arglwydd ei wyneb arnat, a thrugarhaed wrthyt. Dyrchafed yr Arglwydd ei wyneb arnat, a rhodded i ti dangnefedd. Felly y gosodant fy enw ar feibion Israel, a mi a'u bendithiaf hwynt," Num. vi. 22—27. Sylwn ar dri pheth oddiwrth y testun hwn.

I. Athrawiaeth y Drindod.

II. Y bendithion sydd yn dylifo i'r eglwys oddiwrth yr athrawiaeth hon.

III. Esiampl yr apostol i holl weinidogion yr efengyl. Y mae efe yn gweddio yn ddifrifol dros yr eglwysi, ac yn gofalu yn wirioneddol am danynt.

I. Athrawiaeth y Drindod. Y mae yr apostol yn y testun yn coffâu y tri Pherson bendigedig; y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân. Mae y tri Pherson santaidd a goruchel yn cael eu desgrifio hefyd yn cyd-weithio yn ein hiachawdwriaeth. Mae yn ofnadwy fod athrawiaeth mor ogoneddus a hon, sydd wedi ei datguddio mor oleu yn y Bibl, yn cael ei chablu a'i sarnu gan ddynion. "Beth os annghredodd rhai? a wna eu hannghrediniaeth hwy ffydd Duw yn ofer?" Rhuf. iii. 3. Na wna byth: "Bydded Duw yn eirwir, a phob dyn yn gel-

wyddog." Gyda pharch ymdrechwn sylwi ychydig ar yr athrawiaeth bwysig a gogoneddus hon. Mae hi yn dyfod i'r golwg mewn cysylltiad â holl weithredoedd Duw, mewn natur ac mewn iachawdwriaeth.

1. Y mae lluosogrwydd o bersonau yn ymddangos mewn cydweithrediad yn nghreadigaeth y byd. "Duw hefyd a ddywedodd, Gwnawn ddyn ar ein delw ni, wrth ein llun ein hunain," Gen. i. 26.

2. Yn ngwaith yr iachawdwriaeth y mae y naill a'r llall yn cael eu datguddio yn fwy amlwg, yn gweithredu yn eu gwahanol swyddogaethau. Y mae yn ymddangos fod rhyw beth gan y naill a'r llall i'w wneyd er perffeithio trefn gras. Mae Crist yn cael ei fedyddio, mae yr Ysbryd Glân yn disgyn fel colomen, ac yn aros arno ef; a'r Tad yn dywedyd, "Hwn yw fy anwyl Fab."

3. Y mae yr Arglwydd Iesu yn coffâu enwau y Tad a'r Ysbryd Glân yn ei weddiau; ac y mae efe yn priodoli i'r naill a'r llall ryw waith mawr a phenodol yn nhrefn yr achub. "A mi a weddiaf ar y Tad, ac efe a rydd i chwi Ddyddanydd arall, fel yr aroso gyda chwi yn dragywyddol," Ioan xiv. 16.

4. Y mae Crist yn selio awdurdod yr apostolion i bregethu yr efengyl ac yn eu danfon allan yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân. "Ac wele, yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd," Mat. xxviii. 19, 20.

5. Y mae yr apostolion, wrth ddatgan bendith a dymuno llwyddiant i'r eglwysi yn gwneyd hyny yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân. Felly y mae Paul yn y testun, yr hwn fu yn *academy* y drydedd nef, ac a welodd bethau "annhraethadwy a gogoneddus." Eto y mae hyn yn ddigon gogoneddus i'w siarad yno, ac wedi dyfod oddiyno, a chyn myned yno. "Gras ein Harglwydd Iesu Grist, cariad y Tad, a chymdeithas yr Ysbryd Glân." Y mae Ioan, y dysgybl anwyl, yr hwn oedd yn arfer pwyso ar fynwes yr Iesu, ac a wyddai fwy o'i *secret* na holl Ariaid y byd a'u gosod gyda'u gilydd, yn tystiolaethu yn oleu am y mater gogoneddus hwn. "Oblegyd y mae tri yn tystiolaethu yn y nef; y Tad, y Gair, a'r Ysbryd Glân: a'r tri hyn un ydynt," 1 Ioan v. 7.

Yn awr, wedi i ni ddweyd ychydig am y Drindod, ni a ddywedwn ychydig yn nesaf am Dduwdod y Mab a'r Ysbryd Glân. Mae dwyfoldeb y Tad yn cael ei ganiatau yn gyffredinol gan y rhai sydd yn gwadu Duwdod y Gair a'r Ysbryd Glân; ac nid oes arnom ni eisiau cymeryd amser i brofi

pethau nad ydynt yn cael eu gwadu. Fod yr Arglwydd Iesu yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd, ac yn ogyfuwch â'r Tad a'r Ysbryd Glân, sydd yn bwnc hanfodol i'n hiachawdwriaeth; o ganlyniad y mae yn anhebgorol angenrheidiol i ni ei gredu, a phwyso arno.

1. Y mae tystiolaethau yr ysgrythyrau santaidd yn bendant ac yn oleu fod yr Arglwydd Iesu yn Dduw. "Canys bachgen a aned i ni, mab a roddwyd i ni, bydd y llywodraeth ar ei ysgwydd ef; a gelwir ei enw ef, Rhyfeddol, Cynghorwr, y Duw cadarn, Tad tragywyddoldeb, Tywysog tangnefedd. Ar helaethrwydd ei lywodraeth a'i dangnefedd ni bydd diwedd, ar orseddfa Dafydd, ac ar ei freniniaeth ef, i'w threfnu hi, ac i'w chadarnhau â barn, ac â chyfiawnder, o'r pryd hwn a hyd byth. Sel Arglwydd y lluoedd a wna hyn," Esay ix. 6, 7. Mae Duw wedi ymddangos yn y cnawd: "Y gair a wnaethpwyd yn gnawd; ac a drigodd yn ein plith ni (ac ni a welsom ei ogoniant ef, gogoniant megys yr uniganedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd)," Ioan i. 14. Datguddiad yw yr efengyl o Dduw wedi ymddangos yn y cnawd; mae y dirgelwch hwn yn fawr, ond y mae y datguddiad yn eglur. Mae natur yn datguddio Duw, ac y mae y gyfraith santaidd hefyd yn ei ddatguddio, mewn mawredd, uchafiaeth, cyfiawnder, a santeiddrwydd, yn Dduw eiddigus, ac yn llawn digofaint yn erbyn pechod. Mae efe yn eistedd yn y gyfraith ar orseddfainc wen fawr, yn Farnwr y byd. Eithr gogoniant yr efengyl dragywyddol yn llaw yr Ysbryd Glân sydd yn ei ddatguddio yn "Immanuel, Duw gyda ni." Y Duw cyfiawn a santaidd, ac eto ein Ceidwad ni, ïe, ein cyfaill goreu ni. Mae natur yn datguddio bod Duw, ond y mae y Bibl yn datguddio y Duw hwnw yn Drindod o bersonau, ac yn ei ddatguddio yn Dduw mewn cnawd, wedi ymddangos yn ein byd, ac yn ein lle, i'n hachub i fywyd tragywyddol. "Yr hwn a'n gwaredodd ni allan o feddiant y tywyllwch, ac a'n symudodd i deyrnas ei anwyl Fab. Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau. Yr hwn yw delw y Duw anweledig; cyntaf-anedig pob creadur; canys trwyddo ef y crewyd pob dim a'r sydd yn y nefoedd, ac sydd ar y ddaear, yn weledig ac yn anweledig, pa un bynag ai thronau, ai arglwyddiaethau, ai tywysogaethau, ai meddianau; pob dim a grewyd trwyddo ef, ac erddo ef. Ac y mae efe cyn pob peth, ac ynddo y mae pob peth yn cyd-sefyll.

Ac efe yw pen corph yr eglwys: efe yr hwn yw y dechreuad, y cyntaf-anedig oddiwrth y meirw, fel y byddai efe yn blaenori yn mhob peth. Oblegyd rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef," Col. i. 13—19.

2. Y mae y Bibl yn egluro Crist yn berson hunan-ymddibynol. Y mae yntau hefyd yn hòni hyn iddo ei hun. "Cyn bod Abraham, yr wyf fi. Gorfoledd oedd gan eich tad Abraham weled fy nydd i: ac efe a'i gwelodd hefyd, ac a lawenychodd. Myfi yw Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd, medd yr Arglwydd; yr hwn sydd, a'r hwn oedd, a'r hwn sydd i ddyfod, yr Hollalluog;" Ioan viii. 56; Dat. i. 8. Os oes rhyw ystyr i eiriau, y mae y geiriau hyn yn hysbysu yn amlwg fod Iesu Grist o flaen pob peth; yr achos cyntaf, ac awdwr y cwbl.

3. Y mae ei weithredoedd yn eglurhad o'i ddwyfoldeb. Pob peth a grewyd trwyddo ef, a phob peth a gynelir ganddo ef. "Yr hwn a wnaeth efe yn etifedd pob peth, trwy yr hwn hefyd y gwnaeth efe y bydoedd; yr hwn ac efe yn ddysgleirdeb ei ogoniant ef, ac yn wir lun ei berson ef, ac yn cynal pob peth trwy air nerth, wedi puro ein pechodau ni trwyddo ef ei hun, a eisteddodd ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwch leoedd," Heb. i. 2, 3. Heblaw ei holl weithredoedd fel Duw tragywyddoldeb, y mae genym hanes am aneirif o weithredoedd fel Duw mewn cnawd er ein hiachawdwriaeth, y rhai nad allasai neb byth eu gwneyd ond Hollalluawgrwydd. Nid oedd neb ond yr Arglwydd Iesu yn alluog i agor y llyfr seliedig, a datod ei seliau ef. Edrychwyd o gwmpas, a rhoddwyd cyfleusdra teg i bawb ateb drostynt eu hunain; ond nid oedd neb yn deilwng nac yn alluog i ymgymeryd â'r gorchwyl mawr hwn. "A mi a welais yn neheulaw yr hwn oedd yn eistedd ar yr orseddfainc, lyfr wedi ei ysgrifenu oddifewn ac oddiallan, wedi ei selio â saith sel. A mi a welais angel cryf yn cyhoeddi â llef uchel, Pwy sydd deilwng i agoryd y llyfr, ac i ddatod ei seliau ef? Ac nid oedd neb yn y nef, nac yn y ddaear, na than y ddaear, yn gallu agoryd y llyfr, nac edrych arno. A mi a wylais lawer, o achos na chaed neb yn deilwng i agoryd ac i ddarllen y llyfr, nac i edrych arno. Ac un o'r henuriaid a ddywedodd wrthyf; Nac wyla; wele, y Llew yr hwn sydd o lwyth Judah, Gwreiddyn Dafydd, a orchfygodd i agoryd y llyfr, ac i ddatod ei saith sel ef," Dat. v. 1—5. Nid oedd neb ond y Llew o lwyth Judah yn ddigon galluog i gyfryngu

rhwng Mawrhydi y nefoedd a dyn euog ar y ddaear. Nis gallasai neb ond Ceidwad anfeidrol foddloni cyfiawnder dwyfol am droseddau yn erbyn Duw anfeidrol; ac anrhydeddu y gyfraith santaidd. Yr oedd yn rhaid cael Person anfeidrol i undeb â'n natur, cyn y buasai ei waed yn effeithiol i'n prynu oddiwrth ein pechodau. Mae o'r pwys mwyaf i ni gredu fod Iesu Grist yn Dduw; canys os ydyw yn llai, y mae ein hiachawdwriaeth ni yn anobeithiol. Ond, bendigedig, y mae genym ddigon o brofion fod yr hwn fu farw ar y groes, o ran ei natur ddynol yn Dduw tragywyddoldeb, yn "Greawdwr cyrau y ddaear," am hyny yn ddigon abl i'n hachub. Diolch.

Pwy ond Duw allasai ostegu yr elfenau cynddeiriog? "Ac efe a gododd i fyny ac a geryddodd y gwynt, ac a ddywedodd wrth y môr, Gostega, dystawa. A'r gwynt a ostegodd, a bu tawelwch mawr. Ac efe a ddywedodd wrthynt, Paham yr ydych mor ofnog? pa fodd nad oes genych ffydd," Marc iv. 36, 40. Mae Mab y dyn yn ddigon mawr i chwi ymddiried ynddo; nid yn unig yn wyneb ystormydd a gwyntoedd moroedd y byd, ond hefyd yn wyneb ystormydd a gwyntoedd uffern, angau, a thragywyddoldeb. Diolch! Pwy ond ein Ceidwad ni allasai *goncro* satan? ïe, bwrw llengoedd o honynt allan o ddynion, bwrw miloedd o gythreuliaid allan o'r un dyn. Pwy ond efe allasai orchfygu angau, a dwyn bywyd ac anllygredigaeth i oleuni trwy yr efengyl, agor teyrnas nefoedd o'n blaen ar sail ei foddlonrwydd i Dduw dros bechod? Chwychwi ydych yn gydnabyddus â'ch pechodau damniol a dinystriol, ymunwch gyda mi i ddywedyd, Gwae, gwae, yn wyneb y sefyllfa ofnadwy hon, "a ymddiriedo mewn braich o gnawd." Mae braich o gnawd yn rhy wan, fy nghyfeillion; os nad oes braich dwyfol gan ein Gwaredwr ni yr ydym wedi ein colli am byth. Gwae, gwae ni, os nad oes genym ond braich o gnawd i ymddiried arno am ein hiachawdwriaeth dragywyddol! Os nad yw ein Harglwydd Iesu yn Dduw ac yn ddyn, ffolineb yw i chwi ymddiried ynddo, na son byth mwy ddim am dano. "Cyfrgollwyd hefyd y rhai a hunasant yn Nghrist." Ond yr wyf yn penderfynu ymddiried ynddo, er gwaethaf holl Sosiniaid y byd; canys yr wyf yn credu fod "fy Mhrynwr yn Dduw ac yn ddyn." Chwi gewch weled yn eglurach maes o law, canys y mae y Person yr ydym yn son am dano yn dyfod yn fuan i farnu y byw a'r meirw; efe yw Barnwr y byd.

Pwy sydd â chymhwysder i farnu dirgeloedd calonau dynion, meddwch chwi, ond yr hwn sydd yn berffaith gydnabyddus â'r holl *secrets?* Yr Arglwydd Iesu yw hwnw. "Ac nid oes greadur anamlwg yn ei olwg ef: eithr pob peth sydd yn noeth ac yn agored i'w lygaid ef am yr hwn yr ydym yn son." "A'i phlant hi a laddaf â marwolaeth: a'r holl eglwysi a gânt wybod mai myfi yw yr hwn sydd yn chwilio yr arenau a'r calonau: a mi a roddaf i bob un o honoch yn ol eich gweithredoedd;" Heb. iv. 13; Dat. ii. 23. Y mae yr un geiriau, o ran sylwedd, yn cael eu defnyddio gan y prophwyd Jeremiah: "Myfi yr Arglwydd sydd yn chwilio y galon, yn profi yr arenau, i roddi i bob un yn ol ei ffyrdd, ac yn ol ffrwyth ei weithredoedd," Jer. xvii. 10. Chwi welwch fod chwilio y calonau yn waith hollwybodaeth yn unig. Os nad yw yr Arglwydd Iesu yn Dduw, efe yw y dyn gwaethaf fu yn ein byd ni erioed; efe yw y cablwr mwyaf haerllug a gerddodd ar hyd y ddaear hon. Mae y Sosiniaid yn dywedyd ei fod yn ddyn da, a dyn da yn unig. Yr wyf finau yn dywedyd, Os dyn yn unig ydoedd, mai dyn a'i lonaid o gythreuliaid ydoedd. Ni honodd un dyn erioed y fath bethau, ac nis gallasai neb byth eu dweyd ond "dyn â'r Duwdod ynddo'n trigo," neu ddyn â'i lonaid o gythreuliaid. Eithr y mae yn eglur nad yw hwn yn un â chythraul ynddo; ac nid yw ei eiriau yn eiddo un felly. "Hwn yw y Crist, Iachawdwr y byd." Mi waeddaf tra fyddo anadl ynof, "Hwn yw Mab Duw, hwn yw Brenin Israel."

Y mae yn cael ei ddesgrifio fel un â saith llygad ganddo, i arwyddo ei wybodaeth berffaith o bob peth. "Wele y gareg a roddaist ger bron Josuah; ar un gareg y bydd saith o lygaid: wele fi yn naddu ei naddiad hi, medd Arglwydd y lluoedd, a mi a symudaf ymaith anwiredd y tir hwnw mewn un diwrnod," Zech. iii. 9. Mae ei lygaid yn gweled pob peth; mae yn barnu nid yn unig y gweithredoedd a'r geiriau, ond hefyd yr amcanion dirgelaf; "meddyliau a bwriadau y y galon." Nid oes un angel yn y nef all wneyd hyn, neb ond Duw ei hunan. Chwi welwch fod Iesu Grist yn gwneyd hyn, am hyny y mae yn Dduw. Y mae ei allu hefyd yn gymaint a'i wybodaeth: os yw yn hollwybodol, y mae yn rhaid ei fod hefyd yn hollalluog. Nid yn unig y mae ganddo saith llygad i weled pob peth, ond hefyd y mae ganddo saith gorn, yn arwydd o awdurdod a gallu annherfynol. Nid yn unig y mae ganddo glorian i bwyso, ond hefyd gleddyf i dry-

wanu ei elynion, a gwialen haiarn i'w darostwng. Nid yn unig y mae ganddo ei wyntyll a'i ogr, ond llyn o dân hefyd i losgi yr ûs a'r sothach; ac ysgubor, i gasglu y gwenith i ddyogelwch iddi. Caiff y rhai sydd yn gwadu ei Dduwdod ei weled a'i adnabod cyn hir yn Farnwr y byd, yn rhy uchel i'w sarnu, ac yn rhy ogoneddus i'w ddirmygu. Och, bydd mynyddau y byd yn rhy fach i'w cuddio o'i wydd y pryd hwnw! Bydd yn rhaid i bob glin blygu iddo, a phob tafod gyffesu fod Iesu Grist yn Arglwydd. Bydd llawer iawn wedi ei gydnabod yn Dduw mewn cnawd cyn ei weled yn "Arglwydd pawb oll" ar y cymylau. Talwyd ymostyngiad ac addoliad iddo gan yr angylion yn ei sefyllfa iselaf, pan yn y preseb, yn nhŷ yr anifeiliaid. Gorchymynwyd ei addoli pan mewn ystabl, am hyny y mae yn rhaid ei fod yn Dduw. "Addoled holl angylion Duw ef;" canys ewyllys y Tad yw hyn; efe sydd yn gorchymyn. "Eithr y Tad nid yw yn barnu neb; eithr efe a roddes bob barn i'r Mab: fel yr anrhydeddai pawb y Mab fel y maent yn anrhydeddu y Tad. Yr hwn nid yw yn anrhydeddu y Mab, nid yw yn anrhydeddu y Tad yr hwn a'i hanfonodd ef," Ioan v. 22, 23.

Os na roddwch barch cyfartal i'r Tad a'r Mab yn y byd hwn, y mae efe wedi gosod diwrnod yn yr hwn y bydd y Tad yn gorchymyn hyn, ac yn dywedyd, "Mi fynaf weled pawb yn plygu i'r Mab fel finau." Mae yn rhaid anrhydeddu y Mab megys y Tad. Pawb nad yw wedi talu parch *gwirfoddol* iddo ar y ddaear, y mae yn rhaid iddynt dalu parch *gorfodol* iddo yn awr. Addolodd y gwahan-glwyfus ef pan oedd yma yn ei ddillad gwaith; ond yr oedd ffydd yn gweled trwy y dillad. "Ac wele, un gwahan-glwyfus a ddaeth, ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Arglwydd, os myni, ti a elli fy nglanhau i. A'r Iesu a estynodd ei law, ac a gyffyrddodd ag ef, gan ddywedyd, Mynaf, glanhaer di. Ac yn y fan ei wahan-glwyf ef a lanhawyd," Mat. viii. 2, 3. Mae y canwriad yn gweled digon o fawredd yn Nghrist i ymostwng iddo. "Y canwriad a anfonodd gyfeillion ato, gan ddywedyd, Arglwydd, na phoena; canys nid wyf fi deilwng i ddyfod o honot dan fy nghronglwyd," Luc vii. 6. A'r hen wraig o Ganaan, cof byth am dani: "Hi a ddaeth ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Arglwydd, cymhorth fi," Mat. xv. 25. Y mae Thomas, er ei holl annghrediniaeth, yn wyneb cael ail olwg arno yn gwaeddi allan, Fy Arglwydd a'm Duw." Y mae Nathanael yn dywedyd, "Ti yw Mab Duw, ti yw Brenin

Israel." Y mae Pedr yn dywedyd, "Ti yw Crist, Mab y Duw byw." "Gwyn dy fyd di, Simon mab Jonah, canys nid cig a gwaed a ddatguddiodd hyn i ti, ond fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd." Gall cig a gwaed ddysgu *pethau* cig a gwaed; ac os nad oedd Crist yn ddim ond cig a gwaed, sef dyn yn unig, nid oedd eisiau ond cig a gwaed i'w adnabod. Eithr y mae adnabod yr Arglwydd Iesu, fel y clywch, yn ddatguddiad goruwch-naturiol. "Am hyny yr wyf yn hysbysu i chwi, nad oes neb yn llefaru trwy Ysbryd Duw yn galw yr Arglwydd Iesu yn ysgymun-beth: ac ni all neb ddywedyd yr Arglwydd Iesu eithr trwy yr Ysbryd Glân," 1 Cor. xii. 3. Os felly, y mae pob dyn wrth natur yn Sosiniad: os nad yw pawb yn ei wadu yn gyhoeddus, y mae pawb yn ei wrthod; ac y mae yr hwn sydd yn ei wadu yn haerllug â'i dafod, a'r hwn sydd yn ei wrthod yn ei galon, yn gefnderwydd, os nid yn frodyr.

Gorchymynodd Stephan ei enaid i ofal yr Iesu wrth drengu, ac y mae yn ddigon sicr iddo gymeryd y gofal hwnw. Nid yw yr ysgrythyrau yn rhoi yr awgrym lleiaf fod Crist yn annghymeradwyo gweddio arno, a'i addoli. Mae yr ysgrythyrau yn condemnio talu addoliad ac anrhydedd dwyfol i unrhyw greadur. Pan syrthiodd Cornelius wrth draed Pedr i'w addoli, y mae yr apostol yn ei godi i fyny yn y fan, gan ddywedyd, "Dyn wyf finau hefyd," Act. x. 26. Felly Paul a Barnabas a wrthodasant yn y man i'r bobl dalu yr anrhydedd iddynt hwy sydd yn ddyledus i Dduw yn unig. "Yna offeiriad Jupiter, yr hwn oedd o flaen eu dinas, a ddyg deirw a garlantau i'r pyrth, ac a fynasai gyda'r bobl aberthu. A'r apostolion, Barnabas a Paul, pan glywsant hyny, a rwygasant eu dillad, ac a neidiasant yn mhlith y bobl, gan lefain a dywedyd, Ha wŷr, paham y gwnewch chwi y pethau hyn? Dynion hefyd ydym ninau, yn gorfod goddef fel chwithau, ac yn pregethu i chwi, ar i chwi droi oddiwrth y pethau gweigion yma at Dduw byw, yr hwn a wnaeth nef a daear, a'r môr, a'r holl bethau sydd ynddynt," Act. xiv. 13—15. Ië, fe wrthododd angel o'r nef dderbyn addoliad oddiwrth Ioan, yn Ynys Patmos. "A mi a syrthiais wrth ei draed ef, i'w addoli ef. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Gwel na wnelych hyn: cyd-was ydwyf i ti, ac i'th frodyr, y rhai sydd ganddynt dystiolaeth Iesu. Addola Dduw," Dat. xix. 10. Pe buasai Crist heb fod yn Berson dwyfol, ond yn ddyn da yn unig, fel y dywed y Sosiniaid, buasai yn gwrthod y peth nad oedd yn

weddus i neb ar y ddaear na'r nefoedd ei dderbyn, ond Duw yn unig. Felly y gwnaeth pob dyn da, a phob angel da; ac os dyn yn unig oedd Crist, efe oedd y dyn mwyaf haerllug a fu erioed yn rhodio ein daear ni.

Y mae yr Arglwydd Iesu wedi derbyn addoliad oddiwrth bawb, y nefoedd a'r ddaear hefyd. Os ydym ni yn eilunaddolwyr, fel y dywed y Sosiniaid, y mae Gabriel yn eilunaddolwr hefyd, ïe, y mae holl angylion y gogoniant yn eilunaddolwyr. "Daeth yr angylion, ac a'i haddolasant ef." "Yr oedd pawb yn ei addoli." "Daeth rhyw benaeth ac a'i haddolodd ef." "Syrthiodd y dysgyblion wrth ei draed ac a'u haddolasant;" Mat. ix. 18; Luc viii. 28; xxiv. 52. Yr oedd ein Ceidwad ni yn derbyn addoliad oddiwrth bawb, ac nid oedd yn dywedyd fel dynion da, ac angylion, "Peidiwch, codwch ar eich traed, addolwch Dduw, canys 'cyd-was ydwyf â chwi.'" Na; y mae efe yn derbyn addoliad yn ddirwgnach oddiwrth bawb, yr hyn sydd yn profi ei fod yn dwyllwr haerllug, neu yn Dduw mewn cnawd. Nid oes yr un dyn da i gael i'r Sosiniaid, canys y mae y Crist Iesu fu yn ein byd ni yn Dduw tragywyddol, neu yn dwyllwr haerllug. Y mae y Sosiniaid heb un Crist, dychymygol na gwirioneddol. Ac yr wyf yn meddwl, os nad yw Crist yn Dduw, er bod yn ddyn *da* fel y maent hwy yn dywedyd, nad yw yn un colled iddynt; canys beth yw dyn da o werth rhwng Duw a dynion? Dim. Gwagedd, ynfydrwydd yw ymddiried mewn dim ond Gwaredwr dwyfol. Bendigedig am Waredwr cryf, a chanddo freichiau tragywyddol i'm dal i'r lan. Yr wyf yn suddo byth, nes y teimlwyf bwys fy enaid yn ymollwng arno ef. Mi ymddiriedaf ynddo byth! Diolch. Mae y Tad ei hun, fy nghyfeillion, yr hwn sydd yn eiddigus dros ei ogoniant a'i anrhydedd, yr hwn "ni rydd ei ogoniant i arall, na'i fawl i ddelwau cerfiedig," yn goddef, ïe, nid yn unig yn goddef, ond yn gorchymyn i bawb i roddi yr un anrhydedd, a gogoniant, ac addoliad i Iesu Grist ag y maent yn roddi iddo yntau. Nid cyd-greadur â ni yw Crist, eithr cydradd â gogyfuwch a Duw. Felly nid yw y Mab yn euog o fai wrth dderbyn addoliad, na ninau wrth roddi addoliad iddo.

Yn gymaint â bod y Mab yn cael ei enwi yn gyffredin ar ol y Tad yn y Testament Newydd, y mae yr Ariaid wedi casglu ei fod o ganlyniad islaw y Tad. Ond yn y testun hwn, chwi welwch, y mae y Mab yn cael ei enwi o flaen y

Tad; ac os yw rheswm yr Ariaid yn dda, fod yn rhaid ei fod yn llai o herwydd ei fod yn cael ei enwi o flaen y Tad, y mae yn canlyn yn naturiol oddiwrth y testun hwn, ei fod yn *fwy* na'r Tad. Ond, fy nghyfeillion, yn y Drindod santaidd nid oes o flaen nac ar ol mewn dim, ond *trefn*. Mae y personau dwyfol yn ogyfuwch ac yn gyd-dragywyddol. Mae yr ysgrythyrau fel pe baent yn groes i'w gilydd wrth siarad am y pethau hyn, ac eto y mae perffaith gysondeb. Maent yn llefaru am gariad Duw yn gyntaf weithiau: "Felly y carodd Duw y byd;" am ras a thangnefedd brydiau eraill: "oddiwrth Dduw Dad, a'r Arglwydd Iesu Grist." Duw Dad yw y ffynon, ac angau Crist y cyfrwng, a'r *channel*. Felly y carodd y Tad sydd yn gyntaf, gras ein Harglwydd Iesu Grist, fel yn egluredig yn ei farwolaeth yw yr ail, cymdeithas yr Ysbryd Glân yw y trydydd. Ond nid felly y mae bob amser, canys y mae y gadwen hon yn cael ei dryllio yn fynych, megys yn ein testun, a gras ein Harglwydd Iesu Grist yn *link* gyntaf, cariad y Tad wedi hyny, a chymdeithas yr Ysbryd Glân yn olaf. Mae ceisio casglu rhywbeth oddiwrth bethau fel hyn, ac adeiladu athrawiaethau arnynt, yn ynfydrwydd; canys y mae y naill a'r llall yn gyntaf ac yn olaf, yn ol natur yr ymddyddan am bethau. Gras ein Harglwydd Iesu Grist sydd yma yn gyntaf, chwi welwch, i'r dyben fe allai, i ddangos mai y teimlad o ras Crist sydd yn cael ei werthfawrogi gyntaf gan y pechadur pan yn teimlo ei drueni ofnadwy. Er mai cariad y Tad yw y cyntaf mewn trefn yn ein dewisiad i iachawdwriaeth, eto gras Crist, ei angau poenus, a'i deilyngdod anfeidrol, sydd yn ein taro gyntaf, ac yn ffurfio gobaith bywyd tragywyddol yn ein meddyliau. "Megys yr etholodd efe ni ynddo ef cyn seiliad y byd, fel y byddem yn santaidd ac yn ddifeius ger ei fron ef mewn cariad," Eph. i. 4.

Etholedigaeth sydd gyntaf gyda Duw; gras ein Harglwydd Iesu Grist sydd gyntaf yn ein teimladau ni. Felly y mae yr ysgrythyr yn dywedyd ein bod yn elynion i Dduw nes ein cymodi trwy waed y groes; a phan yr ydym wedi derbyn y cymod yn y gwaed, yr ydym wedi hyny yn dyfod i werthfawrogi cariad y Tad yn meddwl meddyliau o hedd cyn bod y byd, a'n hethol yn Nghrist Iesu i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni. Yr ydym yn y cymod yn teimlo cariad y Tad yn ngras y Mab, a gras y Mab yn ngh ariad y Tad; y cwbl yn gymysg a thrwy eu

gilydd, yn ddaioni Trindod o bersonau, yn un Duw tragywyddol. Nid yw y grefydd Gristionogol yn dechreu yn y man uchaf, eithr yn dringo yn raddol i'r nefoedd ar hyd ysgol Jacob, pen yr hon sydd ar y ddaear. Peidiwch â phoeni eich penau gyda chyfrinach Duw, y gyfraith foesol, a thraddodiadau y Pab, eithr rhedwch nerth eich traed i Bethlehem Ephrata, a chofleidiwch y Mab bychan yn eich breichiau, yr hwn sydd yn gorwedd yn y preseb. Dylynwch ef o'r preseb i ben mynydd Calfaria, edrychwch arno yn marw rhwng dau leidr ar ben y groes; yna cerddwch gydag ef i'r bedd, ac adgyfodwch gydag ef y trydydd dydd, esgynwch gydag ef oddiar Bethania, edrychwch yn ei wyneb wedi eistedd ar yr orseddfainc, a'r Tad yn cymeradwyo ei wasanaeth ac yn ei anrhydeddu, a dyna chwi wedi cyrhaedd *fountain-head* cariad tragywyddol. Dylynwch ffrydiau gras a thrugaredd i fyny trwy waed ac aberth Crist, chwi ewch cyn bo hir at y ffynonell wreiddiol yn mynwes y Duwdod. Dylem astudio, fy nghyfeillion, athrawiaethau mawrion a chyfoethog yr efengyl i'r dyben o gadarnhau ein calonau, a chael cysur cryf mewn gorthrymderau. A dylem eu hastudio hefyd fel y byddom yn gryfion i'w hamddiffyn, a gwrthsefyll yn wrol Sosiniaid, Ariaid, Iuddewon, Tyrciaid, ïe, holl hereticiaid y byd.

Y mae eisiau arnoch adnabod trefn yr efengyl yn brofiadol i gyfarfod â'r gyfraith danllyd, a'i rhoddi i orwedd yn dawel yn nghlwyfau yr Oen. Mae eisiau ei hadnabod i gyfarfod ag angau, "brenin y dychryniadau;" y mae eisiau ei hadnabod i gyfarfod â'r llyfrau yn y farn ddiweddaf, a rhesymu y cwbl yn fud trwy ddangos iddynt Geidwad dwyfol. Ffowch, fy nghyfeillion, at Dduw yn y natur ddynol, yn eich natur chwi eich hunain; at Dduw yn y dyn Crist Iesu. Peidiwch â gwybod dim ger bron Duw cyfiawn, a deddf santaidd, ac angau sarug, ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio. Gan fod yr Arglwydd Iesu yn oll yn oll yn ein cyfiawnhad, ac yn oll yn oll yn ein santeiddhad, ei waed yn cymeryd ymaith ein pechodau yn llwyr, y mae yr apostol yn gweled yn briodol iawn anrhydeddu ei ras trwy ei enwi yn nechreu a diwedd yr epistol. Efe yw cyntaf a diweddaf pob peth, a dylai gael ei anrhydeddu, trwy ei gydnabod felly gan bawb.

Y mae rhai yn dywedyd fod gras ein Harglwydd Iesu Grist yn cael ei enwi yn gyntaf yn y testun o herwydd fod cariad y Tad yn cael ei egluro yn hollol ac yn effeithiol

drwyddo. Yr ydych yn gweled cariad y Tad trwy angau Crist megys mewn drych; a'r unig ddrych sydd yn ei egluro. Edrychwch trwy y drych hwn, a gellwch weled calon y Tad, a'i llon'd o dynerwch at bechaduriaid. Chwi welwch fawredd, anfeidroldeb y cariad tragywyddol a'ch carodd cyn eich bod, ac a roddodd y Mab i fod yn iawn dros eich pechodau, yn llewyrchu allan gyda gogoniant tra rhagorol yn marwolaeth y croesbren. Chwi welwch ddoethineb, santeiddrwydd, gwirionedd, a chyfiawnder wedi eu melusu yn ngHariad y Tad, gras y Mab, a chymdeithas yr Ysbryd Glân. Yr ydych yn gweled yn Iesu Grist nid yn unig holl drysorau doethineb yn guddiedig (Col. ii. 3.), ond holl drysorau cariad tragywyddol hefyd. Mae yn anmhosibl i chwi adnabod cariad Duw, heb i chwi yn gyntaf adnabod gras ein Harglwydd Iesu Grist; canys nid oes yr un ffordd at gariad y Tad ond trwy ras y Mab. "Nid oes neb yn dyfod at y Tad ond trwyddo ef." "Efe yw y ffordd." Gellwch adnabod gras ein Harglwydd Iesu Grist heb fod yn sicr o gariad y Tad tuag atoch; ïe, gellwch fyned i'r nefoedd, ac heb fod yn sicr o gariad y Tad tuag atoch nes y dysgoch y wers yno; eithr nid ewch yno byth heb adnabod gras ein Harglwydd Iesu Grist, a phwyso arno i fywyd tragywyddol. Mae llawer yn pwyso ar Grist, ac eto heb sicrwydd fod y Tad wedi eu caru â chariad tragywyddol. "Chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef, ac yntau yn gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn dlawd, fel y cyfoethogid chwi trwy ei dlodi ef," 2 Cor. viii. 9.

Mae y Tyrciaid, pan yn sâl, yn gwrthod cymeryd moddion meddygol, canys meddynt, "Mae yr amser wedi ei osod, ac yna pa ddyben ydyw? y mae yn rhaid iddo fod, os ydyw wedi ei osod." Ac y mae llawer o'r Tyrciaid hyn yn Nghymru yn y dyddiau hyn. Rhyfyg yw hyn. Ein dyledswydd yw defnyddio moddion. "Nid ydym yn gwybod," ebai y bobl, "a ydym wedi ein caru ai peidio, ac wedi ein hethol i fywyd tragywyddol. Pe baem yn deall hyny, delem at Iesu Grist, a delem at grefydd." Fy enaid, a wyddost a wyt yn glaf ai peidio? a wyddost ti pan fyddo dolur yn dy ben, neu boen yn yr ymysgaroedd? "O gwn yn burion." Wel, ai dywedyd yr wyt y pryd hwnw, "Pe bawn yn gwybod y cawn wellhad, mi awn at y meddyg?" O nage, nage; ond gyru rhywun mor gynted ag y mae yn bosibl i gyrchu y meddyg, a defnyddio y moddion yn ol y cyfarwyddyd. Os

gwyddoch, fy nghyfeillion, eich bod yn gleifion yn ysbrydol, nid oes eisiau i chwi siarad am y pethau cyn bod y byd; siaradwch am y pethau fu ar y groes, y pethau yn "nghylch Iesu o Nazareth," a rhedwch mor fuan ag y galloch am feddyginiaeth i'w glwyfau. Diangwch at ras ein Harglwydd Iesu Grist. "Pe bawn yn gwybod fy mod wedi fy ngharu â chariad tragywyddol, mi awn." Cerdd yno i gael gwybod. "A ydych yn gwybod y cewch fyw wythnos eto?" "Na wyddom." "Wel, am na wyddoch, peidiwch a bwyta;" yr un yw hyny. Mae yn rhaid i chwi fyned at ras ein Harglwydd Iesu Grist am achubiaeth; ac y mae digon ynddo i achub y penaf o bechaduriaid. Os aroswch heb fyned at Grist hyd nes y cewch sicrwydd o gariad y Tad, a'ch etholedigaeth, chwi aroswch am dragywyddoldeb; canys trwy Grist y mae hyny yn dyfod i'r golwg.

Y mae gras pob un o'r personau dwyfol yn ogyfuwch yn eich achubiaeth, ond yn unig fod yr apostol yn gwahaniaethu y naill oddiwrth y llall yn eu gwahanol swyddogaethau, yn nhrefn y brynedigaeth. Mae y Tad yn cael ei alw yn "Dduw pob gras;" a'r Ysbryd Glân yn "Ysbryd y gras;" ac yn y testun, "gras ein Harglwydd Iesu Grist." "Y tri hyn un ydynt" yn y cwbl; yr ydym yn cael ein hachub drwy ras unedig y Personau dwyfol; y mae yr Hanfod ddwyfol yn canolbwyntio yn achubiaeth pechadur tlawd. O diolch! Wrth ras yn gyffredin y meddylir trugaredd ac ewyllys da; ond yma teilyngdod aberth yr Arglwydd Iesu, neu, fel y mae rhai yn dywedyd, "Holl ufudd-dod, gweithredol a dyoddefol, yr Arglwydd Iesu, yn nghyda'r bendithion ag sydd yn dylifo trwy hyny." Yr oedd yr apostol yn gweled hyn o werth myned ar ei liniau i'w ddymuno i eglwys Corinth; canys y mae "holl gyflawnder y Duwdod" yn hyn. Nid oedd yr apostol Paul yn ofni cyfeiliorni wrth ddyweyd yn rhy uchel am ei Waredwr, ac am ei ras anfeidrol, trwy yr hwn y codwyd ef o afael damnedigaeth dragywyddol. Yr oedd efe yn ei ystyried yn ddyledswydd arno bob amser i ganmol ei Waredwr bendigedig a'i ras diderfyn, trwy yr hwn y cipiwyd ef fel pentewyn o'r tân. Gras ein Harglwydd Iesu Grist oedd ei bwnc cyson yn ei weinidogaeth, a'i ddymuniadau cryfaf yn ei weddiau. Yr ydoedd yn teimlo ei hun trwy ei oes yn ddyledwr mawr i "ras ein Harglwydd Iesu Grist;" canys yr ydoedd wedi derbyn pethau mawrion drwyddo, ac yr oedd pethau mwy mewn gobaith.

Y mae yr apostol yn cyfeirio yn aml iawn at y diwrnod rhyfedd hwnw y cyfarfyddodd â'r Arglwydd Iesu ar y ffordd i Damascus; nid yw byth yn son am y canol dydd hwnw, ond gyda syndod a diolchgarwch, "Ac yr wyf yn diolch i'r hwn a'm nerthodd i, sef Crist Iesu ein Harglwydd, am iddo fy nghyfrif yn ffyddlon, gan fy ngosod yn y weinidogaeth; yr hwn oeddwn o'r blaen yn gablwr, ac yn erlidiwr, ac yn drahaus. Eithr mi a gefais drugaredd, am i mi yn ddiarwybod ei wneuthur trwy annghrediniaeth: a gras ein Harglwydd ni a dra amlhaodd gyda ffydd a chariad, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu. Gwir yw y gair, ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid; o ba rai penaf ydwyf fi," 1 Tim. i. 12—15. Mae yr apostol, fel pe bai yn llesmeirio o dan ddylanwad gras, ac yn taflu ei enaid wrth draed y Duw grasol mewn mawl a diolchgarwch, gan ddywedyd, "Ac i'r Brenin tragywyddol, anfarwol, anweledig, i'r Duw unig ddoeth, y byddo anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd. Amen." Gras yw y cwbl, a thrwy ras yr ydym yn derbyn pob peth. Mae yr apostol yn priodoli maddeuant pechodau a glanhad oddiwrthynt yn gyfangwbl i ras ein Harglwydd Iesu Grist; ïe, y mae efe ei hun yn dymuno bod yn ddim, a Christ yn bob peth ac yn mhob peth. Nid yw efe yn ymddyrchafu ac yn ymlanw o wynt o herwydd ei dalentau godidog, a'i ddoniau annghydmarol, a'i lwyddiant annghyffredinol yn y weinidogaeth; y mae o dan y fath eneiniad grasol nes ydyw yn teimlo ei hun yn ddim yn ngwydd yr Arglwydd Iesu. Pe baech yn byw yn fwy o dan ddylanwad gras, fy mrodyr yn y weinidogaeth, ni byddai yr holl wynt yna ynoch chwi. Ac nid oes gyda chwi nemawr i ymfalchio ynddo, fel ag yr oedd gan yr apostol Paul. "Nid wyf fi ddim," eb efe; ac os nad oedd efe yn ddim, mae yn anhawdd gwybod pa enw i'w roddi arnoch chwi. "Canys myfi yw y lleiaf o'r apostolion, yr hwn nid wyf addas i'm galw yn apostol, am i mi erlid eglwys Dduw. Eithr trwy ras Duw yr ydwyf yr hyn ydwyf: a'i ras ef yr hwn a roddwyd i mi ni bu ofer; ond mi a lafuriais yn helaethach na hwynt oll: ac nid myfi chwaith, ond gras Duw yr hwn oedd gyda mi," 1 Cor. xv. 9, 10. Wedi ei holl ddefnyddioldeb yn y weinidogaeth, a'i holl ddyoddefiadau mewn cysylltiad â hi, ac wedi yr ymroddiad llwyraf i Iesu Grist o ddynion y byd, y mae yn edrych yn y blaen mewn gobaith am ogoniant tragywyddol yn unig o herwydd gras ein Harglwydd Iesu Grist.

"O hyn allan rhoddwyd coron cyfiawnder i'w chadw i mi, yr hon a rydd yr Arglwydd, y Barnwr cyfiawn, i mi yn y dydd hwnw: ac nid yn unig i mi, ond hefyd i bawb a garant ei ymddangosiad ef," 2 Tim. iv. 8.

Y Barnwr cyfiawn sydd yn rhoddi y goron, nid oes neb yn ei henill a'i theilyngu trwy ddim; rhad ras yn unig sydd yn ei rhoddi. Mae yr apostol yn myned yn y blaen i ddymuno i'r Corinthiaid "gariad y Tad" yn ychwanegol at "ras ein Harglwydd Iesu Grist." Bydded cariad y Tad gyda chwi. Nid yw y Tad i'w gymeryd yma yn hanfodol, ond yn bersonol. Mae "y Tad" yn arwyddo yr Hanfod ddwyfol weithiau, a phrydiau eraill yn golygu Person y Tad yn unig. Felly pan y dywedir, "Duw a ymddangosodd yn y cnawd, a gyfiawnhawyd yn yr Ysbryd, a welwyd gan angylion, a bregethwyd i'r Cenedloedd, a gredwyd iddo yn y byd, a gymerwyd i fyny mewn gogoniant," 1 Tim. iii. 16, Person y Mab a feddylir. Weithiau fe olygir Person yr Ysbryd Glân wrth y gair Duw. Dywedyd celwydd wrth yr Ysbryd Glân oedd dywedyd celwydd "wrth Dduw." "Eithr Pedr a ddywedodd, Ananias, paham y llanwodd Satan dy galon di i ddywedyd celwydd wrth yr Ysbryd Glân, ac i ddarnguddio peth o werth y tir? Ni ddywedaist ti gelwydd wrth ddynion, ond wrth Dduw," Act. v. 3, 4. Eithr yn y testun y mae y gair "Duw" yn gyfeiriol at Berson y Tad. Pan y mae yr apostol yn son yma am ras Crist, cariad Duw, a chymdeithas yr Ysbryd Glân, y mae yn meddwl, Person y Gair, Person y Tad, a Pherson yr Ysbryd Glân; fel yn Heb. i. 1. "Duw, wedi iddo lefaru lawer gwaith, a llawer modd gynt wrth y tadau trwy y prophwydi, yn y dyddiau diweddaf hyn a lefarodd wrthym ni yn ei Fab." Mae Paul yn dymuno cariad Duw i'r Corinthiaid o dan ddylanwad teimlad y cariad; y mae yn llefaru fel dyn yn methu cael geiriau i hysbysu ei deimladau cysurus. Mae geiriau yn annigonol i gyflwyno teimladau y galon, pan y mae hi o dan ddylanwad hapus cariad Duw. Eto y mae yn gweddio yn daer am i'r Corinthiaid fod o dan effeithiau y peth sydd yn anmhosibl i eiriau byth ei osod allan. "Fel y galloch, wedi eich gwreiddio a'ch seilio mewn cariad, amgyffred gyda'r holl saint beth yw y lled, a'r hyd, a'r dyfnder, a'r uchder; a gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth, fel y'ch cyflawner â holl gyflawnder Duw," Eph. iii. 18, 19. Yr arwydd fwyaf ac amlycaf o gariad Duw tuag atoch oedd rhoddi ei Fab i fod yn iawn dros

eich pechodau, a'r arwydd gryfaf o'ch cariad chwi at Dduw yw derbyn ei Fab a'i wasanaethu yn y byd. Yr ydych yn cusanu Duw wrth gusanu y Mab. Os ydych am weled cariad mawr ac anfeidrol y Jehofah, edrychwch arno yn rhoddi ei Fab drosoch i farw ar y croesbren; yno y gwelwch yr eglurhad mwyaf o hono. "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y danfonodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol," Ioan iii. 16. O gariad anfeidiol! Os nad ydych chwi yn barod i ganmol y cariad hwn, y mae yn rhaid i Dduw ei hunan ei ganmol. Mae efe fel pe bai yn methu peidio a synu uwch ben ei gariad anfeidrol ei hunan. "Mae Duw yn canmol ei gariad tuag atom; oblegyd a nyni eto yn bechaduriaid i Grist farw trosom ni," Rhuf. v. 8. O, y Duw mawr, cynorthwya finau i ganmol peth ar y cariad mawr hwn; ïe, mi fynaf ganmol; ac os demni fi byth, ti gei fy namnio dan ganmol y Gwr fu farw ar y pren. Ond, bendigedig, ddamniwyd neb erioed eto ag oedd yn caru ein Harglwydd Iesu Grist. Gogoniant! y mae yr olwg ar gariad ein Gwaredwr yn marw trosom, yn ddigon i ferwi enaid anfarwol i fyny i entrych nefoedd. Cariad Duw aroso gyda ni oll, i'n cadw yn wresog at drefn fawr yr achub, a'n gwneyd ar dân gyda'i achos mawr yn y byd.

Y mae yr Arglwydd Iesu yn haeddu gwresocach gwasanaeth oddiwrthym nag yr ydym yn ei roddi: y mae yn gywilydd ein bod yn gwasanaethu Ceidwad mor wresog yn oer a difywyd. Tywallter cariad Duw ar "led yn ein calonau." Mae cariad Duw, fy nghyfeillion, er tragywyddoldeb yn darpar at ein hachub; eithr ar y groes yr ydym ni yn ei weled yn dyfod allan gyda gogoniant a grym, a chyflawnder annhraethadwy a thragywyddol. "A chariad tragywyddol y'th gerais; am hyny tynais di â thrugaredd," Jer. xxxi. 3. Pe na buasai wedi caru y gwaethaf o bechaduriaid er tragywyddoldeb, ni buasech wedi clywed am ddychweliad y cyfryw un a Saul yr erlidiwr, a'i wneyd yn apostol Paul, ac yn gof-adail i drugaredd i bob tragywyddoldeb. Ac nid yn unig yr apostol Paul, ond miloedd gydag ef; ïe, chwi a minau, hen bechaduriaid mor ddued â'r cythraul. Diolch! O herwydd fod Duw wedi caru er tragywyddoldeb, a Iesu Grist wedi marw ar y groes, y mae genyf obaith i "ddianc byth gan fy Marnwr." O herwydd fod Duw wedi caru yn dragywyddol, y cyfarfyddwyd â Saul ar y ffordd tua Damascus; o

herwydd y cariad cyn y byd y cyfarfyddwyd â ninau pan ar y ffordd i dân uffern, ac y dywedwyd, "Hyd yma, ac nid yn yn mhellach." Bendigedig. Cariad tragywyddol Duw, yn amlygedig yn marwolaeth ein Harglwydd Iesu Grist, yw ffynonell ein cariad ni tuag ato ef. "Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni," 1 Ioan iv. 19. Y mae wedi ein caru ni er tragywyddoldeb, ac y mae ei gariad tuag atom yn amlwg yn ein cadw rhag angau, cyn ein galw at Grist i'n hachub. Diolch am ein harbed pan yn ein rhwysg, a'n rhyfyg, a'n melldigedigrwydd; na fuasem wedi ein tori i lawr, a gosod ein rhan gyda'r anffyddloniaid yn y llyn sydd yn llosgi â thân a brwmstan. Cariad Duw tuag atom yw yr achos, yn ein harbed i'r dyben o'n harbed byth. Pan yr oeddym yn gorwedd yn ein gwaed heb lygad yn tosturio wrthym, fe'n cadwyd rhag marw i'n hachub byth wedi hyny. "Pan aethum heibio i ti, ac edrych arnat, wele dy amser yn amser serchogrwydd; yna y lledais fy aden drosot, a chuddiais dy noethni; tyngais hefyd i ti, ac aethum mewn cyfamod â thi, medd yr Arglwydd Dduw, a thi a aethost yn eiddof fi," Ezec. xvi. 8.

Y mae cofio cariad Duw mewn amgylchiadau sydd wedi myned heibio yn adfywiol iawn; ac y mae teimlo ei gariad gyda ni yn ein cynorthwyo yn nghanol ein tywydd garw yn y byd, yn ddigon i beri i ni ganu a neidio yn nghanol y cwbl; a phan y gosodir y gelyn diweddaf o dan ein traed, ni wnawn ond canu a molianu yn oes oesoedd am ein gwared ni oddiwrth ein holl beryglon, ac oddiwrth ein holl bechodau a'n trueni am byth. Bendigedig!

> "Ni wnawn ond canu tra f'om byw
> Am ras Calfaria fryn."

"Iddo ef yr hwn a'n carodd ni, ac a'n golchodd ni oddiwrth ein pechodau yn ei waed ei hun; ac a'n gwnaeth ni yn freninoedd ac yn offeiriaid i Dduw a'i Dad ef; iddo ef y byddo y gogoniant a'r gallu yn oes oesoedd. Amen," Dat. i. 5, 6. Cariad a gras Duw yw y cwbl oll yn ein hiachawdwriaeth. Ymaith â theilyngdod dyn; dyna yr opiniwn ffolaf yn yr Eglwys Babaidd ei hunan. Dal fod dyn yn gallu pwrcasu iachawdwriaeth trwy ei weithredoedd a'i deilyngdod ei hun yw y ffolineb mwyaf y mae yn bosibl i ddynion siarad. Gras ein Harglwydd Iesu Grist, cariad Duw, a chymdeithas yr Ysbryd Glân, yw y cwbl. Mae yn well genyf ymddiried i ras, a chariad, a chymdeithas y Drindod santaidd nag i'r

holl ddaioni sydd yn y byd, a'i gylymu yn nghyd yn un sypyn; ïe, mwy; y mae yn well genyf ymddiried i ras Duw na'r holl ddaioni sydd gan angylion y nefoedd. Iachawdwriaeth trwy ras i mi. Cedwch eich *rags;* gadewch i mi gael y cyfiawnder pur a difrycheulyd wauwyd o Fethlehem i Galfaria. *Free grace, not purchased, nor deserved.* Y mae yr apostol Paul yn gwaeddi allan mewn syndod uwch ben y môr diddiwedd, "O ddyfnder golud, O ddyfnder doethineb, O ddyfnder gwybodaeth, O ddyfnder cariad, O ddyfnder tosturi, O ddyfnder gras, O ddyfnder iachawdwriaeth rad, O ddyfnder Duw, Anchwiliadwy olud Crist! "Canys o hono ef, a thrwyddo ef, ac iddo ef y mae pob peth. Iddo ef y byddo gogoniant yn dragywydd. Amen," Rhuf. xi. 36. Mae yr apostol bron yn colli ei synwyrau, a'i anadl hefyd, uwch ben rhyfeddodau dyfnion trefn Duw, mewn rhagluniaeth a gras. O ddyfnder amynedd, yn peidio cospi, er haeddu filoedd o weithiau! O ddyfnder trugaredd, yn maddeu yr holl anwiredd, ac yn arbed y troseddwr, a'i ddychwelyd i ffafr Duw byth! Mae Duw yn ymhyfrydu cymaint yn ei gariad, fel y mae am i chwi ei adnabod wrth yr enw hwnw, a'i alw mwyach yn Dduw y cariad. "Duw, cariad yw." Yr oedd yn anmhosibl i'r apostol ddymuno dim byth i eglwys Corinth mor briodol, cysurol, a boddhaol â chariad Duw. Mae efe, wrth ddymuno hyny iddi, yn dymuno pob peth Duw iddi ar unwaith. Cariad Duw fyddo gyda chwi.

Y trydydd peth y mae yr apostol yn dymuno yn ei weddi yw "cymdeithas yr Ysbryd Glân." Mae rhai hereticiaid yn dywedyd nad yw yr Ysbryd Glân yn Dduw, mwy na'r Mab; nad oes yr un o honynt yn cael ei alw felly yn y testun ond y Tad yn unig. Ond y maent mewn lleoedd eraill, fel y darfu i ni sylwi o'r blaen, yn cael eu galw yn Dduw. Mae rhai yn galw yr Ysbryd Glân yn Fab Duw, am ei fod yn deilliaw oddiwrth y Tad, ac yn frawd i Iesu Grist. Ond ni a adawn yr hereticiaid yn bresenol i ddweyd y peth a fynont, ac ymdrechwn gael cymdeithas yr Ysbryd Glân; bydd hyny yn well na miloedd o aur ac arian. Trowch naill ochr, chwi hereticiaid; trowch o'r ffordd, holl deganau a phleserau y cnawd; gadewch lonydd i fy enaid tlawd, gadewch chwareu teg i mi ddal cymdeithas â'r Ysbryd Glân. Mae ei gymdeithas yn well na gwin, yn felusach na mêl, yn werthfawrocach nag aur Peru; y mae yn lloni mewn gorthrymderau, yn llanw y diffyg ar ol colli perthynasau a chyfeillion; ïe,

mi ganaf yn y glyn heb neb gyda mi ond ei hunan. Bendigedig! "yr wyt ti gyda mi."

Y mae efe yn cael ei alw yn Ysbryd Glân, yn un peth, i'w wahaniaethu oddiwrth yr ysbryd aflan; ond yn benaf am ei fod yn Dduw santaidd a dihalog, ac yn Santeiddydd ei bobl. Mae ei gymdeithas yn cynwys rhyw fendithion mawrion a melusion i'w bobl. Mae yn cynwys cymundeb rhwng yr enaid â holl rasusau gogoneddus yr Ysbryd Glân. Mae yn rhaid cael bywyd cyn y mae yn bosibl fod cymundeb; a gweithred gyntaf yr Ysbryd yw anadlu anadl einioes yn yr enaid, a'i wneyd yn enaid byw. Mae yr Ysbryd yn gwneyd hyn trwy gyfeirio yr enaid at yr Adgyfodiad a'r Bywyd, yn myned â'r pechadur yno, ac yn cymeryd o rinweddau yr aberth, a'i gymhwyso yn effeithiol at y galon. Mae efe yn datguddio effeithioldeb gwaed Crist i faddeu pechodau, perffeithrwydd ei gyfiawnder i gyfiawnhau yr annuwiol, a chyflawnder ei ras i ddiwallu a chyflenwi yr holl angenion, ac i gysuro a chryfhau ar y ffordd i'r nefoedd. "Eithr yr Arglwydd yw yr Ysbryd: a lle y mae Ysbryd yr Arglwydd, yno y mae rhyddid. Eithr nyni oll ag wyneb agored, yn edrych ar ogoniant yr Arglwydd megys mewn drych, a newidir i'r unrhyw ddelw, o ogoniant i ogoniant, megys gan Ysbryd yr Arglwydd," 2 Cor. iii. 17, 18.

Gras ein Harglwydd Iesu Grist yw y cyntaf yn y testun, cariad Duw yw yr ail, a chymdeithas yr Ysbryd Glân yw y trydydd. Mae y gras a'r cariad yn fendithion annhraethadwy, eithr ni fyddant yn ddim i ni heb y drydedd; canys yr Ysbryd Glân sydd yn ein gosod mewn meddiant o'r cwbl. Mae datguddiad o ras ein Harglwydd Iesu Grist a chariad y Tad yn y Bibl; ond yr Ysbryd sydd yn rhoddi y cwbl o hyn yn ein dwylaw. Mae yn dyfod â ni i feddiant y gras, y cariad, a'r cwbl. Mae yn dyfod â phob peth Duw yn eiddo i ni, a'n gwneyd ninau yn eiddo Duw am byth. Llaw Duw yw yr Ysbryd, i estyn bendithion yr efengyl i ni. Iesu Grist, trwy ei werthfawr waed, sydd yn rhoddi iawn i'w Dad digllon, ac yn gwneyd cymod yn haeddedigaethol; eithr yr Ysbryd Glân sydd yn cymhwyso y gwaed hwnw atom ni, ac yn gwneyd cymod yn weithredol rhwng ein heneidiau a'n Barnwr, yn ein sicrhau fod cymod wedi cymeryd lle; yn selio ein rhyddhad, ac yn datguddio fod yr holl bechodau wedi eu maddeu. Mae pob daioni ag sydd yn dylifo i'r eglwys yn ddaioni y Tri Pherson yn unedig; ond y mae yn cael ei weinyddu yn

gyfangwbl trwy yr Ysbryd Glân. Mae y cysur mwyaf, cysur annhraethadwy, yn gynwysedig yn y gair hwn,—"cymdeithas yr Ysbryd Glân." Mae gobaith ynddo am heddwch, am oleuni, am santeiddhad, am ddyddanwch, am arweiniad trwy yr anialwch, am sicrwydd ffydd, ac am ogoneddiad y tu draw i'r bedd. "A'r un ffunud y mae yr Ysbryd hefyd yn cynorthwyo ein gwendid ni. Canys ni wyddom ni beth a weddiom, megys y dylem: eithr y mae yr Ysbryd ei hun yn erfyn trosom ni ag ocheneidiau annhraethadwy," Rhuf. viii. 26.

Pan y mae y cristion yn cael ei demtio, ac yn teimlo gallu ei elynion a'i wendid ei hunan, nes bron yn suddo mewn anobaith; pan yn teimlo picellau tanllyd y fall, arswyd a dychryn marwolaeth, digofaint Duw, bygythiadau y gyfraith santaidd, taranau y nefoedd oddiuchod, y diafol yn rhuo fel llew, y ddaear yn crynu, ac uffern yn agor ei safn yn anferth, yn barod i'w lyncu i fyny yn fyw; y mae yr Ysbryd Glân yn nghanol y cwbl yn cynorthwyo ein gwendid ni, ac yn helpu yr uchenaid gwan i ddyrchafu i fyny at y Tad; ac, er gwaethaf picellau tanllyd satan, arswyd a dychryn marwolaeth, a rhuadau y llewod uffernol, y mae y dymuniad gwan yn dianc i fyny trwy nerth yr Ysbryd, ac yn cyrhaedd y drydedd nef. Gogoniant! ni gawn ddianc byth. O Ysbryd Duw, myn chwareu teg i dy blant yn nghanol seirph ac ysgorpionau, yn yr anialwch gwag erchyll yma. O Ysbryd Glân, cynorthwya ein gwendid ni, yn nghanol holl gryfder ein gelynion, i orchfygu a bod "yn fwy na choncwerwyr trwy yr hwn a'n carodd." Gwna ni, er ein holl wendidau, yn ddigon cryf i orchfygu holl alluoedd y tywyllwch. Nid oes dim gwahaniaeth am ein gwendid ni, fy nghyfeillion, ond cael cryfder Ysbryd Duw o'n plaid; canys yn fynych pan yr ydym ni yn teimlo ein hunain wanaf, dyna y pryd yr ydym gryfaf, trwy yr Ysbryd, yr hwn sydd yn ein cynorthwyo. Os ydyw yr Ysbryd Glân yn eich cynorthwyo i lefain Abba Dad, nid oes un gelyn yn y byd, nac yn y pwll diwaelod ychwaith, a gaiff eich dyfetha. Pan ydym yn methu anadlu, yn methu griddfan, ac yn methu dim, mae yr Ysbryd y pryd hwnw "yn erfyn trosom." Pan yr ydym mewn profedigaethau chwerwon, yn methu dweyd llawer o eiriau, na gwneyd gweddiau hirion, na gwaeddi yn uchel gan ddagrau, dim ond i Ysbryd Duw roddi rhyw ychydig o ochenaid yn y teimladau hyn, fel y mae yn fynych yn gwneyd, a galluogi yr enaid i sibrwd, "O Dduw, bydd drugarog wrthyf fi bechadur," fe

aiff y gair hwn i glustiau Duw yn gryfach ac yn fwy melusber nag athrylith ac araethyddiaeth Demosthenes, ac yn fwy peraidd na chaniadau angylion y gogoniant. Ië, pan nad oes yr un gair yn cael ei siarad, ond yn unig un meddwl cywir a phriodol am Dduw yn llechu yn y galon, y mae efe yn gweled mwy yn hyny na holl ddoniau y byd. Mae yr Ysbryd yn ormod i eiriau, gan hyny y mae "yn ocheneidio drosom ag ocheneidiau annhraethadwy a gogoneddus."

III. Edrychwn ar yr apostol fel siampl i bob gweinidog yr efengyl. Mae efe nid yn unig yn pregethu gras i'r bobl, ond hefyd yn gweddio yn daer am ras iddynt. Mae yn dymuno o'i galon iddynt dderbyn yr iachawdwriaeth, gyda gogoniant tragywyddol. Mae yn troi y bregeth yn weddi. Dyma drysorau ydynt yn werth eu dymuno i ddynion; y maent yn werth i chwi dreulio eich penliniau wrth eu ceisio. Gras ein Harglwydd Iesu Grist, cariad y Tad, a chymdeithas yr Ysbryd Glân. Dyma iachawdwriaeth gyflawn, heb ddim yn eisiau; dyma iachawdwriaeth rad, heb ddim i dalu—gras i gyd. Bendigedig, y mae gobaith i'r truenusaf a'r tlotaf:—

"Mae ynddi ddigon, digon byth,
I'r truan ac i'r gwan."

Y gras, y cariad, a'r gymdeithas fyddo gyda chwi oll. Mae y Pabyddion yn meddwl fod cymdeithas â rhyw sant yn ddigon i'w hachub a'u cadw i fywyd tragywyddol, yn enwedig cymdeithas â Mair, brenines y nefoedd, fel y dywedant. Ni roddodd yr apostol Paul y fath gynghor iddynt yn Rhufain, na Pedr ychwaith; ond eu cyflwyno i Grist ac i'w ras y mae, fel yr holl eglwysi eraill. Nid eu cyflwyno i fam ein Harglwydd, ond i'n Harglwydd ei hunan. Mae efe yn eu cyflwyno i bob Person yn yr Hanfod; i'r Tad, i'r Mab, ac i'r Ysbryd Glân. Nid yw efe yn eu trosglwyddo i ddwylaw angylion y nefoedd, ond i ddwylaw y Nefoedd ei hun. Mae y weddi yn eang, ac yn helaeth iawn ei chynwysiad. Nid yw yn weddi faith, eithr y mae yn weddi fawr iawn. Dymuniad llawn, cyfoethog anarferol, y mae yr apostol yn ei ddymuno i'r Corinthiaid. "Gras ein Harglwydd Iesu Grist, cariad Duw, a chymdeithas yr Ysbryd Glân a fyddo gyda chwi oll." Os ydyw hyn oll genych,—os yw y gras, y cariad, a'r gymdeithas yma yn eich meddiant, beth sydd arnoch ei eisiau yn ychwaneg? A ydyw hyn ddim yn ddigon? Onid ydyw y cwbl ag sydd o werth yn eich dwylaw? onid ydyw holl gyflawnder Duw wedi dyfod i'ch rhan?

Pwy a genfigena wrth gyfoethogion y byd hwn? pwy genfigena y palasau, a'r castellau, y parciau, y pysgodlynau, a'r *coach and four*, sydd â'i holl gysur a'i ddedwyddwch yn canolbwyntio yn Nuw? Os yw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân gyda chwi, peidiwch ag ymrafaelio â chŵn y byd am yr esgyrn; gadewch iddynt eu cael; glynwch wrth eich trysorau tragywyddol, cymerwch afael yn y bywyd a bery byth. Mae gwagedd y byd hwn, fy nghyfeillion, yn suddo o dan gwmwl o'r golwg am byth, yn ymyl gras Crist, cariad y Tad, a chymdeithas yr Ysbryd Glân. Fel y mae y pethau mawrion hyn yn codi yn y meddwl, y mae yr holl bethau eraill yn suddo. Beth sydd arnoch eisiau, dywedwch, nad yw yn cael ei gynwys yn ngras Crist, cariad Duw, a chymdeithas yr Ysbryd Glân? Os ydych wedi dyoddef colledion, dyma le i chwi nid yn unig wneyd yr oll i fyny, ond mil mwy. Nid yw yr apostol yn dymuno y byd hwn iddynt, na dim sydd yn perthyn iddo, na chyfoeth na phleserau; byddai hyny yn anfeidrol ry fach. Eithr y mae efe, fel tad ysbrydol, yn dymuno y pethau mwyaf y gwyddai am danynt. Mae cynwys ei ddymuniad yn ddigon i gyfarfod â holl amgylchiadau dyrys y byd hwn, i gyfarfod â rhuadau enbyd yr hen Iorddonen donog, ac i gyfarfod â holl bwysfawrogrwydd y byd a ddaw. Gras Crist, cariad y Tad, a chymdeithas yr Ysbryd Glân fyddo gyda chwi oll. Amen. Dyna ddigon at bob pwrpas. Bydded gyda chwi, weinidogion y gair, yn bersonol, er eich achub i fywyd tragywyddol, eich dyddanu, a'ch cyfarwyddo yn eich holl ffyrdd. Bydded gyda chwi yn swyddol, gyda chwi yn eich gweinidogaeth, yn eich arddel, ac yn effeithioli y genadwri, onide trengu a wnewch chwi a'ch gweinidogaeth.

Yr oedd yr apostol Paul yn byw yn y teimlad o werth Duw gydag ef, am hyny yn gallu ei gymhell yn rhwydd a'i ddymuno i'w frodyr yn weinidogaeth. Dylanwad y bendithion sydd yn y testun oedd yn enyn sel yr apostol, ac yn cyfansoddi athrylith wlithog Apolos. Mae y naill yn planu, a'r llall yn dyfrhau, a gras ein Harglwydd Iesu Grist, cariad y Tad, a chymdeithas yr Ysbryd Glân yn rhoddi y cynydd. Beth dâl i chwi ddadleu yn Corinth, nac yn un man arall o ran hyny, yn nghylch Paul, Apolos, a Chephas; ac un yn dywedyd, "Myfi wyf eiddo Paul," a'r llall, "Minau wyf eiddo Apolos," a'r nesaf, "Minau wyf eiddo Cephas;" a'r un pryd yn meddwi wrth fwrdd y cymun, ac yn byw yn mhob aflendid?

Eisiau gras sydd arnoch chwi, nid eisiau dadleu yn nghylch y pregethwyr. Nid yw yr eglwys byth heb eisiau cawodydd graslawn, i wneyd y rhai drwg yn dda, a'r rhai da yn well; gwneyd y rhagrithwyr yn ffyddlon, a'r ffyddloniaid yn ffyddlonach. Mae eisiau llawer o ras er ein cynorthwyo i *ddyoddef* ewyllys Duw, a'i *gwneyd* hefyd. Os ydych mewn llwyddiant, y mae yn rhaid i chwi gael gras i'w santeiddio, fel y byddo yn fendith ac nid yn felldith; ac y byddoch yn cael eich cadw yn nghanol gwenau y byd i beidio "gobeithio mewn golud anwadal, ond yn y Duw byw." Y mae eisiau hefyd mewn amgylchiadau gwrthwynebus i'ch cymodi â goruchwyliaethau eich Tad nefol, a pheidio grwgnach a rhoddi dim yn ynfyd yn ei erbyn, ond ei fendithio a'i wasanaethu ar ddydd cymylog a thywyll. Mae eisiau gras pan mewn temtasiynau oddiwrth ddynion, ac oddiwrth gythreuliaid, a chalon ddrwg, i'ch dal i fyny rhag syrthio i "ddamnedigaeth diafol." Mae eisiau gras i gario corph y farwolaeth, gan ddysgwyl rhyddhad yn ymddangosiad ein Harglwydd Iesu Grist. Am hyny y mae y dymuniad hwn o eiddo yr apostol yn cyfarfod â holl angenion a themtasiynau yr eglwys yn mhob oes o'r byd. "Gras ein Harglwydd Iesu Grist, cariad Duw, a chymdeithas yr Ysbryd Glân a fyddo gyda chwi oll. Amen."

Bydded hyn gyda chwi ar eich gwely cystudd, i'ch dyddanu, bydded gyda chwi yn angau i ddal eich penau i fyny, bydded gyda chwi yn nydd y farn ddiweddaf, i'ch galluogi i edrych yn wyneb eich Ceidwad mewn cyfiawnder; a bydded gyda chwi am dragywyddoldeb yn orphwysfa dawel oddiwrth eich holl lafur. "Rhodded yr Arglwydd i chwi gael trugaredd gan yr Arglwydd yn y dydd hwnw." Byddwch yn gweled gwerth y weddi hon ar ddydd marwolaeth, y dydd y bydd pawb a phob peth yn cilio draw; cariad yn gorfod troi yn ol, gras dynion yn pallu, cymdeithas y wraig a'r plant wedi ei golli; "câr a chyfaill wedi ei yru yn mhell;" dyma chwi wedi eich gadael, o ran pob peth y bywyd hwn, yn unig ac yn dlawd am byth; eithr os bydd gras ein Harglwydd Iesu Grist, cariad Duw, a chymdeithas yr Ysbryd Glân gyda chwi, ni fyddwch yn amddifad, ond byddwch yn gyfoethocach nag erioed.

Ond, fy nghyfeillion, i'w gael gyda ni ar ddydd angau, rhaid i ni rodio gydag ef bob dydd yn ein bywyd. Os ydym am farw yn nghymdeithas y pethau hyn, mae yn rhaid i ni fyw hefyd gyda hwynt. Yr Arglwydd grasol a'n helpio i

weled gwerth a byw o dan ddylanwad trefn achub bob dydd. Mi fyddaf yn gysurus mewn bywyd, ac yn angau hefyd, os bydd gras ein Harglwydd Iesu Grist, cariad Duw, a chymdeithas yr Ysbryd Glân gyda mi. Safed perthynasau i wylo; minau a ganaf, yn nghymdeithas fy Arglwydd a'm Duw, yn ymchwydd yr Iorddonen. Y mae pob cymdeithas yn darfod yn llwyr yn afon angau; y wraig, y plant, y cyfeillion crefyddol, a phawb; ond bendigedig, ni bydd eich eisiau mwy; y mae cymdeithas yr Ysbryd Glân yn llawn ddigon.

Y mae yr apostol yn rhoddi ei Amen yn wresog wrth ei ddymuniad. Ac fe allai fod yr Amen yn cynwys *sicrhad* yn gystal a dymuniad. Nid yn unig bydded felly, eithr fe fydd felly. Mae Duw wedi gwneyd ei lw, y caiff etifeddion yr addewid fwynhau trysorau yr addewid byth. Mae sicrwydd am eich iachawdwriaeth; nid yw yn bosibl eich dinystrio heb ddinystrio llwon, cyfamod, ac addewidion y Duw digelwyddog. Mae hyn yn beth anmhosibl i'w wneyd byth; y mae nid yn unig yr apostol, ond Duw ei hun yn rhoddi Amen ar ol ei holl addewidion i chwi. Y mae pethau eraill yn ansicr; trugareddau y byd yn gyfnewidiol; nid yw Duw wedi rhoddi Amen erioed mewn cysylltiad â hwy. Eithr y pethau y mae efe wedi tyngu uwch eu penau, a chysylltu Amen â hwy, ydynt yn "sicr drugareddau." Bydd gras ein Harglwydd Iesu Grist, cariad Duw, a chymdeithas yr Ysbryd Glân gyda chwi, pwy bynag fydd yn troi yn ol. "Gras i chwi a thangnefedd," medd yr apostol yn nechreu yr epistol, ac felly hefyd y mae yn dybenu. Nid oes dim tangnefedd heb ras yn gyntaf: rhagredegydd tangnefedd yw gras. Y mae gras yn suddo i mewn i dangnefedd, ac yn gorphwys yn mro heddwch. Os na fydd gras yn y fynwes, yr ydych yn wynebu ystormydd tragywyddol. Y mae gras yn cynwys y teimlad o bob heddwch a thawelwch, amserol a thragywyddol. Dyma yr unig beth y mae yn werth dodi Amen ar ei ol. "Gras ein Harglwydd Iesu Grist fyddo gyda chwi oll. Amen. Cariad Duw fyddo gyda chwi oll. Amen. Cymdeithas yr Ysbryd Glân fyddo gyda chwi oll. Amen." Amen, medd fy enaid inau hefyd: felly y byddo.

## PREGETH XIV.

### DYODDEFAINT CRIST.

"Oblegyd Crist hefyd unwaith a ddyoddefodd dros bechodau, y Cyfiawn dros yr annghyfiawn, fel y'n dygai ni at Dduw, wedi ei farwolaethu yn y cnawd, eithr ei fywhau yn yr Ysbryd," 1 Pedr iii. 18.

Amcan yr apostol yma yw cadarnhau meddyliau y saint i ddyoddef cystudd; ac yn benaf erledigaethau mawrion. Y mae yn eu cysuro gan ddywedyd fod ganddynt fantais annghyffredin i ddyoddef, sef cydwybod dda, heddychol a thawel oddifewn, ac esiampl *dda* oddiallan. "Crist yntau a ddyoddefodd dros bechodau, y Cyfiawn dros yr annghyfiawn." Mae cydwybod dda yn wledd wastadol; er bod yn nghanol ystormydd cryfion ac erledigaethau chwerwon. Mae yn fil gwell iddi fod yn ystorm oddiallan nag ystorm oddifewn. Ni fyddwch fawr gwell o heddwch allanol os bydd brwydr o fewn; eithr os bydd heddwch o fewn, chwi orchfygwch, a chwi ewch drwy ystormydd allanol yn hapus ac yn orfoleddus. "A chenych gydwybod dda; fel yn yr hyn y maent yn eich goganu megys drwg-weithredwyr, y cywilyddio y rhai sydd yn beio eich ymarweddiad da chwi yn Nghrist. Canys gwell ydyw, os ewyllys Duw a'i myn, i chwi ddyoddef yn gwneuthur daioni nag yn gwneuthur drygioni."

Y mae dyoddef fel cristionogion yn glod, y mae dyoddef fel lladron yn warth; y mae dyoddef fel cristionogion yn rasol ger bron Duw; y mae dyoddef fel drwg-weithredwyr yn ddianrhydedd ger bron Duw, a cher bron dynion hefyd. Mae cydwybod dda yn cynorthwyo dynion i ymgysuro yn y dyoddefaint gwaethaf; ond dyoddefaint gwaethaf y drwg-weithredwyr yw cydwybod euog. Mae hi yn waeth fflangell na fflangellau y byd; mae yn fwy dychrynllyd nag awch cyfreithiau dynol; mae y teimlad o honi yn rhuo yn y galon fel pe byddai yr Hollalluog yn dechreu gosod ei gyfraith santaidd mewn grym. Nid ydyw yn ddrwg, fy nghyfeillion, os y corph yn unig fydd yn dyoddef, er fod hyny yn chwerw a theimladwy, os bydd yr enaid yn rhydd, ac mewn heddwch â Duw. Gellwch lawenhau yn y gorthrymderau hyn, a chanu yn felus pan hyd eich gên mewn dwfr. Pa mor santaidd bynag y byddo ymarweddiad y saint yn y byd, bydd y gelynion yn sicr o'u cablu; eto, cydwybod dda, ac ymarweddiad da, yw y peth effeithiolaf i gau eu geneuau.

Os ydych wedi eich galw i ddyoddef, edrychwch ar Grist yn dyoddef; bydd hyny yn help i chwithau ddyoddef. Canys "Crist yntau a ddyoddefodd, y Cyfiawn dros yr annghyf-iawn." Nid oes cywilydd mewn dyoddef, ond i chwi ddy-oddef fel cristionogion, yn ddiniwed ac yn ddifeius, canys nid ydych yn gwneyd dim ond dylyn eich Rhagflaenor mewn dyoddefiadau. Mae cydwybod dda nid yn unig yn cynorth-wyo mewn dyoddefiadau, ond hefyd yn rhoddi boddlonrwydd a phleser mawr yn ein bod yn ymdebygu i'n Prynwr bendig-edig, ac yn ei ddylyn. Mae yn fraint cael dyoddef yn ei enw ac er mwyn ei enw; ïe, y mae yn anrhydedd a gogon-iant tragywyddol. Yr ydym yn cael cyfleusdra felly i gyd-ffurfio ag ef yn ei ddyoddefiadau. Am hyny, os ydych yn dyoddef ar gam, dyoddefwch yn amyneddgar, fel y byddoch yn debyg yn eich dyoddefiadau i Grist, eich Pen; "oblegyd Crist yntau a ddyoddefodd."

Y mae y testun a ddarllenasom yn cynwys dyoddefiadau, angau, ac adgyfodiad yr Arglwydd Iesu. Crist a ddyodd-efodd. Crist a farwolaethwyd yn y cnawd; efe a fu farw yn y natur ddynol; Crist a fywhawyd yn yr Ysbryd; efe a gododd o'r bedd yn nerth ei Dduwdod. Mae yn anmhosibl i ni edrych i mewn i ddyoddefiadau, angau, ac adgyfodiad Crist heb weled cariad a gras anfeidrol y Jehofah mawr yn rhoddi ei Fab, a gras a chariad y Mab yn cymeryd ein hachos, a dyoddef a marw yn ein lle. Mae cariad yr Argl-wydd Iesu yn ddigon i doddi calonau ceryg. Ei "hyfrydwch oedd gyda meibion dynion." Mae ei anfeidrol gariad, nid yn unig wedi ei gymhell i wneyd *rhyw beth* drosom er ein daioni cyffredinol, ond wedi ei gymhell i *farw* yn ein lle— "y Cyfiawn dros yr annghyfiawn." Crist yn dyoddef yn ein lle yw yr achos haeddedigaethol o'n derbyniad ger bron Duw; mae wedi dyoddef dros bechodau; "y Cyfiawn dros yr annghyfiawn, fel y'n dygai ni at Dduw." Mae y testun yn arwyddo hefyd fod digonoldeb yn nyoddefiadau yr Arglwydd Iesu, fel nad oes rhaid i neb ddigaloni; "Crist *unwaith* a ddyoddefodd." Mae efe wedi cwblhau a pherffeithio yr holl waith ar unwaith. "Nac fel yr offrymai efe ei hun yn fynych, megys y mae yr arch-offeiriad yn myned i mewn i'r cysegr bob blwyddyn â gwaed arall: oblegyd yna rhaid fuasai iddo yn fynych ddyoddef er dechreuad y byd; eithr yr awr hon unwaith yn niwedd y byd yr ymddangosodd efe, i ddileu pechod trwy ei aberthu ei hun," Heb. ix. 25, 26.

Y mae y dyben mawr i'r holl ddyoddefiadau wedi ei gyrhaedd; "Fel y'n dygai ni at Dduw." Yr oedd yr amcan tragywyddol i ddyfod â iachawdwriaeth i *ni*, y rhai a haeddasom dragywyddol ddamnedigaeth. Mae daioni mawr yr arfaeth a'r cyfamod gras yn awr yn llifo yn rymus trwy *channel* y groes. Mae y gair "fel y'n dygai ni at Dduw" yn awgrymu fod ynom annhuedd i ddyfod ato, yn nghyda gwendid ac anallu i gychwyn, hyd nes ein dwyn yn ol gan Ysbryd Duw, trwy gymhwyso atom rinweddau marwolaeth yr Arglwydd Iesu. Angau Crist yw y ffordd yn ol at Dduw. Trwy farw y mae wedi symud y rhwystrau oddiar y ffordd, *setlo* â chyfiawnder wrth yr adwy, talu yr hatling eithaf o'r ddyled, a gwneuthur yr holl ffordd yn rhydd, fel y'n dygai ni drachefn i ffafr a heddwch Duw. Mae llawer o bethau yn y testun y mae yn rhaid i ni fyned heibio iddynt yn bresenol. Sylwn ychydig ar y tri pheth canlynol:—I. Y Person. II. Y dyoddefiadau. III. Y dyben.

I. Y Person: "Crist yntau a ddyoddefodd." Y Messiah addawedig, "yr hwn yr ysgrifenodd Moses yn y gyfraith, a'r prophwydi am dano;" Iesu o Nazareth, mab Joseph. "Dymuniant yr holl genedloedd," yr hwn a ddysgwyliwyd gan y deuddeg llwyth yn ddidor am ddwy fil o flynyddoedd. "Immanuel, Duw gyda ni." "Dyn â'r Duwdod ynddo'n trigo." Dyweded yr Unitariaid y peth a fynont, ni a'i cyffeswn yn Grist; dirmyged yr Atheistiaid a'r Deistiaid, a chabled yr Iuddewon, a chyfrifent ein hefengyl ni yn ffolineb os ydynt yn ewyllysio; a bydded yn dramgwydd iddynt, gan eu bod yn tramgwyddo wrth y gwirionedd; y mae efe, er gwaethaf pawb, i'r rhai sydd yn credu yn "Grist gallu Duw, a doethineb Duw." Yr athrawiaeth ag sydd yn dysgu fod Crist yn Dduw ac yn ddyn yw athrawiaeth y Bibl, a chredo yr eglwys yn mhob oes o'r byd. Efe yw sylfaen a Phen congl-faen y patriarchiaid, y prophwydi, yr apostolion, a'r merthyron hefyd. A bydd yn rhaid i bob glin blygu, a phob tafod gyffesu yn y man, fod "Iesu Grist yn Arglwydd." Bendigedig, mae fy enaid mewn hwyl i'w goroni heddyw o'r newydd fel llawer gwaith o'r blaen. "Byw fyddo y Brenin Iesu yn oes oesoedd." Efe yw y graig gadarn lle y gall fy enaid adeiladu a gorphwys arno yn dragywydd. "Ac ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys; a phyrth uffern nis gorchfygant hi," Mat. xvi. 18. Dyma y "maen profedig," fy nghyfeillion, sydd wedi dal yr holl driniaeth heb dori; ac y

mae yn abl i ddal yr hyn a roddir i orwedd arno. Diolch! *There is not a flaw in the rock of ages.* Mae myrddiynau ar fyrddiynau wedi gwneyd prawf o'r graig, ac wedi tystiolaethu oll ei bod yn gadarn a diysgog, yn ddigonol i ddal pwys pwy bynag a ymorphwyso arni.

Pwy erioed a wadodd ddwyfoldeb Crist, a fu farw mewn sicrwydd? Neb. Nid ydyw dirmygwyr gwaed Crist yn hapus, nac yn y byd hwn nac yn y byd a ddaw. Nid yw dirmygwyr gwaed Crist yn derbyn un cysur oddiwrth grefydd yn y byd hwn; a byddant yn sicr o dderbyn annghysur tragywyddol yn y byd a ddaw. Byddant mewn tywyllwch eithaf, ac yn suddo byth yn y pwll diwaelod mewn anobaith tragywyddol. Mae yr annghredadyn yn rhesymu yn ein herbyn, gan ddywedyd, "A all Arglwydd y bywyd ddyoddef a marw?" Nis gall ei feddwl cnawdol ac anianol ef ffurfio syniad am hyn; y mae pethau ysbrydol uwchlaw ei ddirnadaeth ddynol ef am bethau; fel y mae yn cyfrif Crist a'i angau yn ynfydrwydd, a phregethu yr efengyl yn ffolineb. Y mae yn well ganddo ef ymddiried yn ei *foes-ddysg* nag ymddiried yn angau a gwaed Iesu Grist am gadwedigaeth. Yr oedd gan Grist *natur* ddynol, wedi ei chymeryd i undeb â'i Berson dwyfol, yn gymhwysder i ddyoddef a marw. Yr oedd ganddo "yr hyn a offrymai." Mae Person yr Arglwydd Iesu yn syndod i'r credadyn ei hun, yn "ddirgelwch mawr duwioldeb;" "Duw a ymddangosodd yn y cnawd." Gwelodd yr Arglwydd Iesu ein cwymp erchyll cyn bod y byd; gwelodd ni yn euog yn nwylaw cyfiawnder ac yn nwylaw y cythraul, yn agored i drueni tragywyddol. Ei galon a dosturiodd wrthym yn ein sefyllfa andwyol, a daeth i'n byd ni yn "wr gofidus, a chynefin â dolur." Bydd hyn yn destun syndod i nefoedd a daear byth. Gallasai yn gyfiawn ein gadael yn ein pechodau a'n trueni, i gadwynau a charchar tragywyddol, a chreu byd neu fydoedd newyddion, ac ynddynt rif y gwlith o drigolion santaidd i ymddigrifu ynddynt byth. Ni buasai hyn yn costio rhagor na gair o'i enau yn dywedyd, "Bydded." Buasai hyn yn annhraethol lai o gost iddo; a'n troi ninau i blith cythreuliaid. Ond carodd ni mor angerddol—nis gallwn ddywedyd paham—fel ag y cymerodd ein natur, cymerodd ein lle, a chymerodd ein cospedigaeth i'r dyben o'n hachub a'n gwaredu byth. Diolch.

Fe wyddai Mab Duw beth oedd y gost cyn dechreu y gwaith; fe wyddai am yr holl dywydd garw, yr holl ddyodd-

efiadau; chwys yr ardd, y goron ddrain, y gwaradwydd a'r poeredd, a'i angau gwarthus yn nghrog ar bren: eto nid oedd yn bosibl ei berswadio i beidio ymgymeryd ag ef, nac i'w droi yn ol pan yn nghanol y drygfyd mawr. Ac er yr holl ddyoddefiadau, y gwarth, a'r poenau oedd yn nglŷn â'n hachubiaeth, ni edifarhaodd iddo ymgymeryd â'r fath orchwyl. Mae y rhan fwyaf, wedi iddynt ymrwymo dros eraill, yn edifarhau eilwaith; canys nid oeddynt wrth ymrwymo yn meddwl talu, ond yn unig esmwythau meddyliau y gofynwyr, fel y caffai y dyledwr wneyd ei oreu, a chael amser teg i gyfarfod â'i ofynwyr. Bydd y meichiau yn wylo yn aml o herwydd iddo fod mor ffol ag ymrwymo pan yn gweled y ddyled yn dyfod arno. Ond, fy nghyfeillion, yr oedd ein Meichiau mawr ni yn meddwl talu bob hatling pan yr oedd yn rhoddi ei law wrth y *fond;* a safodd yn onest wrth y ddyled nes ei thalu yn llwyr; ac y mae yn sefyll wrth y dyledwr, er ei achub a'i waredu byth o garchar tragywyddol. Fe dalodd y ddyled o gariad at y dyledwr. Bendigedig! er iddo wylo lawer gwaith yn ein hachos, ni ddarfu iddo wylo unwaith o herwydd ymgymeryd ag ef. "O law y bedd yr achubaf hwynt; oddiwrth angau y gwaredaf hwynt: byddaf angau i ti, O angau; byddaf dranc i ti, y bedd: cuddir edifeirwch o'm golwg," Hos. xiii. 14. "Pwy a draetha ei oes ef?" Pwy a all ddywedyd y filfed ran am ddyfnder annhraethol ei ddyoddefiadau? Mae y nefoedd a'r ddaear yn fud; mae y pethau am yr Iesu o Nazareth uwchlaw eu gwybodaeth! Pwy all ddirnad ei ing a'i loesion? Pwy all ddychymygu cyfyngdra ei enaid pan ymbiliodd efe â'i Dad? "O Dad, os yw bosibl, aed y cwpan hwn heibio." Mae arnaf gywilydd y fynyd hon i agor fy ngenau, a siarad am bethau mawrion iachawdwriaeth. Mae talentau Gabriel, ïe, yr holl lu angylaidd yn un, yn anfeidrol ry fach i ddesgrifio dyoddefaint ein Harglwydd Iesu Grist; pa faint llai pryfyn fel myfi? Eto, fy nghyfeillion, mi ddywedaf ychydig goreu y gallaf; a bydded i fy Nuw weled bod yn dda i faddeu fy nhywyllwch a fy annghymhwysder.

Ni awn heibio yn bresenol, heb sefyll ryw lawer ar amgylchiadau genedigaeth isel a thlawd ein Prynwr bendigedig. Haeddasai balas gorwych yn lle ei enedigaeth, eithr ystabl wael a gafodd; haeddasai gryd o ifori, eithr preseb a gafodd yn lle cryd; haeddasai wisgoedd breninol, *royal robes* cyfoethocaf ac ardderchocaf y ddaear, eithr cadachau gwael

oedd am dano; haeddasai ymweliadau oddiwrth freninoedd a thywysogion penaf y byd, eithr bugeiliaid tlawd pen y mynyddoedd o amgylch ddaeth i dalu ymweliad iddo. Gadawn heibio yn awr siarad am ei fabandod, a phoenau ei enwaediad, ac awn yn y blaen i edrych arno yn ei demtiad gan ddiafol yn yr anialwch.

Rhyw ymddarostyngiad anfeidrol yn Mab Duw oedd goddef i ddiafol ei demtio, ei boeni, a'i ddirmygu, nes ydoedd yn llewygu o dan ei ddwylaw. O syndod! O anfeidrol syndod! Mae fy enaid yn llesmeirio wrth edrych arno! "Yr hwn yr oedd ei fynediad allan o'r dechreuad, er dyddiau tragywyddoldeb," tegwch nef y nefoedd, yn mhlith cythreuliaid rheibus ddeugain niwrnod yn yr anialwch. Yr hwn oedd â'i drigfa yn mhlith angylion, yn nghanol caniadau y nefoedd, yn awr yn yr anialwch rhwng cyrn unicorniaid, yn nghanol llengoedd o ysbrydion aflan a melldigedig! Mae yn cael ei yru yn ol ac yn mlaen yn ddidrugaredd gan gŵn cynddeiriog y pwll, mewn syched a newyn. Dyoddefaint dros bechaduriaid, fy nghyfeillion, oedd newyn a syched Crist; efe a ddyoddefodd fel y byddai i chwi gael bara i'w fwyta, a diod i yfed, ar ol i holl ffynonau ein byd ni sychu i fyny yn llwyr. Diolch! y mae ei drugaredd yn parhau yn dragywydd. Pe buasai yn dweyd gair, gallasai orchymyn deng mil o angylion i weini iddo; neu gallasai yn rhwydd ysgwyd y cythreuliaid i'r pwll diwaelod â'i fraich ei hun; eithr pa beth fuasai yn dyfod o honot ti a minau? Buasem gyda hwynt yn y pwll byth. I hyn y daeth i'n byd ni, i ddyoddef a marw trosom, fel y gallai ein rhyddhau byth. "Efe a newynodd," ac ni fynai fwyta nes iddo orchfygu diafol ar ei dir ei hunan, ac yn y tir yr ydoedd yn ymddiried. "A'r temtiwr, pan ddaeth ato, a ddywedodd, Os Mab Duw wyt ti, arch i'r ceryg hyn fod yn fara," Mat. iv. 3. "Os Mab Duw wyt ti:" dyma *impudence;* fe wyddai o'r goreu mai Mab Duw ydoedd, ac y gallasai orchymyn y ceryg yn fara pe buasai yn dewis. Gallasai Mab Duw wneyd y ceryg yn fara lawn mor hawdd ag y gwnaeth y ceryg o ddim; ond ni wnai hyny i foddio y cythraul; yr oedd ganddo amcan mawr hefyd i'w gwblhau wrth beidio. Nid oes diwedd ar haerllugrwydd satan; y mae am demtio y Cyfryngwr i amheu mai Mab Duw ydoedd. "Os Mab Duw wyt ti:" y mae am ei berswadio i wadu ei fabolaeth ei hun. "Arch y ceryg hyn i fod yn fara." Dyma ef yn ceisio ei demtio i anymddiried yn ei ragluniaeth ei hun. Fel pe dywedasai

satan, "A wyt ti yn anwyl Fab Duw, ac eto yn cael dy adael mewn anialwch i newynu! Beth! unig-anedig Fab Duw yn *starfio* o eisiau. Os nad wyt ti yn gallu cyflawni dy ddiffygion dy hun, nid ydwyt yn Fab Duw, canys gall Mab y Duw Goruchaf wneuthur pob peth." Eithr fe gyfarfyddodd satan â'i drech yn yr anialwch; os llwyddodd yn yr ardd, y mae yn gorfod ffoi yn yr anialwch. Mae ein Iesu anwyl ni yn gorchfygu yr hen fwystfil â chleddyf dau-finiog yr Ysbryd mewn ychydig. "Ysgrifenwyd, Nid trwy fara yn unig y bydd byw dyn, ond trwy bob gair a ddaw allan o enau Duw."

Y mae satan yn temtio y saint yn fynych i amheu eu mabwysiad; a pha ryfedd, pan yr ydoedd o'r wyneb i demtio Mab Duw i amheu ei fabolaeth? Mae hefyd yn temtio y saint i amheu gofal Duw drostynt yn nhrefn ei ragluniaeth; a pha ryfedd, pan y gallasai fod o'r pres i demtio Arglwydd y bywyd ei hun yn yr un pethau? Mae weithiau yn temtio y saint i arfer moddion annghyfreithlon i ddarpar gogyfer ag angenrheidiau y bywyd hwn. Temtiodd hefyd yr Arglwydd Iesu yr un modd. "Arch (eb efe) i'r ceryg hyn fod yn fara." Nid oedd gwneyd gwyrth yn y cyfryw amgylchiad, i ddarpar bwyd iddo ei hun, yn gyfreithlon. Wedi hyny y mae diafol yn ei gymeryd i'r ddinas santaidd, ac a'i gosododd ef ar binacl y deml; "ac a ddywedodd wrtho, Os Mab Duw wyt ti, bwrw dy hun i lawr; canys ysgrifenwyd, Y rhydd efe orchymyn i'w angylion am danat; a hwy a'th ddygant yn eu dwylaw, rhag taro o honot un amser dy droed wrth gareg. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Ysgrifenwyd drachefn, Na themtia yr Arglwydd dy Dduw. Trachefn y cymerth diafol ef i fynydd tra uchel, ac a ddangosodd iddo holl deyrnasoedd y byd, a'u gogoniant; ac a ddywedodd wrtho, Hyn oll a roddaf i ti, os syrthi i lawr, a'm haddoli i. Yna yr Iesu a ddywedodd wrtho, Ymaith, satan; canys ysgrifenwyd, Yr Arglwydd dy Dduw a addoli, ac ef yn unig a wasanaethi." Mae satan yn temtio Crist i hunan-laddiad, chwi welwch; "Bwrw dy hun i lawr."

Os temtiwyd yr Arglwydd Iesu i ladd ei hun, pa ryfedd fod y saint yn cael eu temtio i hyny? Mae y diafol yn dwyn ysgrythyr i brofi ei bwnc; fe ddaeth â Bibl o dan ei gesail i'r anialwch, a dyma fe yn troi yn offeiriad, ac yn ei ddarllen, i'r dyben o demtio i bechod. Nid rhyfedd fod yr hereticiaid yn gŵyrdroi y Bibl, canys y maent wedi bod yn yr *academy*

gyda *tutor* gwybodus, Belzeebub penaeth y cythreuliaid. Hen grefft diafol yw gŵyrdroi yr ysgrythyrau, ac y mae yn ei dysgu i filoedd o'i ganlynwyr. Mae efe yn hen esboniwr y Bibl; yn henach na Chalfin, a Scott, a Henry; eithr y mae yn esbonio er cyrhaeddyd ei ddybenion melldigedig ei hun. Mae yn cymeryd rhanau o'r ysgrythyrau, ac yn eu tynu allan o'u cysylltiad priodol, ac yn eu cam-gymhwyso yn bwrpasol; fe fyn fod yn dad y celwydd hyd y nod wrth ymdrafod ac esbonio gwirioneddau Duw. Mae yn methu â dweyd y gwir pan y mae wrth y gorchwyl o ddyfynu yr ysgrythyrau. "Canys efe a orchymyn i'w angylion am danat ti, dy gadw yn dy holl ffyrdd. Ar eu dwylaw y'th ddygant, rhag taro dy droed wrth gareg," Sal. xci. 11, 12. Yn ffordd dyledswydd, cofiwch, y mae efe wedi addaw ein cadw, ac nid yn ffyrdd gŵyrgam rhyfyg. Ffordd dyledswydd yw ffordd dyogelwch. Mae Mab Duw yn ei orchfygu eto â chleddyf yr Ysbryd. "Ysgrifenwyd hefyd, Na themtia yr Arglwydd dy Dduw."

Mae diafol yn ei gynyg eto. Mae yn temtio Crist i'w addoli ef; ei demtio i eilun-addoliaeth yw hyn, a'r eilun-addoliaeth gwaethaf,—addoli y cythraul. O tydi ysbryd aflan a haerllug, pa fodd y meddyliaist, pa fodd yr anturiaist demtio dy Greawdwr i blygu i lawr a'th addoli di? Creadur gwrthgiliedig, ffiaidd, a brwnt o dy fath di, yn gofyn addoliad oddiwrth Frenin y breninoedd, ac Arglwydd yr arglwyddi! Syndod! uwchlaw syndod. Yn sicr nid oes yr un pechod yn rhy ddu, yn rhy frwnt, ac yn rhy ofnadwy i'r credadyn gael ei demtio iddo, ac mewn perygl parhaus o syrthio iddo, os na fydd yn agos iawn at yr Arglwydd. Y mae Crist ei hun yn cael ei demtio i addoli y cythraul, ac yn cael addewid o'r hyn oll a welai am hyny. Ond celwydd, er hyny, oedd yr addewid, gan nad oedd efe yn berchen ar fodfedd o dir, chwaithach o "deyrnasoedd y byd a'u gogoniant." Nid oedd ganddo ef ddim i'w rhoddi i neb ond trueni tragywyddol, carchar uffern, a chadwynau byth. Ac nid yw ond carcharor yno ei hun hefyd. Yn awr, y mae Crist yn gyru satan oddiar faes y frwydr, ac yn ei drywanu â chleddyf y gwirionedd, ac yn ei guro yn deg oddiar y cae. "Ymaith, satan. Yna y gadawodd diafol ef: ac wele, angylion a ddaethant ac a weiniasant iddo." O ddarostyngiad! O ddyfnder darostyngiad! O ddarostyngiad anfeidrol! Mab y Duw Goruchaf, Tywysog y nef, y Brenin Alpha, yn dyoddef y fath anfri, y fath demt-

asiynau, ac yn byw deugain niwrnod a deugain nos gyda y fath gwmpeini â chythreuliaid! Mae yn ddigon tebyg fod satan wedi cymeryd rhyw ffurf weledig o flaen llygaid y Cyfryngwr mawr, a'i glustiau yn gorfod gwrando cableddau haerllug tad y celwydd. Yn gweled ac yn clywed, ond heb dderbyn halogedigaeth.

Dyoddefodd y tu hwnt i un ddirnadaeth yn ein deddfle ni. Ni chadwodd ei ddwyfoldeb ef rhag dyoddef hyd yr eithaf, ond yn unig ei gynorthwyo i ddyoddef, rhinweddoli ei ddyoddefiadau, a gosod anfeidrol werth ynddynt. Trwy gynorthwy ei Dduwdod dyoddefodd yr Arglwydd Iesu fwy nag oedd yn bosibl i greadur, ïe, holl greaduriaid y byd, ddyoddef byth. Mae ei ddwyfoldeb yn rheswm dros fod ei ddyoddefadau yn fwy, ac nid yn llai. Yr oedd yn teimlo y cwbl ag y mae yn bosibl i ninau deimlo; ac y mae yn anmhosibl i ni gyfarfod â phrofedigaeth byth na chyfarfyddodd ef o'n blaen. Mae efe yn gydnabyddus o rym pob temtasiwn, a holl wendidau ein cnawd, canys yr oedd yn "had y wraig," ac heb nerth dynol ond fel ninau. Pe buasech yn ei weled, gwelsech ef yn cerdded yn ol ac yn mlaen yn y diffaethwch yn isel ei ysbryd, yn griddfan ynddo ei hun, yn eistedd o dan ryw gysgod unig yn wylo yn chwerw, ac yn tywallt dagrau yn hidl, yn ocheneidio yn llwythog, a'i galon yn drist iawn. Mae y galon dyner bron a thori gan dristwch a gofid. Dacw ef yn plethu ei ddwylaw santaidd mewn cyfyngder dwys; ac yn mhen ychydig chwi welech ef yn gorwedd â'i wyneb tua'r ddaear, gan boen a chyfyngder, ac yn galw yn wylaidd ar ei Dad. Mae efe wedi ei "demtio yn mhob peth yr un ffunud â ninau, eto heb bechod. Am hyny, yn gymaint a dyoddef o hono ef gan gael ei demtio, efe a ddichon gynorthwyo y rhai a demtir," Heb. ii. 12. Bendigedig! y mae ein Ceidwad mawr yn gydnabyddus o, ac yn gwybod yn berffaith am eich holl brofedigaethau o bob natur, o fewn ac oddiallan; nid yn unig fel Duw hollwybodol, ond hefyd fel Cyfryngwr profiadol. Mae yr Arglwydd Iesu yn brofiadol o holl amgylchiadau y bywyd hwn, ac yn cydymdeimlo â'i blant tlodion yn eu holl amgylchiadau cyfyng yn y byd. Dyoddefodd drosom yn y cwbl. Cychwynodd mewn babandod fel chwithau, a chymerodd y byd o'r bron. Lle bynag a pha fodd bynag y byddoch yn dyoddef, o'r bru i'r bedd, gellir eich cysuro trwy ddywedyd, "Crist yntau a ddyoddefodd." Dyoddefodd Crist fel yna, dyoddefodd yr hyn yr ydych chwi yn ei ddyoddef yn

awr, a gall gydymdeimlo â chwi fel brawd a chydymaith mewn cystudd. Peidiwch â grwgnach; "digon yw i'r gwas fod fel ei Arglwydd, a'r dysgybl fel ei athraw; os erlidiasant ef, hwy a'ch erlidiant chwithau."

Y mae yn ddigon tebyg iddo weithio wrth y grefft gyda'i dad cyfrifol dros ysbaid ei fywyd annghyhoedd, canys galwyd ef yn fab y saer tra fu ei dad byw, ac yn saer wedi i'w dad farw. Dywedir mai ei brif waith fel saer oedd gwneyd ieuoedd ac erydr; ac felly, medd rhai, yr oedd mor naturiol iddo gymeryd ei gydmariaethau oddiwrth iau ac aradr. "Cymerwch fy iau arnoch, a dysgwch genyf; canys addfwyn ydwyf, a gostyngedig o galon; a chwi a gewch esmwythdra i'ch eneidiau." "A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Nid oes neb yn rhoi ei law ar yr aradr, ac yn edrych ar y pethau sydd o'i ol, yn gymhwys i deyrnas Dduw;" Mat. xi. 29, 30; Luc ix. 62. Eithr wedi iddo ddechreu ar ei weinidogaeth gyhoeddus, pan yn nghylch deg ar ugain oed, ni wnaeth ychwaneg o erydr a ieuoedd, ond iau esmwyth yr efengyl i'w bobl, a iau haiarn i roddi am yddfau dynion drwg a chythreuliaid, i'w hieuo i lawr yn y pwll diwaelod. Sicr yw na threuliodd Crist ddim o'i fywyd annghyhoedd yn segur ac anfuddiol, canys buasai hyny yn ddianrhydedd iddo yn mhlith ei genedl; am hyny y mae yn amlwg iddo ddylyn galwedigaeth ei dad cyfrifol, a'i chario yn y blaen wedi iddo farw. Bu yn ddarostyngedig iddo ef tra y bu fyw, a chymerodd y gofal mwyaf am ei fam wedi iddo farw. Yr oedd y rhieni yn rhwym, yn ol defodau yr Iuddewon, i ddysgu y plant yn rhyw gelfyddyd: ac yr oedd eu Rabbiniaid yn myned o dan y ddefod hon, ac yn rhyw grefftwyr oll. Pe buasent yn colli eu meddianau, yr oedd ganddynt gelfyddyd wedi hyny i enill eu bywioliaeth.

Byddai yr Iuddewon yn ymrwystro yn aml wrth iselder amgylchiadau yr Arglwydd Iesu pan y dechreuodd ei weinidogaeth gyhoeddus, ac y pregethai i'r bobl. "Ac efe a ddaeth i'w wlad ei hun, ac a'u dysgodd hwynt yn eu synagogau; fel y synodd arnynt, ac y dywedasant, O ba le y daeth y doethineb hyn, a'r gweithredoedd nerthol i'r dyn hwn? Onid hwn yw mab y saer? onid Mair y gelwir ei fam ef? a Iago, a Joses, a Simon, a Judas, ei frodyr ef? Ac onid yw ei chwiorydd ef gyda ni? O ba le gan hyny y mae gan hwn y pethau hyn oll? A hwy a rwystrwyd ynddo ef," Mat. xiii. 53—57. Yr oedd iselder amgylchiadau Crist yn rhwystr

iddynt dderbyn ei athrawiaeth ef; eithr y mae llygad ysbrydol yn gweled ardderchogrwydd yn ei dlodi ef, yn ei fywyd isel, syml, a dirodres. Nid oedd neb, y mae yn debyg, yn dlotach na Mab Duw ar y ddaear; eithr yr ydym yn gweled cyfoeth tragywyddol yn ei dlodi amserol, anrhydedd yn oes oesoedd yn ei warth tymhorol, bywyd na chyfrgollir byth yn ei angau un prydnawn. Bendigedig fyddo ei enw! "Y mae ffauau gan y llwynogod, a chan adar y nefoedd nythod; ond gan Fab y dyn nid oes le i roddi ei ben i lawr," Mat. viii. 20.

Treuliodd lawer noswaith oer ar y mynyddau, yn cysgu allan heb dŷ na gwely, yn dyoddef "cospedigaeth ein heddwch ni." Yr oedd yn rhy dlawd i dalu pymtheg ceiniog o deyrnged; nid oedd Crist a Phedr yn werth pymtheg ceiniog rhyngddynt; nis gallasent dalu rhyngddynt ill dau. Bu yn rhaid i Grist wneyd gwyrth i'w cynorthwyo i dalu eu fforDd. Yr oedd yn rhaid i un o breswylwyr y moroedd ddyfod yn y blaen â swm o arian i dalu y *bill*. "Ac wedi dyfod o honynt i Capernaum, y rhai oedd yn derbyn arian y deyrnged a ddaethant at Pedr, ac a ddywedasant, Onid yw eich Athraw chwi yn talu teyrnged? Yntau a ddywedodd, Ydyw. Ac wedi ei ddyfod ef i'r tŷ, yr Iesu a achubodd ei flaen ef, gan ddywedyd, "Beth yr wyt ti yn ei dybied, Simon? gan bwy y cymer breninoedd y ddaear deyrnged, neu dreth? gan eu plant eu hunain, ynte gan estroniaid? Pedr a ddywedodd wrtho, Gan estroniaid. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Gan hyny y mae y plant yn rhyddion. Er hyny, rhag i ni eu rhwystro hwy, dos i'r môr, a bwrw fach, a chymer y pysgodyn a ddel i fyny yn gyntaf, ac wedi i ti agoryd ei safn, ti a gei ddarn o arian; cymer hwnw, a dyro iddynt drosof fi a thithau," Mat. xvii. 24—27. Pa un a greodd efe bysgodyn ag arian yn ei safn, neu roddi gorchymyn i bysgodyn ei gymeryd i fyny o waelod y môr, nis gwyddom, ac nid yw o bwys yn y byd i ni wybod ychwaith; beth bynag, fe ddaeth y pysgodyn â haner coron yn ei safn, i ryddhau Iachawdwr y byd a'i ddysgybl. Un o breswylwyr y dyfnder mawr oedd y prif drysorydd gan y Brenin Iesu, a'r *exchequer* yn môr bach Galilea. Y pysgodyn oedd y *banker* i gadw yr arian; ac y mae Crist yn danfon *order* gyda Pedr, *cheque* ar ei *fanker*, ac y mae yntau yn talu y swm ofynol. O ei dlodi mawr!

Y mae Crist yn rhoddi ergyd marwol ar ben balchder y byd. Mae dynion, o herwydd meddianu rhyw ychydig o'r

byd, yn myned cyn falched a Lucifer, ac yn annghofio eu hunain. Edrychwch ar Arglwydd y gogoniant, meddianydd nefoedd a daear, heb geiniog yn ei boced, heb ddim i dalu y deyrnged. Edrychwch, a chywilyddiwch; edrychwch, a phlygwch eich penau, a cherddwch ar eich gliniau. Y mae efe yn dibrisio y byd, ac yn sathru yn ddirmygus ar ei ben, i'r dyben i ddangos i chwi mai eich eneidiau yw y gwerth mwyaf; byw byth yn nhragywyddoldeb, nid byw ychydig ddyddiau mewn amser. Ni fynai anrhydeddu cymaint ar y byd presenol â meddianu un rhan fechan o hono. Peidiwch â diystyru neb o herwydd ei fod yn dlawd, canys y goreu a droediodd y ddaear hon erioed oedd y tlotaf o'i phreswylwyr. Yr oedd heb arian yn ei bwrs; heb bwrs nac arian y dylaswn ddweyd, fe allai, na thŷ i guddio ei ben. Duw a drugarhao wrth y rhai sydd wedi eu codi i gefnau ceffylau, onide ânt yn rhy falch i wneyd dim â hwy. *Foot preacher* oedd ein Ceidwad ni—pregethwr traed—yr hwn oedd yn myned "oddiamgylch gan wneuthur daioni." Nid ydym yn darllen iddo farchogaeth ond unwaith, a'r pryd hwnw ar asen. "Daeth er ein mwyn ni yn dlawd." Bendigedig! "Dyoddefodd fel y'n dygai ni at Dduw." Diolch! pwy all beidio â diolch, yn nghanol mynyddau o rew, am gariad a gras y Jehofah, yn dyfod yn dlawd er mwyn gwneyd tlodion yn gyfoethogion, begeriaid yn wŷr mawrion, rhai heb ddim ganddynt yn feddianwyr pob peth, yn amserol ac yn dragwyddol.

Edrychwch yn awr, fy nghyfeillion, ar ddyoddefiadau olaf yr Arglwydd Iesu. Mae ei ddyoddefiadau olaf a mawr iawn fel yn cychwyn gydag ordeiniad y swper santaidd. Yma y mae ei drueni dychrynllyd ac ofnadwy yn dechreu. Yr ydwyf yn gweled ei wynebpryd santaidd yn newid yn awr, a dagrau yn llifo i lawr ei ruddiau, fel y maent yn ymddangos fel pe byddent wedi eu haredig. Yn y swper santaidd y mae yn arwyddo ei ddyoddefaint mawr, ac y mae efe ei hun yn tori ei gorph ac yn taenellu ei waed yn arwyddocaol, ac yn ymddangos fel pe buasai yn holl deimlad yr amgylchiadau dychrynllyd. "Ac fel yr oeddynt yn bwyta, yr Iesu a gymerth y bara, ac wedi iddo fendithio, efe a'i torodd, ac a'i rhoddodd i'r dysgyblion, ac a ddywedodd, Cymerwch, bwytewch: hwn yw fy nghorph. Ac wedi iddo gymeryd y cwpan, a diolch, efe a'i rhoddes iddynt, gan ddywedyd, Yfwch bawb o hwn: canys hwn yw fy ngwaed o'r testament newydd, yr hwn a dywelltir dros lawer, er maddeuant pech-

odau," Mat. 26. 26—28. Dyma arddangosiad difrifol a sobr o'r hyn oedd i gymeryd lle yn fuan. Dyma deimlad angerddol, dyma ddifrifoldeb annghydmarol. O fy Nuw, na âd fi byth i dori y bara a thywallt y gwin, ond o dan deimlad priodol o ddyoddefaint dy anwyl Fab. Mae Crist ar ol hyn yn suddo i mewn i'w ddyoddefiadau echryslonaf. Mae efe a'i ddysgyblion yn ymado o Jerusalem ar ol y swper santaidd, ac yn myned i Fynydd yr Olewydd, o gwmpas haner milldir o'r ddinas. Maent yn croesi hen afon Cedron yn brudd eu calonau. "Wedi i'r Iesu ddywedyd y geiriau hyn, efe a aeth allan, efe a'i ddysgyblion, dros afon Cedron, lle yr oedd gardd, i'r hon yr aeth efe a'i ddysgyblion," Ioan xviii. 1. Dyma y ffordd yr aeth y brenin Dafydd un dydd dan wylo yn brudd, yn ei ffoedigaeth o flaen Absalom, pan oedd Simei yn ei regu ac yn lluchio ceryg ato. "A'r holl wlad oedd yn wylofain â llef uchel; a'r holl bobl a aethant drosodd. A'r brenin a aeth dros afon Cedron, a'r holl bobl a aeth drosodd tua ffordd yr anialwch," 2 Sam. xv. 23. Yr oedd y brenin Iesu yn croesi Cedron y tro hwn yn debyg fel yr oedd y brenin Dafydd y tro hwnw, dan ofni a chrynu, ac yn cael ei felldithio gan y rhan fwyaf o bawb. Efe a aeth i ardd Gethsemane, hen le yr ymgyrchai yn fynych o'r neilldu i weddio. Pentref oedd Gethsemane wrth draed Mynydd yr Olewydd, a cherllaw y pentref hwn yr oedd gardd, yr hon oedd wedi derbyn ei henw oddiwrth y pentref. Yr ardd hon a blanwyd gan Dafydd a Solomon yn *bleasure grounds*, lle y byddent yn arfer rhodio mewn unigolrwydd. Nid i ysgoi ei elynion yr aeth Grist i'r ardd, eithr i'w cyfarfod; ac yr oedd Judas yn gydnabyddus â'r rhodfeydd neillduedig hyn, canys yr oeddynt yn myned yno yn aml i gadw cyrddau gweddi. Pe buasai am ysgoi ei elynion, ni buasai yn myned i'r ardd hon, canys gwyddai fod Judas ar fedr ei fradychu, ac y buasai yn debygol y gwnai efe chwilio yr ardd yn union, yn gymaint a bod yr Iesu yn arfer mynychu y lle i gymdeithasu â'i Dad ar bob achlysur. "A Judas hefyd, yr hwn a'i bradychodd ef, a adwaenai y lle: oblegyd mynych y cyrchasai yr Iesu a'i ddysgyblion yno," Ioan xviii. 2. Yr oedd yr Arglwydd Iesu yn gweddio y noson hon hefyd. "Yna y daeth yr Iesu gyda hwynt i fan a elwid Gethsemane, ac a ddywedodd wrth ei ddysgyblion, Eisteddwch yma, tra yr elwyf a gweddio acw. Ac efe a gymerth Pedr, a dau fab Zebedeus, ac a ddechreuodd dristâu ac ymofidio. Yna efe

a ddywedodd wrthynt, Trist iawn yw fy enaid hyd angau: aroswch yma, a gwyliwch gyda mi." Dyma y noson dywyllaf, fy nghyfeillion, y bu Cyfryngwr mawr y byd ynddi erioed. Dyma dywyllwch eithaf Iachawdwr y byd; dyma fwg poenedigaeth miloedd haeddodd eu damnio yn esgyn i fyny. O fy anwyl Iesu, dyma hen ardd Eden yn dyfod i bwyso yn drom ar ardd newydd Gethsemane: "Ac wedi iddo fyned ychydig yn y blaen, efe a syrthiodd ar ei wyneb, gan ddywedyd, Fy Nhad, os yw bosibl, aed y cwpan hwn heibio oddiwrthyf: eto nid fel yr ydwyf fi yn ewyllysio, ond fel yr ydwyt ti."

Fe gostiodd ein heddwch yn ddrud i Gyfryngwr y Testament Newydd; nid chwareu ysgafn oedd hyn; ac nid chwareu fydd eich iachawdwriaeth i chwithau, fy nghyfeillion; os na fydd eich cyflyrau rhyngoch a Duw yn gwneyd mwy o boen a gofid i chwi na dim arall yn y byd, y mae yn sicr o ddyfod i wneyd mwy o boen i chwi yn nhragywyddoldeb. Fe ddaw uffern yn y blaen maes o law i esbonio poenau a griddfanau Gethsemane i bawb nad yw yn teimlo pwys iachawdwriaeth eu heneidiau mewn amser. O Arglwydd, gwared y bobl yma rhag gorfod darllen esboniad tragywyddol ar Gethsemane yn nhywyllwch a thân uffern. O bobl, diangfa, diangfa rhag y llid a fydd. Dewch trwy ardd Gethsemane, ac wylwch yno gyda'r Iesu, bydd hyn yn eich arbed rhag wylo byth gyda chythreuliaid. Y mae geiriau yn pallu, y mae iaith wedi ei tharo yn fud gyda'r hen Zecharias, yn ymyl ing a chyfyngder enaid ein Harglwydd Iesu yn yr ardd! "Pa beth a ddywedaf nis gwn!" Mae Marc yn dywedyd, "Efe a ddechreuodd ymofidio a thristâu yn ddirfawr. Mae fy enaid yn athrist hyd angau." Yr "enaid yn athrist hyd angau;" yr enaid yn mhangfeydd angau, angau yn yr enaid; damnedigaeth myrddiynau o bechaduriaid yn llosgi yn yr enaid; uffern yn fflamio hyd entrych nefoedd, ac yn ceisio difa yr enaid oedd yn llosgi yn nghanol y fflamiau am byth. Tristwch enaid Iesu oedd angau dy enaid di a minau; ac y mae corph santaidd Crist bron yn llewygu eisoes wrth ddal pwys y dydd a'i wres. Ar noson ofnadwy fel hyn, noson dywyll a du, noson y frwydr fawr, noson yr ymdrech caled, y mae yn syndod pa fodd yr oedd y dysgyblion yn gallu cysgu; eto cysgu a wnaethant, a'i adael yntau wrtho ei hun i ymladd ag uffern, ac i yfed cwpan chwerw cyfiawnder. Gellwch feddwl fod yr ymddygiad hyn yn rhoddi poen

ychwanegol iddo am foment; ond wedi hyny y mae ein Iesu anwyl yn cydymdeimlo â'u gwendidau naturiol. "'Ac efe a ddaeth at y dysgyblion, ac a'u cafodd hwynt yn cysgu; ac a ddywedodd wrth Pedr, Felly, oni ellwch chwi wylied un awr gyda mi?' Ië, tydi, Pedr, yr hwn a ddywedi yn fuan, 'Pe gorfyddai i mi farw, ni'th wadaf;' yr wyt ti yn methu cadw yn ddihun un awr gyda mi yn fy ngofidiau a fy nyoddefiadau echryslon. Yr wyt yn esgeulus o dy Iachawdwr yn ei ing a'i boenau mwyaf."

Chwi welwch, fy nghyfeillion, pan oedd yr Arglwydd Iesu yn ei ing a'i boenau mwyaf, nid oedd neb o'i gyfeillion goreu gydag ef i'w helpu, na gwneyd dim drosto pe buasai ganddynt rhyw beth i'w wneyd; yr oedd yn gorfod myned trwy y gwaith mawr ei hunan. "Gwelodd hefyd nad oedd gwr, a rhyfeddodd nad oedd eiriolwr; am hyny ei fraich a'i hachubodd, a'i gyfiawnder ei hun a'i cynaliodd. Edrychais hefyd, ac nid oedd gynorthwywr; rhyfeddais hefyd am nad oedd gynaliwr: yna fy mraich fy hun a'm hachubodd, a'm llidiawgrwydd a'm cynaliodd;" Esay lix. 16; lxiii. 51. Yr oedd gelyniaeth y byd yn ei erbyn, ac uffern yn ymladd yn boeth i'w erbyn; yr oedd ei Dad, ar dir cyfiawnder, yn rhwym o fod yn ei erbyn; yr oedd yr ychydig ffryndiau oedd yn ei ddylyn wedi blino, ac wedi syrthio i gysgu; y mae yr Iesu wrtho ei hunan, i sefyll neu syrthio am byth; "pawb a'm gadawsant." "Sethrais y gwinwryf fy hunan, ac o'r bobl nid oedd un gyda mi; canys mi a'u sathraf hwynt yn fy nig, ac a'u mathraf hwynt yn fy llidiawgrwydd; a'u gwaed hwynt a daenellir ar fy nillad, a'm holl wisgoedd a lychwinaf. Canys dydd dial sydd o fewn fy nghalon, a blwyddyn fy ngwaredigion a ddaeth."

Yr oedd holl faich iachawdwriaeth y byd yn gorphwys ar Grist ei hun. "Fy mraich fy hun a'm cynaliodd." Nid oedd neb i gynorthwyo i dalu hatling o'r ddyled fawr; talodd yr oll, ïe, yr hatling eithaf ei hunan. Bendigedig fyddo ei enw yn dragywydd; mi a'i canmolaf tra fyddwyf, yn oes oesoedd. Mae ei gariad anfeidrol bron yn berwi fy enaid allan o fy nghorph y fynyd hon. "Y mae merch yr Amoriad yn rhydd." Yr oedd yr apostolion mawrion yn cysgu ar y fynyd yr oedd pwys digofaint yn gorwedd arno ef am eu pechodau hwynt. Mae efe yn dyfod atynt mewn ofn a braw, fel yn gwylltio o dan arteithiau, ac yn gofyn iddynt, "Oni ellwch wylied gyda mi?" Yr ydoedd wedi ei lanw â thristwch

ofnadwy, yn gymysgedig â braw a syndod, ac wedi ei gylchynu o bob tu, fel yr oedd dianc yn ymddangos yn anmhosibl, pe buasai tuedd i hyny. Yr oedd drwg anferth pechod o flaen ei wyneb, ac arswyd Duw cyfiawn yn treiddio trwy ei enaid tyner; fel y gweddiodd yn daer, "Gwared fi allan o'r awr hon; os yw bosibl aed y cwpan hwn heibio oddiwrthyf." Gweddiodd y weddi hon deirgwaith; yr oedd ei ddyoddefiadau mor fawr, fel y syrthiodd ar ei wyneb ar ei hyd i gyd mewn pangfeydd marwol, dan weddio drachefn a thrachefn. Yr oedd ein pechodau mawrion yn myned dros ei ben "megys baich trwm." Yr oedd eich hen lwon, eich meddwi, a'ch halogi Sabbathau, ïe, yr holl bechodau dirif yn gwasgu yn drwm ar Gyfryngwr; yr oedd digofaint y Duw anfeidrol hefyd, fel Barnwr cyfiawn yn amddiffyn ei lywodraeth a'i gyfraith, yn arllwys arno hyd yr eithaf. Ein melldith ni, ein huffern ni, "cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef." O fy enaid, clyw ac edrych, a syrth ar dy wyneb o flaen yr hwn syrthiodd i lawr ar ei wyneb yn dy achos di. Edrychwch ar Iesu yn yr ardd, dacw Dduw hollalluog yn llosgi fel tân yn ei ddigofaint; dacw yr ystorm ddychrynllyd yn rhuo, dacw y taranau yn tori uwch ei ben, dacw y mellt yn gwau; y mae Sinai ar dân i gyd, a'r Iesu yn y canol. Dacw ef yn awr wedi syrthio ar ei wyneb ar ei hyd ar y llawr; yn wylo, yn griddfan, ac yn gweddio; "trwy lefain cryf a dagrau, offrwm gweddiau ac erfyniau at yr hwn oedd abl i'w achub ef oddiwrth farwolaeth." Mae ein hanwyl Arglwydd yn chwysu y gwaed, o dan deimlad o ddychrynfeydd a chospedigaeth pechod. Mae tyllau y chwys yn agor, a gwaed yn treiglo i lawr ei ruddiau, nes gwneyd ei ddillad yn goch fel pe buasai yn sathru y gwinwryf.

Y mae rhai yn meddwl nid yn unig ei fod yn cael ei gystuddio gan law Duw, ond hefyd fod yno filoedd o gythreuliaid yn treulio eu holl nerth a'u malais i derfysgu a chythryblu ei enaid santaidd. Yn ddiau yr oedd satan yn meddwl ac yn gobeithio rhwystro iachawdwriaeth dyn am byth. Os oedd gobaith yn uffern, dyma yr unig obaith; ac nid oedd yn un ychwanegiad at gysur y llu uffernol. "Yn awr yw eich awr chwi, a gallu y tywyllwch." Yr oedd diafol yn deall ei awr yn burion; "yn awr," neu byth. Dewch i weled Immanuel, fy nghyfeillion, ein Crewr mawr a'n Cynaliwr, yn ymdrybaeddu yn ei waed yn ein hachos ni ar y ddaear oer. Edrychwch ar ei ddwylaw anwyl wedi eu hestyn allan, a'i

enau yn y llwch yn gweddio am drugaredd i'w bobl; ei wallt wedi ei wlychu â gwlith y nos, ei galon bur yn ddolurus yn curo yn ei fynwes, a'i holl aelodau yn crynu gan fraw. Edrych arno, bechadur; y mae yn symud ymaith y felldith oddiar ddyn, yr hwn oedd i fwyta bara trwy chwys ei wyneb. Mae ei chwys gwaedlyd sydd yn syrthio i'r ddaear yn golchi ymaith y felldith oddiar y ddaear, ac yn ei gwneyd fel gardd Eden o'r newydd. Nid drain a mieri a ddyg hi i ti mwyach; y mae y felldith wedi ei symud oddiar y tir, y mae yr hen ddaear wedi derbyn bendith gan Dduw ag sydd wedi llyncu y felldith i fyny; am hyny hi ddyg "lysiau cymhwys at wasanaeth dyn" bellach. "Canys mewn llawenydd yr ewch allan, ac mewn hedd y'ch arweinir; y mynyddoedd a'r bryniau a floeddiant ganu o'ch blaen, a holl goed y maes a gurant ddwylaw. Yn lle drain y cyfyd ffynidwydd, ac yn lle mieri y cyfyd myrtwydd, a hyn fydd i'r Arglwydd yn enw, ac yn arwydd tragywyddol, yr hwn ni thorir ymaith." Esay lv. 12, 13. Gogoniant, y mae ein Iesu bendigedig yn dechreu troi y ddaear yn nefoedd; chwi gewch weled wyneb newydd iddi yn y man; gwybodaeth yr Arglwydd yn ei thoi, "fel y mae y dyfroedd yn toi y môr." "Byw hefyd fydd efe, a rhoddir iddo o aur Seba: gweddiant hefyd drosto ef yn wastadol: beunydd y clodforir ef. Bydd dyrnaid o ŷd ar y ddaear yn mhen y mynyddoedd: ei ffrwyth a ysgwyd fel Libanus; a phobl y ddinas a flodeuant fel gwellt y ddaear; ei enw fydd yn dragywydd: ei enw a bery tra fyddo haul; ac ymfendithiant ynddo: yr holl genedloedd a'i galwant yn wynfydedig," Sal. lxxii. 15—17. Y mae yn dechreu gwella eisoes, bendigedig!

"'Dyw hi eto ond dechreu gwawrio,
Cwyd yr haul yn uwch i'r lan."

"Y dolydd a wisgir a defaid, a'r dyffrynoedd a orchuddir ag ŷd: am hyny y bloeddiant ac y canant," Sal. lxv. 13. Diolch. Mae chwys a gwaed Crist wedi syrthio i'r ddaear, ac wedi sychu y felldith i fyny, am hyny gellir dysgwyl iddi ddwyn ffrwythau toreithiog, ac nid drain a mieri mwy.

Gellir meddwl wrth edrych ar Grist yn gorwedd ar y ddaear, ei fod yn tynu y felldith oddiar y greadigaeth afresymol. Y mae hefyd; canys y mae y "creadur, yntau hefyd, wedi ei ryddhau;" ac fel y mae egwyddorion Cristionogaeth yn cynyddu, y mae amgylchiadau yr anifeiliaid yn gwella. "Dan obaith y rhyddheir y creadur yntau hefyd o gaethiwed

llygredigaeth, i ryddid gogoniant plant Duw," Rhuf. viii. 21. Efe a ddyoddefodd bob gwae dros bob math. Mae pob peth yn well o herwydd dyoddefaint yr Arglwydd Iesu. Diolch! y mae gobaith yn fy enaid tlawd y byddaf finau, nid yn unig yn well amserol, ond yn well tragywyddol hefyd. O mor ofnadwy oedd ein melldith, pan y mae yn gwneyd i Immanuel ei hun i grynu wrth ei ddyoddef! Henffych, dyma yr angylion yn dyfod o'r diwedd, ac "a weiniasant iddo." Bendithion lawer fyddo ar eich penau, angylion anwyl, am eich gwasanaeth; chwi yw y cyntaf sydd wedi dyfod i'r ardd â dim cysur; bendith Duw fyddo ar eich penau. Maent yn ei gysuro ac yn ei adgyfnerthu i gyfarfod â'i ddyoddefiadau dyfodol. Nid wyf yn gwybod pa fodd yr oeddynt yn ei gysuro, os nad trwy ddywedyd wrtho fod ei ddyoddefiadau yn mron ar ben, ac edrych yn siriol yn ei wyneb. Fel bydd y wraig dyner yn cysuro y gwr yn ei gystudd wrth ddywedyd ei fod yn well; fod y gwaethaf wedi myned heibio, ac felly yn creu gobaith cysurus yn y meddwl am y dyfodol. Mae yr angylion yn dyfod at ein Harglwydd Iesu gyda y sirioldeb mwyaf, a bron chwerthin yn ei wyneb, gan ddywedyd, "Y mae y gwlaw yn mron pasio, y mae y dyoddefaint bron ar ben; nid ydynt i barhau ond ychydig iawn bellach." "Cymer gysur, ein Harglwydd bendigedig; nid hir eto cyn y byddi yn ein canol yn ngwlad y gogoniant, yn swn ein caniadau, y rhai fydd yn rhyfeddach nag erioed o'r blaen." Yr oedd yn llawn bryd i'r angylion ddyfod i wylio gydag ef, canys yr oedd dynion, dros ba rai yr oedd yn dyoddef, wedi cysgu. Yr oedd y dysgyblion fel cyfeillion Job, yn gysurwyr tlawd pan y daeth y profedigaethau yn chwerwon iawn. Fe allai hefyd fod yr angylion yn ei gysuro trwy ddwyn ar gof y myrddiynau ar fyrddiynau o'r teulu dynol fuasai yn cael eu hachub trwy y chwys gwaedlyd hyn. "Ti gei weled llafur dy enaid; byddant yn aml fel gwlith y wawr, fel y tywod sydd ar fin y môr, yn aneirif. Bydd cynyrch mawr ac effeithiau gogoneddus i'r chwys gwaedlyd hwn, Arglwydd mawr."

Y mae canlyniadau gogoneddus a hapus yn cysuro am y gofid a'r poenau presenol yn aml. "Gwraig wrth esgor sydd mewn tristwch am ddyfod ei hawr; eithr wedi geni y plentyn, nid yw hi yn cofio ei gofid mwyach, gan lawenydd geni dyn i'r byd," Ioan xxvi. 21. Mae y serch at y plentyn yn suddo yr holl ofidiau i fôr o annghof. Mae yr angylion yn ei gysuro

trwy ddywedyd, "Ti gei weled hyd ddiwallrwydd o'r llafur hwn, ti gei ranu yr ysbail gyda'r cedyrn, ti gei weled had gwerthfawr yn ganlyniad i hyn. Ti gei annghofio dy boen yn fuan iawn, yn yr olwg ar fyrddiynau o blant wedi eu geni i fywyd tragywyddol." Wel, bellach mae yr Arglwydd Iesu yn ymgysuro ychydig, ac yn dychwelyd at ei ddysgyblion, ac yn eu cael hwynt yn cysgu eto. "Ac efe a ddywedodd wrthynt, Cysgwch bellach, a gorphwyswch: wele, y mae yr awr wedi nesâu, a Mab y dyn a draddodir i ddwylaw pechaduriaid. Codwch, awn: nesaodd yr hwn sydd yn fy mradychu. Ac efe eto yn llefaru, wele, Judas, un o'r deuddeg, a ddaeth, a chydag ef dyrfa fawr, â chleddyfau a ffyn, oddiwrth yr arch-offeiriaid a henuriaid y bobl." Yna y mae ei ddysgyblion yn dihuno, ac yn gweled y dyrfa wancus, a'r Iesu wedi ei orchuddio â gwaed! Dyma olygfa ddychrynllyd iddynt wrth agor eu llygaid! Wele y *mob* yn dyfod yn y blaen yn wyllt, mewn llid a digofaint, i ddal yr Iesu, a'i ddwyn yn garcharor i'r ddinas. O'r olygfa! Dyma "Fab y dyn" wedi ei draddodi i ddwylaw pechaduriaid o'r diwedd. O Judas yr apostol, un o'r deuddeg, ai tydi sydd yn arwain y cythreuliaid hyn yn y blaen i ymaflyd yn Iachawdwr y byd? "Gwell fuasai pe nas ganesid erioed." Y broffes hono, fy nghyfeillion, ag sydd yn dechreu mewn rhagrith, sydd yn sicr o ddiweddu mewn gwrthgiliad a chaledwch. O pwy all dyweyd pa mor bell y mae yn bosibl i ddyn fyned o dan ddylanwad calon ddrwg a diafol ystrywgar? Bargen dlawd a wnaeth Judas o'r diwedd wrth werthu Ceidwad y byd, a'i enaid anfarwol ei hun gyda llaw, am ddeg ar ugain o arian. O warth, o gywilydd na ddileir byth! Gwerthu nef y nefoedd, tegwch tragywyddoldeb, a Chyfaill goreu dyn am ychydig o arian! a gwerthu hefyd yr enaid i'w boeni byth ar yr un pryd. Beth! colli enaid er mwyn deg ar ugain o arian! Dyma y fargen waethaf a wnaeth dyn erioed! O ynfydrwydd! O golled anadferadwy!

Y mae rhai eto, y mae yn chwith genyf ddywedyd, yn ein dyddiau ni, nid yn unig yn gwerthu yr Arglwydd Iesu, ond yn ei werthu yn rhatach nag y gwnaeth Judas. Mae rhai yn gwneyd gwaeth masnach na Judas Iscariot. Maent yn gwerthu Crist o falais at ryw frawd neu chwaer grefyddol, yn gadael crefydd o herwydd hwn neu hon. Mae llawer eraill yn ei werthu am ychydig o feluswedd pechod, ychydig o fwynhad cnawdol a llygredig; neu ychydig o elw bydol,

neu falchder y bywyd, neu esmwythder cnawdol, ïe, fy nghyfeillion, yn gwerthu y perl gwerthfawrocaf nid yn unig sydd ar y ddaear, ond yn y nefoedd hefyd, am ychydig o'r cibau a deflir i'r moch. Mae bod Crist yn cael ei werthu mewn rhagrith yn waeth byth. Mae pechod yn ddrwg yn mhob ffurf, eithr yn fil gwaeth o dan hug rhagrith. "A'r hwn a'i bradychodd ef a roisai arwydd iddynt, gan ddywedyd, Pa un bynag a gusanwyf, hwnw yw efe: deliwch ef. A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Judas, ai â chusan yr wyt ti yn bradychu Mab y dyn?" O y cusan twyllodrus! Mae hyn yn mwyhau y trosedd yn gan cymaint, ïe, y tu hwnt i iaith allu desgrifio byth. O ragrithiwr cywilyddus. Beth! yn "bradychu Mab y dyn â *chusan*? Beth! yn cuddio dy frad o dan gusan? Pa fodd y gelli fod yn euog o'r fath fai ysgeler? Eithr pwy a all bechu mor haerllug a chywilyddus a rhagrithiwr? Pwy a all fod mor ddigywilydd a haerllug a gwrthgiliwr? Dyma Judas, un o'r deuddeg, yn rhedeg ato â chusan, yn arwydd heddwch a chyfeillgarwch, ac ar yr un pryd mileiniaid arfog wrth ei gefn, yn barod i'w gymeryd wedi cael o honynt yr arwydd hon! Aroswch; fe allai y gwna ei ymddangosiad gwaedlyd, a'i olwg isel a llesmeiriol, eu toddi hwynt i drugaredd; eithr ni chafodd yr effaith leiaf ar feddyliau y barbariaid hyn. Ei gymeryd a wnaethant a'i lusgo yn ddidrugaredd i'r ddinas. Syndod, y mae efe yn cofio am ei bobl yn nghanol ei holl ddyoddefiadau. Bendigedig fyddo ei enw yn dragywydd; pe bai genyf fil o dafodau, mi a'i defnyddiwn hwynt oll i ganmol y gwr ddyoddefodd yn ein lle. "Pwy yr ydych yn ei geisio?" meddai yr Iesu wrth y milwyr. "Hwy a atebasant iddo, Iesu o Nazareth. Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Myfi yw." Cymerwch fi; eithr "gadewch i'r rhai hyn fyned ymaith. Fel y cyflawnid y gair a ddywedasai efe, o'r rhai a roddaist i mi, ni chollais i yr un." Clwyfwyd ef "yn nhŷ ei garedigion," Zec. xiii. 6.

Ysmeityn yr oedd y dysgyblion yn cysgu, yn awr y maent yn ffoi a'i adael. Mae un o honynt yn troi yn fradwr, ac yn ei werthu, y mae y llall yn tyngu a rhegu ac yn ei wadu, a'r lleill yn ffoi am eu bywydau, ac yn gadael yr Iesu addfwyn fel oen wrtho ei hunan yn nwylaw y cigyddion. Mae profedigaethau oddiwrth anffyddlondeb cyfeillion yn fwy teimladwy ac anhawdd ei ddyoddef na nemawr ddim. Dacw y milwyr yn arwain Crist ymaith gyda banllefau buddugoliaethus, ac yn myned ag ef at yr arch-offeiriad a henuriaid

y bobl, y rhai oedd wedi ymgasglu yn nghyd i'w aros, ac i'w farnu yn euog. Yn awr, wedi ei gael yn llwyr i'w dwylaw, y maent yn ei arwain yn gyntaf at Annas, mab yn nghyfraith Caiaphas. "Ac Annas a'i hanfonasai yn rhwym at Caiaphas yr arch-offeiriad." Yn nghanol y bleiddiaid hyn, o lys i lys, yr arweiniwyd ein Harglwydd ni wrtho ei hun, heb gâr na chyfaill. Yr oeddynt yn sychedig am ei waed, ac yn benderfynol ei gael oddiar y ffordd, beth bynag fyddai y canlyniadau. Gwnaethant ryw fath o brawf arno fel *sham fight*, i lanw llygaid dynion; triniasant ei achos yn dwyllodrus, cawsant ddyhirod yn y gau-dystion i dystiolaethu yn ei erbyn, y rhai oedd yn barod i dyngu y celwyddau mwyaf erioed; eto goddefodd gelwyddau a gau-dystiolaethau fel oen, heb agor ei enau, ac fel y tau dafad o flaen ei chneifiwr. Yr oedd y dynion melldigedig hyn yn edrych ar eu gilydd gyda digrifwch a gwawd, wedi cael yr Iesu i'w dwylaw; ac yn ymddangos fel pe byddent wedi eu boddloni yn llwyr â'r tystiolaethau a ddygid yn ei erbyn. Yr oeddynt yn edrych ar y tystiolaethau, mor bell ag oeddynt wedi myned, yn foddhaol ac yn argyhoeddiadol, ac y caent weled yr Iesu yn fuan yn rhwym, draed a dwylaw. Hon oedd yr awr i'r byd lawenychu, ac i'r dysgyblion tlawd wylo; eithr fe â yr awr hon heibio, ac fe ddaw rhyw awr arall cyn bo hir; y mae awr i ddylyn yr awr hon.

> Lladd'soch yr Oen, fe dry y rhod,
> Mae dydd eich dial chwithau'n dod.

Y mae y *trial* yn dechreu. Dacw yr Iesu yn sefyll yn y *dock*, a dyna y cyhuddiad o gysegr-ladrad yn cael ei roddi i'w erbyn. Dyma'r *grave charge;* a dyma'r llys yn eistedd ar y mater. "A chyfododd yr arch-offeiriad, ac a ddywedodd wrtho, A atebi di ddim? Yr ydwyf yn dy dyngedu di trwy y Duw byw, ddywedyd o honot i ni, ai ti yw y Crist, Mab Duw. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Ti a ddywedaist: eithr meddaf i chwi, Ar ol hyn y gwelwch Fab y dyn yn eistedd ar ddeheulaw y Gallu, ac yn dyfod ar gymylau y nef. Yna y rhwygodd yr arch-offeiriad ei ddillad, gan ddywedyd, Efe a gablodd: pa raid i ni mwy wrth dystion? Wele, yr awr hon clywsoch ei gabledd. Beth dybygwch chwi? Hwythau gan ateb a ddywedasant, Y mae efe yn euog o farwolaeth. Yna y poerasant yn ei wyneb, ac a'i cernodiasant: eraill a'i tarawsant ef â gwiail." Dyoddefodd y cyhuddiad yn dawel drosom ni. Os oedd efe yn ddieuog, yr oedd y rhai

yr ydoedd yn eu cynnrychioli yn euog o'r cwbl; a chan ei fod ef wedi cymeryd eu pechodau hwy, yr oedd holl ganlyniadau y pechodau hyny yn dyfod arno: yn gymaint a'i fod mewn sefyllfa gyfrifol, efe oedd y person euog yn ngolwg cyfraith a chyfiawnder Duw. Dyoddefodd drosom ni, "y Cyfiawn dros yr annghyfiawn;" efe a ddyg ein hanwireddau ni; efe a ddrylliwyd dros ein pechodau ni; cospedigaeth ein heddwch ni roddwyd arno ef. Yr oeddym ni yn euog o bob peth; ac er ei fod ef yn ddiniwed yn bersonol, eto fel Meichiau yr ydoedd yn rhwym yn gystal ac mor gyfiawn a phe buasai wedi cyflawni y gweithredoedd yn bersonol. Yn gymaint a'i fod wedi ymgymeryd â'n pechodau, yr oedd yn rhaid iddo gymeryd ein cosp hefyd. Hyn a wnaeth yn ewyllysgar, heb agor ei enau yn wyneb cam-gyhuddiadau, canys gwyddai fod y cwbl yn perthyn i ni, yr holl gyhuddiadau, a throsom ni yr oedd efe yn sefyll yno i'w farnu. Nid oedd cywilydd arno ymlynu wrth ein hachos mewn gwarth a dirmyg.

Y mae cywilydd arnoch chwi, lawer o honoch, i arddel yr Arglwydd Iesu ar y ddaear "yn y bechadurus a'r odinebus genedlaeth hon." Edrychwch ar Grist yn myned yn y blaen yn eich achos chwi, trwy warth a gwawd, ac ni "chuddiodd ei wyneb rhag gwaradwydd a phoeredd;" a thithau, greadur gwael, yn ysgoi gwasanaeth y Cyfryngwr rhag cywilydd. Dy gywilydd penaf yw dy fod yn gwneyd hyny. Beth bynag, mi a'u gwelaf hwynt yn poeri yn wyneb y Cyfryngwr mawr, tegwch paradwys Duw. O anfoesgarwch anferth! Pa fodd y gallasent boeri yn ei wyneb grasol a phrydferth! Dyma'r *court* yn awr yn symud, ac yn myned oddiwrth Caiaphas at Pilat, o lys yr arch-offeiriad i'r dadleudy. "O garchar ac o farn y cymerwyd ef." Gwnawd ef yn ddrych i ddynion ac angylion; yr oedd llygaid pawb arno. Rhoddwyd ef yn nwylaw y milwyr i fod yn *sport* wrth ei arwain o'r naill fan i'r llall. "A hwy a'i dyosgasant ef, ac a roisant am dano fantell o ysgarlad. Ac wedi iddynt blethu coron o ddrain, hwy a'i gosodasant ar ei ben ef, a chorsen yn ei law ddeheu, ac a blygasant eu gliniau ger ei fron ef, ac a'i gwatwarasant, gan ddywedyd, Henffych well, Brenin yr Iudddewon. A hwy a boerasant arno, ac a gymerasant y gorsen, ac a'i tarawsant ar ei ben." "Pwy a draetha ei oes ef?" Mae Pilat yn flin iawn trwy y cwbl, gan ewyllysio rhyddhau y Brenin Iesu, a golchi ei ddwylaw oddiwrth ei waed. "Pilat gan hyny a aeth allan drachefn, ac a ddywedodd wrthynt, Wele,

yr wyf fi yn ei ddwyn ef allan fel y gwypoch nad wyf fi yn cael ynddo ef un bai. Yna y daeth yr Iesu allan, yn arwain y goron ddrain a'r wisg borphor. A Pilat a ddywedodd wrthynt, Wele y dyn. Yna yr arch-offeiriad a'r swyddogion, pan welsant ef, a lefasant, gan ddywedyd, Croeshoelia, Croeshoelia ef. Pilat a ddywedodd wrthynt, Cymerwch chwi ef, a chroeshoeliwch; canys nid wyf fi yn cael dim bai ynddo." Eithr fe fynai yr Iuddewon ei groeshoelio, bai neu beidio.

Y mae Crist yn dyoddef yn ei holl gymeriad, ac yn ei holl swyddau. Mae yn cael ei ddirmygu a'i wawdio fel dyn, ac fel dyn tlawd. Mae yn cael ei ddirmygu fel Cyfryngwr, yn ei holl swyddau cyfryngol. Maent yn poeri yn ei wyneb, ac yn dirmygu ei swydd brophwydoliaethol. Wedi iddynt ei daraw â'r gorsen, y maent yn wawdlyd yn dywedyd, "Prophwyda pwy a'th darawodd." Felly hefyd dirmygasant ef yn ei swydd freninol; yr oeddynt am dynu i lawr a sathru o dan draed bob peth ag yr oedd Crist wedi bod yn ei godi i fyny ac yn ei egluro. Plygasant eu gliniau ger ei fron, gan arfer "Brenin yr Iuddewon" mewn gwawdiaith. "Dirmygedig yw, a diystyraf o'r gwŷr; gwr gofidus, a chynefin â dolur; ac yr oeddym megys yn cuddio ein hwynebau oddiwrtho: dirmygedig oedd, ac ni wnaethom gyfrif o hono," Esay liii. 3. O y fath olwg synedig ar Geidwad y byd! Dacw ei wyneb yn guddiedig â phoeredd, fel y mae braidd yn anadnabyddus i'w gyfeillion; ei lygad yn gochion, bron yn wylo gwaed, ac yn cael ei guro a'i *blindfoldio* o lys i lys. Yr oedd gwaed yn llifo o dyllau y drain pigog, a'r dagrau yn treiglo o'i lygaid santaidd yr un pryd, nes oedd yr olygfa arno yn alaethus. O pwy all edrych ar Fab y Duw Goruchaf o dan y fath driniaeth ysgeler ac ofnadwy. Fe'i gwelwyd ef fel hyn gan angylion. Beth a ddywedasant? Tarawyd hwynt â mudanrwydd, methodd yr un o honynt wneyd dim ond lledu ei adenydd, a synu uwch ei ben. Edrychwch ar ei wyneb; y blew wedi eu tynu o'r cernau, a'r gwaed yn llifo allan o'r tyllau; a'r dwylaw a welsoch yn cael eu hestyn allan i fendithio ei bobl, ac i iachau y cleifion, yn awr wedi eu rhwymo yn dŷn. "Fy nghorph a roddais i'r curwyr, a'm cernau i'r rhai a dynai y blew," Esay 50. 6.

Cofiwch o hyd, fy nghyfeillion, mai dyoddef drosom ni oedd y Cyfryngwr mawr; ein hachos ni oedd yn gwasgu ar ei ysgwyddau ef. Edrychwch arno nes y byddo eich calonau yn toddi; edrychwch arno nes y byddoch yn wylo

am eich pechodau gwaradwyddus. Peidiwch â beio yr Iuddewon, ond beiwch eich hunain, a ffieiddiwch eich hunain mewn llwch a lludw. Er yr holl driniaeth, y mae ein Iesu bendigedig yn dal, ac yn gorchfygu ei holl elynion. "Llawer gwaith y'm cystuddiasant o'm hieuenctyd: eto ni'm gorfuant. Yr arddwyr a arddasant ar fy nghefn; estynasant eu cwysau yn hirion," Sal. cix. 2, 3. Yr oedd yr olwg ar Grist yn ddigon i gyffroi y ceryg, a thoddi y galon galetaf yn y byd; eithr yr oedd y cwbl yn ddieffaith ar yr Iuddewon, ond eu gwneyd yn galetach, ac yn fwy awyddus i'w weled yn marw. "Nid wyf yn gweled dim bai ynddo," ebe Pilat. "Croeshoelia, croeshoelia ef," meddai yr Iuddewon. Nid oedd un gwahaniaeth gyda hwy bai neu beidio; ei ladd a'i gael oddiar y ffordd oedd eu hamcan hwy. Wedi iddo fel hyn ddyoddef llawer o warthrudd a phoenau, dyosgasant oddiam dano y wisg borphor, yr hyn a agorodd ei glwyfau o'r newydd, ac a wnaeth iddynt waedu drachefn. O galon-galedwch uffernol, O lid cythreulig!

Y maent yn dewis llofrudd i'w ollwng yn rhydd yn hytrach na'r Iesu o Nazareth, Brenin yr Iuddewon. Nid oeddynt yn prisio am ollwng y llofrudd hwn yn rhydd ar gymdeithas, i wneyd ei weithredoedd ysgeler eto, ond yn unig lladd y diniwed. "Yna yr aeth Pilat allan drachefn at yr Iuddewon, ac a ddywedodd wrthynt, Nid wyf fi yn cael dim achos ynddo ef; eithr y mae genych chwi ddefod, i mi ollwng i chwi un yn rhydd ar y pasg; a fynwch chwi, gan hyny, i mi ollwng yn rhydd i chwi Frenin yr Iuddewon? Yna y llefasant oll drachefn, gan ddywedyd, Nid hwnw, ond Barabbas. A'r Barabbas hwnw oedd leidr." Yr oedd y bleiddiaid hyn yn rhy sychedig am waed yr Oen i oddef dim ond gollwng ei waed yn ddidrugaredd, ar bob cost. "Wele," edrychwch; "wele," synwch; "wele," syrthiwch ac addolwch. "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd!" Temtiwyd ef gan satan; ac y mae dynion yn dyosg ei ddillad oddiam dano, yn ei goroni â drain, yn poeri yn ei wyneb, yn plygu ei gliniau yn ddirmygus o'i flaen, ac yn ei watwar. Yr oedd cythreuliaid, Iuddewon, a Phaganiaid wedi cydgyfarfod i boenydio anwyl Fab Duw. Ond nid hyn yw y cwbl, canys yr oedd rhyw beth gan Dduw Dad hefyd yn y gorchwyl hwn.

Y mae yn rhaid i chwi gofio o hyd mai dyoddefaint am bechodau oedd ei ddyoddefaint anfeidrol ef. "Eithr yr Ar-

glwydd a fynai ei ddryllio ef; efe a'i clwyfodd: pan osodo efe ei enaid yn aberth dros bechod." Dyma y Pech-aberth mawr sydd yn cymeryd ymaith bechod i dir neillduaeth; y mae y cwbl wedi ei gyfrif arno, y mae yn awr yn cael ei lusgo i'r anialwch. Fel ar ddydd mawr y cymod yr oedd yr Iuddewon yn llusgo y bwch diangol wrth ei gyrn i'r anialwch, a'i ollwng o dan gyfrifiad holl feiau y genedl, "felly Crist hefyd, wedi ei offrymu unwaith i ddwyn ymaith bechodau llawer, a ymddengys yr ail waith heb bechod, i'r rhai sydd yn ei ddysgwyl, er iachawdwriaeth." Llusgasant ein bwch diangol ni allan o Jerusalem, o dan gyfrifiad o'n holl bechodau, a than y llwythi trymaf o'n trueni a'n gwarth, i'w drosglwyddo i dir neillduaeth; ac er fod ei gnawd yn friw, y mae yn gorfod cario ei groes i fyny tua Chalfaria ar ei ysgwyddau ei hun. Mae y croesbren garw yn gwasgu yn dost ar gnawd clwyfus ein Harglwydd mawr, a chyda phob ysgydwad yn ychwanegu y boen a'r arteithiau yn annirnadwy. Ond rhag iddo farw ar y ffordd, cyn rhoddi digon o foddhad i'w dirmyg a'u malais, "hwy a gymhellasant un Simon o Cyrene, yr hwn oedd yn myned heibio, wrth ddyfod o'r wlad, sef tad Alexander a Rufus, i ddwyn ei groes ef. A hwy a'i harweiniasant ef i le a elwid y Golgotha; yr hyn o'i gyfieithu yw, Lle y benglog."

Yr wyf yn ei weled yn awr yn ymlusgo i fyny i'r mynydd yn eiddil, bron yn rhy wan i gerdded, a'r gwaed yn llifo yn raddol o'i glwyfau. Hen ddienyddle troseddwyr oedd hwn; y mae llawer o ladron a llofruddion wedi dringo i fyny i'r bryn acw erioed, i dderbyn eu priod wobr, eu cospedigaeth gyfiawn am eu troseddau. Porth marwolaeth a phorth uffern oedd mynydd Calfaria; canys nid oedd neb ond drwg-weithredwyr yn myned i farw yno, y rhai nad oedd ond ychydig o obaith am eu sefyllfa dragywyddol. Eithr yn awr mi welaf Berson yn myned i fyny i Galfaria i farw, nid drwg-weithredwr, ond y Cyfiawn hwnw "ni wnaeth gam, ac ni chaed twyll yn ei enau." Nid hen leidr a welaf yn awr, ond Iesu Grist; Oen Duw yn myned i dalu dyled pechaduriaid, a gollwng miloedd yn rhydd. Mae yn myned i fyny ac yn cau hen borth uffern, ag oedd yn wastad yn agored ar fynydd Calfaria, ac yn agor porth y nef led y pen. Gynt yr oedd pawb ag oedd yn myned i Galfaria i farw, yn ddynion tebyg iawn o fyned o Galfaria i Gehena; eithr yn awr, wedi i Grist farw ar Galfaria, nid oes neb yn myned i uffern ag sydd yn

marw yno. Mae porth uffern wedi ei gau, a phorth y bywyd wedi ei agor, trwy angau Crist. Diolch! bendigedig fyddo ei enw yn dragywydd. Mi a'i clodforaf am byth am farw yn fy lle ar fynydd Calfaria.

"Pen Calfaria, pen Calfaria,
Nac aed hwnw byth o'm cof."

Y mae fy nghalon galed yn toddi fel cŵyr weithiau, fy nghyfeillion, wrth edrych ar fy anwyl Iesu yn cael ei arwain i'r croesbren, ac yno yn marw dros yr annuwiol, "y Cyfiawn dros yr annghyfiawn,"

"Rhyfeddod a bery'n ddiddarfod, yw'r ffordd a gymerodd efe
I achub pechadur colledig, trwy farw ei hun yn ei le;
Fe safodd fy Mrenin ei hunan, gorchfygodd awdurdod y ddraig;
Ein Blaenor galluog ni ydyw—O caned preswylwyr y graig."

Bendigedig, dyoddefodd y groes, gan ddiystyru gwaradwydd. Yr oedd yr Iuddewon yn edrych ar angau y groes yr angau mwyaf gwarthus yn y byd; ac yr oedd felly hefyd, yn gymaint ag mai barn ar ddrwg-weithredwyr ydoedd. Yr oeddynt dan yr argyhoeddiad hefyd, fel y mae pobl yn gyffredin, fod yn anobeithiol achub neb a fuasai yn nghrog ar bren. Yr oeddynt yn edrych arnynt fel ar gŵn drwg, y rhai sydd yn cael eu crogi o herwydd eu bod yn rhy beryglus i gael byw. Felly yr oedd eu cenfigen yn eu gyru i roddi yr angau gwaethaf a mwyaf gwaradwyddus oedd yn bosibl i'r Arglwydd Iesu. Yr oeddynt am ei wthio nid yn unig i'r bedd, ond i uffern, pe buasai modd. "Melldigedig yw pob un sydd yn nghrog ar bren." Ond bendigedig, er gwaethaf byd ac uffern, dyma y felldith wedi troi yn fendith, y gwarth wedi troi yn ogoniant, ac uffern wedi troi yn nefoedd. Haleluia! y pren ddarfu ein dystrywio yn Eden; a dyma y pren yn ein gwneyd am byth ar Galfaria. Ffrwyth y pren ddarfu ein lladd yn Eden, eithr ffrwyth y pren sydd yn ein bywhau ar Galfaria. Fe'n collwyd trwy fwyta ffrwyth y pren yn Eden; yr ydym yn cael ein cadw wrth fwyta ffrwyth pren Calfaria.

"Yn Eden, cofiaf hyny byth,
Bendithion gollais rif y gwlith;
Syrthiodd fy nghoron wiw:
Ond buddugoliaeth Calfari—Bendigedig!
Enillodd fwy yn ol i mi;
Mi ganaf tra f'wyf byw."

Gwnaf, fy nghyfeillion, "mi ganaf tra f'wyf byw," er gwaethaf byd, cnawd, a chythraul; gwnaent eu gwaethaf oll; "mi ganaf tra f'wyf byw." Mae yr Arglwydd Iesu wedi

dyfod yn Iachawdwr i'r rhai sydd wedi dybenu eu diwrnod ar y crogbrenau am droseddu cyfraith eu gwlad. Gwaredwr mawr yw yr Arglwydd Iesu, ar sail iawn mawr a dalwyd ar y groes. Achubwyd y lleidr; "heddyw y byddi gyda mi yn Mharadwys." Y ddoe yr oeddit dan gondemniad yn y carchar am droseddu cyfraith dy wlad, ond heddyw ti fyddi yn mhlith angylion a saint yn dechreu canu yr anthem ddiddiwedd. Nid y lleidr ar y groes yw yr unig un sydd wedi ei achub trwy farwolaeth yr Arglwydd Iesu. Na; y mae canoedd a miloedd, yr wyf yn gobeithio; o leiaf, y mae angau Crist yn ddigonol, ond troi ato, i achub o dan y grogbren.

Edrychwch eto, fy nghyfeillion; mae yr olygfa fawr heb ddarfod yn llwyr eto; dacw hwynt yn awr yn dyosg ei ddillad oddiam dano, ac yn eu rhanu yn eu plith, ac felly yn codi yr Iesu yn noeth i ben y pren. Codasant y groes i fyny, a dacw Fab Duw yn noeth ac wedi ei orchuddio â gwaed yn dyfod i olwg y werin. O olygfa ryfeddol!

"Ai Iesu mawr, ffrynd dynolryw,
A wela'i fry a'i gnawd yn friw,
A'i waed yn lliwio'r lle?
Fel gwr dibris yn rhwym ar bren,
A'r gwaed yn dorthau ar ei ben?
Ië, f'enaid, dyna Fe.

Yr oedd pob *scoundrel* oedd yn myned heibio yn ysgwyd ei ben, ac yn gwneyd pob ystum ddirmygus. "A'r un modd yr arch-offeiriaid hefyd gan watwar gyda'r ysgrifenyddion a'r henuriaid, a ddywedasant, Efe a waredodd eraill, ei hunan nis gall efe ei waredu. Os Brenin Israel yw, disgyned yr awr hon oddiar y groes, ac ni a gredwn iddo. A'r un peth hefyd a edliwiodd y lladron iddo, y rhai a groeshoeliasid gydag ef." Yr ydych yn gweled yn awr ei ddwylaw anwyl yn estynedig allan ar y groes, fu yn eu hestyn er cynorthwyo pob trueni a gyfarfyddai yn y byd. Mae ei draed, a fu yn flinedig lawer gwaith wrth gerdded oddiamgylch i wneuthur daioni, yn hoeliedig hefyd; ac y mae yr hen sarph wedi cael cyfle i ysigo ei sawdl yn awr. Ond "efe a ysiga dy ben di." Edrychwch! nid yw efe yn agor ei enau trwy y cwbl, eto y mae yn agor ei lygaid, ac yn tywallt dagrau dros ei bobl; nis gall eu hannghofio yn nghanol ei ddyoddefiadau mwyaf. "Efe yn caru yr eiddo, a'u carodd hwynt hyd y diwedd." Gall gwraig annghofio ei phlentyn sugno; y mae hyny wedi bod lawer gwaith yn wyneb rhyw amgylchiadau o

drueni annghyffredin; "ond myfi ni'th annghofiaf di. Wele, ar gledr fy nwylaw y'th argreffais; dy furiau sydd ger fy mron bob amser." Rhaid iddo annghofio ei ddwylaw ei hun cyn y gall byth dy annghofio di. Ni annghofia efe byth y dwylaw hyny y gyrwyd hoelion drwyddynt ar y groes. "Bydd fy nyoddefiadau a fy nghystuddiau mawrion ar y pren yn peri i mi dy gofio byth mwy." Bydd yn rhaid i mi annghofio fy nghur, fy ing, fy marwolaeth, ïe, bydd yn rhaid i mi annghofio fy hun am byth cyn y gallaf dy annghofio di. Yr ydwyt wedi dy argraffu ar gledr fy llaw, yn ôl yr hoelion. "Ei ddwylaw," medd Solomon, "sydd fel modrwyau aur, wedi eu llenwi o beryl," Can. v. 14. Wedi codi penau yr hoelion i fyny, a'r gwaed yn ffrydio allan trwy y tyllau, yr oedd ei ddwylaw yn ymddangos fel pe buasent yn llawn o fodrwyau aur. Yr wyf yn methu tynu fy ngolwg oddiar Fab Duw yn crogi yn noeth ar y pren yn ngwydd Iuddewon a Chenedloedd, y rhai sydd yn ysgwyd eu penau, yn curo dwylaw, ac yn ysgyrnygu eu danedd arno.

Pa dafod all fynegi maint ei ddyoddefiadau pan yn crogi fel hyn ar y pren garw? Mae yr ystorm ag oedd yn hir yn ymgrynhoi, yn ymdywallt o'r diwedd. Yn awr y mae holl alluoedd uffern ar y maes. Hon yw eu hawr hwy. Yn awr y mae cleddyf cyfiawnder yn dyfod yn noeth i'r golwg, ac yn ysgwyd uwch ben y Meichiau bendigedig, gan ddywedyd, "Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant." "Deffro, gleddyf, yn erbyn fy Mugail, ac erbyn y gwr sydd gyfaill i mi, medd Arglwydd y lluoedd: taro y Bugail, a'r praidd a wasgerir; a dychwelaf fy llaw ar y rhai bychain," Zech. xiii. 7. Och, dyma y gwr nad agorai ei enau yn yr holl driniaeth a fu arno, yn awr o dan ergydion cleddyf cyfiawnder yn agor ei enau, ac yn gwaeddi allan. "A phan daeth y chweched awr, y bu tywyllwch ar yr holl ddaear hyd y nawfed awr. Ac yn nghylch y nawfed awr y llefodd yr Iesu â llef uchel, gan ddywedyd, Eli, Eli, lama sabachthani? hyny yw, Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist? Ac yn y fan un o honynt a redodd, ac a gymerth yspwng, ac a'i llanwodd â finegr, ac a'i rhoddodd ar gorsen, ac a'i diododd ef. A'r Iesu, wedi llefain â llef uchel, a ymadawodd â'r ysbryd. Ac wele, llen y deml a rwygwyd yn ddau oddi fyny hyd i waered: a'r ddaear a grynodd, a'r meini a holltwyd. A'r beddau a agorwyd, a llawer o gyrph y saint a hunasent a gyfodasant, ac a ddaethant allan o'r beddau ar ol ei gyfodiad ef, ac a aethant i mewn i'r ddinas

santaidd, ac a ymddangosasant i lawer. Ond y canwriad, a'r rhai oedd gydag ef yn gwylied yr Iesu, wedi gweled y ddaeargryn, a'r pethau a wnaethid, a ofnasant yn fawr, gan ddywedyd, Yn wir Mab Duw oedd y dyn hwn." Dyma awr, fy nghyfeillion, ag sydd wedi gwneyd i ddaear a nefoedd synu a chrynu. Os bu gosteg yn nef y gogoniant erioed, hon oedd yr awr, tra yr oedd y frwydr yn ymddangos yn anmhenderfynol, a thra yr oedd nefoedd ac uffern yn arllwys ac yn pentyru melldith ar felldith ar ben yr Arglwydd Iesu, braw ar fraw, gwae ar wae, yn nghyda phwys dirfawr ein pechodau yn curo ei enaid santaidd i lawr. "Nid arbedodd ei briod Fab, ond a'i traddododd ef trosom ni oll." Nid oedd yr un drugaredd i'w dangos iddo yn y sefyllfa hon; yr oedd yn rhaid talu y cwbl, ïe, yr hatling eithaf.

Nis gallai satan ddymuno dim yn well na gweled Mab Duw yn encilio o'r frwydr, a gadael y byd heb ei waredu. Ymdrechodd diafol i dreulio allan ei amynedd, hyd y gallai, yn mhob rhyw fodd, trwy ei demtio a'i boeni, a meddianu dynion, a'u gwneyd yn gythreulig ato. Eithr efe a garodd ei eiddo gymaint, fel yr aeth trwy fwg a thân i'w hachub a'u gwaredu oddiwrth ddiafol a digofaint tragywyddol. Carodd hwynt mor anwyl fel na ofynodd drugaredd iddo ei hun, fel y byddai ganddo drugaredd a gras yn ddiddiwedd i'w rhoddi iddynt hwy. Yfodd y cwpanaid dychrynllyd i'r gwaelod ei hunan, ac a'i llanwodd o felusder a thangnefedd pur i chwi, fel y galloch yfed i faeddu chwerwder y byd, ac yfed byth heb ddim chwerwder yn agos. Mae dyoddefiadau Crist ar ben; y mae yr Ysbryd yn tystiolaethu yn nghalon Crist fod "pob peth wedi ei orphen bellach:" "Efe a gyfiawnhawyd yn yr Ysbryd, a welwyd gan angylion." Yn awr, fy nghyfeillion, y mae y tywyllwch tragywyddol fel yn ffoi, y mae camwedd wedi ei ddybenu, y mae pechodau wedi eu selio, y mae cymod dros anwiredd wedi ei wneyd, y mae cyfiawnder tragywyddol wedi ei ddwyn i mewn, y mae y weledigaeth a'r brophwydoliaeth wedi eu selio, y mae y Santeiddiolaf wedi ei eneinio. Bendigedig am y fuddugoliaeth! "Gwybydd gan hyny, a deall, y bydd o fynediad y gorchymyn allan am adferu ac am adeiladu Jerusalem, hyd y Blaenor Messiah, saith wythnos, a dwy wythnos a thriugain; yr heol a adeiledir drachefn, a'r mur, sef mewn amseroedd blinion. Ac wedi dwy wythnos a thriugain y lleddir y Messiah, ond nid o'i achos ei hun: a phobl y tywysog yr hwn a ddaw a ddin-

ystria y ddinas a'r cysegr; a'r diwedd fydd trwy lifeiriant, a hyd ddiwedd y rhyfel y bydd dinystr annhraethol: ac efe a sicrha y cyfamod â llawer dros un wythnos: ac yn haner yr wythnos y gwna efe i'r aberth a'r bwyd-offrwm beidio, a thrwy luoedd ffiaidd yr anrheithia efe hi, hyd oni thywelltir y dyben terfynedig ar yr anrheithiedig." Dan. ix. 24—27. Mae y Messiah wedi ei ladd, ond nid o'i achos ei hun; ac y mae efe wrth farw wedi cario y frwydr byth mwy. Diolch, coronau lawer fyddo ar ei ben i dragywyddoldeb mwy.

"Ar Galfari yn ngwres y dydd,
Y caed y gwystl mawr yn rhydd,
Trwy golli gwaed yn lli';
'Nawr dim heb dalu, rhoddwyd iawn
Nes clirio llyfrau'r nef yn llawn,
Heb ofyn dim i mi."—O diolch!

Efe a ymaflodd, fel Samson, yn y colofnau ar y rhai yr oedd teyrnas y tywyllwch yn sefyll, a thynodd yr holl adeiladaeth gythreulig ar eu penau. "Wedi hyny yr Iesu, yn gwybod fod pob peth wedi ei orphen weithian, fel y cyflawnid yr ysgrythyrau, a ddywedodd, Y mae syched arnaf. Yna pan gymerodd yr Iesu y finegr, efe a ddywedodd, Gorphenwyd; a chan ogwyddo ei ben, efe a roddodd i fyny yr ysbryd." Dyma bob peth oedd yn ein herbyn ni, fy nghyfeillion, yn syrthio i lawr am byth o flaen y gair Gorphenwyd. Mae ein gelynion wedi eu gwanychu, ein huffern a'n hangau wedi eu llyncu i fyny mewn buddugoliaeth. Diolch byth am yr oruchafiaeth lwyr. Mae ysgrifen-law yr ordeiniadau wedi ei dileu, a'i chymeryd oddiar y ffordd a'i hoelio wrth y groes. Mae pen satan wedi ei ysigo, y mae uffern wedi colli y dydd, mae y ddyweddi wedi ei phrynu; dacw hi yn dyfod i fyny o'r anialwch, yn pwyso ar ysgwydd ei hanwylyd. Gogoniant, mae merch yr hen Amoriad a'i thraed yn rhydd am byth. Dyma le i fy enaid tlawd inau i bwyso am byth. Mae yr hyn a ddyoddefodd yr Arglwydd Iesu dros bechodau yn ddigon i bechadur mawr fel myfi, ac yn ddigon i tithau hefyd. Y mae Crist, yn ei waith cyfryngol, wedi taflu sylfaen safadwy i lawr, craig a ddeil byth, maen profedig, craig yr oesoedd. Diolch!

"Dyma'r maen sydd yn y gongl,
Dyma'r gareg werthfawr bur,
Gloddiwyd allan yn y bryniau,
Bryniau tragwyddoldeb dir;
Nid oes le, is y ne',
I adeiladu ond efe.

Minau'r gwaela' o bechaduriaid
Yn y diwedd rof fy nhroed
Ar y graig sydd yn y moroedd,
Craig gadarnaf fu erioed!
Ceidw hon, yn mhob ton,
Ofnau ffwrdd o dan fy mron."

Yr wyf weithiau yn ofni y byddaf yn suddo byth yn y pwll diwaelod mewn gwae diddiwedd am fy mhechodau mawrion; yr wyf wedi haeddu yn gyfiawn i fod yno ganwaith, mewn mwg a thywyllwch tragywyddol yn nghwmpeini y cythreuliaid; ond yr wyf yn teimlo y fynyd hon ddyoddefaint ac angau ein Harglwydd Iesu Grist dan fy nhraed yn gadarnach na "mynyddoedd yr ysbail," yn gryfach na bryniau cadarnaf y byd. Bendigedig, yr wyf yn teimlo hyder y foment hon yn aberth Crist, ac yn credu, er fy holl ofnau weithiau, na wel y cythraul mo honof byth mewn cadwynau tywyllwch. Pa fodd y gallaf suddo i uffern, a'r hyn oll a wnaeth ein Harglwydd Iesu, o Fethlehem i Galfaria fryn, o dan fy ngwadnau? Anmhosibl! *Never fear, he is able to save, and will save also.*

> "How can I sink with such a prop,
> That holds the world and all things up!"

Y mae y gair "Gorphenwyd," fy nghyfeillion, wedi gollwng tafodau yr angylion yn rhyddion, y rhai oedd o'r blaen yn fud ac yn synedig. Maent yn bloeddio canu, "Iddo ef" byth mwyach. "A'r holl angylion a safasant o amgylch yr orseddfainc, a'r henuriaid, a'r pedwar anifail, ac a syrthiasant ger bron yr orseddfainc ar eu hwynebau, ac a addolasant Dduw, gan ddywedyd, Amen: y fendith, a'r gogoniant, a'r doethineb, a'r diolch, a'r anrhydedd, a'r gallu, a'r nerth, a fyddo i'n Duw ni yn oes oesoedd. Amen," Dat. vii. 11, 12. Bendigedig!

> "Bydd canu uwch am Galfari,
> Na chlywodd yr angylion fry,
> Pan ddelo Salem bur yn llawn."

Gadewch i ni fyned yn ol am ychydig o fynydau i edrych ar y modd y tywalltodd efe ei enaid i farwolaeth. Bu dair awr yn cerdded trwy ddyfnderoedd angau ac uffern, yn chwilio am ei bobl golledig, ac yn eu cychwyn yn ol tua'r nefoedd o fol uffern. Yr ydoedd yn benderfynol o'u ceisio nes eu cael. Gweddiodd drostynt yn ei ing a'i boenau; ac ni annghofiodd ei fam dlawd pan yn ei bangfeydd mwyaf. "Yr Iesu gan hyny, pan welodd ei fam, a'r dysgybl yr hwn a garai yn sefyll gerllaw, a ddywedodd wrth ei fam, O wraig, wele dy fab. Wedi hyny y dywedodd wrth y dysgybl, Wele dy fam. Ac o'r awr hono allan y cymerodd y dysgybl hi i'w gartref." Mae trugaredd yn llon'd ei galon hyd y diwedd. Nis gallasai ymddygiad yr Iuddewon barbaraidd

ei gynhyrfu i alw am dân o'r nef i'w dyfetha, a dymuno i Tophet agor ei safn a'u llyncu yn fyw i'w safn ddychrynllyd. Na, na; gweddio am drugaredd i'w boenydwyr a wnaeth yn ei fynydau cyfyngaf. "'O Dad, maddeu iddynt: canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur.' Ac, O Dad, trwy fy marwolaeth i, achub hwynt i fywyd tragywyddol, a golch hwynt yn y gwaed y maent yn ei dywallt yr awr hon." Achubodd yr hen leidr i ddangos cyfoeth diddiwedd ei drugaredd, ac y gall achub hyd yr eithaf; ac nad oes neb yn ormod o bechadur i angau y groes ei waredu, nac yn rhy frwnt fel na allo gwaed y taenelliad ei lanhau yn berffaith. Y mae trwy hyn yn egluro ei fod yn Arglwydd ar y meirw a'r byw hefyd, trwy roddi bywyd i feirwon, a bywhau y neb a fyno. Yr oedd ei syched yn ffynonau dyfroedd bywiol i ni, yn "afon bur o ddwfr y bywyd, dysglaer fel grisial." "Un o'r milwyr a wanodd ei ystlys â gwaywffon, ac yn y fan y daeth allan waed a dwfr." Diolch! dyma ffynon ddigon rhinweddol i olchi yr Ethiop yn wyn, i olchi y pechadur mwyaf halogedig yn lân byth. Er ys ychydig yn ol yr oedd y tywyllwch dros yr holl wlad am dair awr; yr oedd yn ymddangos fel pe buasai tywysog y tywyllwch wedi cymeryd meddiant o'n byd ni; yr hyn oedd yn gwneyd dyoddefaint yr Arglwydd Iesu yn fwy pruddaidd a thrymllyd, canys yr ydoedd wedi ei orddiwes ag ofn a braw dychrynllyd. Yn awr, y mae yn clirio; bendigedig, y mae y deyrnas na ddystrywir byth yn dechreu dyfod i'r golwg, y mae y boreu yn gwawrio na phrydnawna yn oes oesoedd; y mae y goleu hwnw yn dechreu tywynu, na welir tywyllwch yn ei ganlyn byth. Diolch! mae yr ystorm fawr wedi myned heibio. "Canys wele y gauaf a aeth heibio, y gwlaw a basiodd, ac a aeth ymaith. Gwelwyd blodau ar y ddaear, daeth amser i'r adar ganu, clywyd llais y durtur yn ein gwlad. Y ffigysbren a fwriodd allan ei ffigys irion, a'r gwinwydd â'u hegin grawn a roddasant arogl teg. Cyfod di, fy anwylyd, a thyred di fy mhrydferth. Fy nghJolomen, yr hon wyt yn holltau y graig, yn lloches y grisiau, gâd i mi weled dy wyneb, gâd i mi glywed dy lais: canys dy lais sydd beraidd, a'th olwg yn hardd," Can. ii. 11—14. Dyma loches byth mwy i fy enaid tlawd rhag y dymhestl, a rhag y gwres, ïe, rhag pob drwg ac annghysur amserol a thragywyddol.

Edrychwch, fy nghyfeillion, y mae ein Iesu ni yn dwyn melldith y ddaear ar ei ben, yn y goron ddrain; dacw yr hen

felldith â'r hon y mellditihiwyd hi o herwydd pechod, yn awr yn syrthio yn llwyr ar y Cyfryngwr. Y mae drain, mieri, ac ysgall yr hen ddaear yn trywanu ei ben santaidd. Mae y groes felldigedig ar ei gefn, a'n holl bechodau ni yn gwasgu yn drwm, a'r holl ofidiau oedd yn nglŷn â'r fath luaws o feiau. Mae ei glwyfau yn iechyd i'r cenedloedd; ei friwiau yw dail pren y bywyd, y rhai sydd yn iachau y cenedloedd. Mae Crist yn cael ei bortreiadu yn yr efengyl fel yn noeth, yn glwyfus, ac yn crogi ar y groes, fel y galloch edrych arno, a bod yn gadwedig byth trwyddo. Edrychwch arno, chwi hen gleifion Eden, a chwi fyddwch yn iach, o ba glefyd bynag fyddo arnoch. Edrychwch ar Iesu nes y byddo eich ffydd wedi ei pherffeithio ynddo. Parhewch i edrych nes y bydd eich dolur wedi eich llwyr adael. Mae efe i fy enaid euog yn decach yr olwg arno na holl feibion dynion; "y mae yn rhagori ar ddeng mil, y mae efe oll yn hawddgar." Bendigedig! dyma fy anwylyd, dyma fy nghyfaill; ïe, dyma fy mhob peth byth mwy. Mae ei fflangellau yn arbediad bywyd i mi; mae ei glwyfau yn feddyginiaeth i mi; mae ei waed yn ffynon i'm glanhau i; mae ei wawd yn goron i mi; ïe, mae ei holl ddyoddefiadau, o'r bru i'r bedd, ei holl ufudd-dod gweithredol a dyoddefol, yn gyfiawnder i fy nghuddio byth; yn wisg ogoneddus na phydra y bedd mo honi, yn yr hon y caf ymddangos ger bron y fainc, ac yn mhlith yr angylion santaidd, ac yn well fy ngolwg na'r un o honynt. Gogoniant! ni bydd cywilydd ar fy Nhad i weled ei blentyn tlawd wedi dyfod i fyny o'r cystudd mawr, o blith y seirph a'r ysgorpionau, ac o blith y crochanau, ac o'r pridd tew a'r clai tomlyd.

Bydd cyfiawnder Crist, nid yn unig yn edrych yn dda yn mhlith teulu y gogoniant, ond bydd yn gorddysgleirio nef y nefoedd. Bendigedig; fe gaiff fy enaid noethlwm ymdroi yn y wisg hon byth; yn hon yr ymguddiaf yn dragywydd. Na fydded dim ond hon am danaf pan yn myned i lawr i rydau yr hen Iorddonen ddu; bydded hon genyf o flaen y fainc ac i dragywyddoldeb. "Ac y'm ceir ynddo ef heb fy nghyfiawnder fy hun, yr hwn sydd o'r gyfraith, ond yr hwn sydd trwy ffydd Crist, sef y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd. Fel yr adnabyddwyf ef, a grym ei adgyfodiad ef, a chymdeithas ei ddyoddefiadau ef, gan fod wedi fy nghydffurfio â'i farwolaeth ef," Phil. iii. 9, 10.

## PREGETH XV.

### PROFION O DDERBYNIAD MADDEUANT PECHODAU.

"Ac wele, hwy a ddygasant ato wr claf o'r parlys, yn gorwedd mewn gwely; a'r Iesu yn gweled eu ffydd hwynt, a ddywedodd wrth y claf o'r parlys, Ha fab, cymer gysur; maddeuwyd i ti dy bechodau," Mat. ix. 2.

Y MAE yr Arglwydd Iesu yn rhoddi eglurhad goleu ac eglur o'i Dduwdod yn y testun a'r geiriau dylynol.

1. Y mae yn dangos ei fod yn gydnabyddus â'n meddyliau mwyaf dirgelaidd. "Ac wele, rhai o'r ysgrifenyddion a ddywedasant ynddynt eu hunain, Y mae hwn yn cablu. A phan welodd yr Iesu eu meddyliau efe a ddywedodd, Paham y meddyliwch ddrwg yn eich calonau?" Y mae gwybod meddyliau, chwilio calonau, a bod yn hysbys o resymau calonau dynion, y tu hwnt i alluoedd yr angylion sydd yn y nef; Duw yn unig sydd yn Chwiliwr y calonau, a Phrofwr yr arenau; gan hyny y mae yn rhaid fod yr Arglwydd Iesu yn Dduw.

2. Y mae yn profi ei Dduwdod trwy gyflawni gwyrth er iachau clefyd anfeddyginiaethol. "A'r Iesu yn gweled eu ffydd hwynt a ddywedodd, Ha fab, cymer gysur." Dyma y claf a'r meddyg wedi cyfarfod â'u gilydd, ac y mae y Meddyg mawr yn gwella nid yn unig y corph, ond yr enaid hefyd. Mae y claf yn derbyn iechyd corph, a iachawdwriaeth dragywyddol i'w enaid ar yr un pryd. Yr oedd ei gymalau a'i ewinau mor wan, fel yr oedd yn cael ei gario gan bedwar mewn gwely; eithr aeth adref, nid gan gael ei gario mewn gwely, ond gan gario y gwely ar ei gefn, a neidio a llamu fel hydd ar hyd y ffordd. "Yna y dywedodd wrth y claf o'r parlys, Cyfod, cymer dy wely i fyny, a dos i'th dŷ. Ac efe a gyfododd, ac a aeth ymaith i'w dŷ ei hun."

3. Y mae yn profi ei Dduwdod wrth broffesu yr awdurdod i faddeu pechodau. Mae yn rhaid ei fod yn dwyllwr mawr neu yn Dduw mawr, un o'r ddau. Mae yr Iuddewon yn ymresymu yn alluog yn wyneb yr honiad hyn; yr oedd yn anmhosibl i neb ymresymu yn well byth ar y pwnc. "Beth a wna hwn fel hyn yn dywedyd cabledd? pwy a all faddeu pechodau ond Duw yn unig? Mae hyn yn ddigon gwir; yr ydych yn dywedyd yn iawn; nid oes neb all faddeu ond Duw. *Well done; this is good reasoning.* Ond peidiwch â myned yn y blaen yn rhy gyflym hefyd. Pwy allasai orchymyn i'r claf o'r parlys godi o'i wely a rhodio ond Duw

yn unig? "Pa un hawsaf, meddwch chwi, ai dywedyd wrth y claf o'r parlys, Maddeuwyd i ti dy bechodau, ai dywedyd, Cyfod, a chymer i fyny dy wely, a dos i'th dŷ? Eithr fel y gwypoch fod gan Fab y dyn awdurdod i faddeu pechodau ar y ddaear (eb efe wrth y claf o'r parlys), Wrthyt ti yr wyf yn dywedyd, Cyfod, a chymer i fyny dy wely, a dos i'th dŷ. Ac yn y man y cyfododd efe, ac y cymerth i fyny ei wely, ac a aeth allan yn eu gwydd hwynt oll; hyd oni synodd pawb, a gogoneddu Duw, gan ddywedyd, Ni welsom ni erioed fel hyn," Marc ii. 7—12. Mae Mab y dyn wedi egluro fod awdurdod i faddeu pechodau yn ei law; am hyny y mae yn rhaid ei fod yn Dduw.

Oddiwrth eiriau y testun gallwn ganfod pedwar peth:— 1. Ein bod yn bechaduriaid. 2. Fod gan Dduw lwybr i faddeu pechodau. 3. Fod yn bosibl i ni ddyfod i sicrwydd am faddeuant. 4. Fod yr athrawiaeth hon am faddeuant yn cynwys cysur mawr. "Ha fab, cymer gysur; maddeuwyd i ti dy bechodau."

Yn bresenol, yr athrawiaeth y caf alw eich ystyriaethau yn benaf ati yw, Fod yn bosibl i ni ddyfod i wybodaeth ein bod wedi derbyn maddeuant pechodau. Nid yn unig y mae yn bosibl i ddyn gael gobaith gweddol gryf fod ei bechodau wedi eu maddeu, eithr y mae y gras hwn wedi ei egluro mor gyflawn a chyfoethog yn yr efengyl, fel y gall ddyfod i berffaith sicrwydd. Mae tystioliaeth yr Ysbryd Glân, trwy gymhwysiad yr efengyl at y meddwl, mor sicr a phe buasai Crist wedi dweyd yn bersonol wrth ddyn, "Maddeuwyd i ti dy bechodau;" mor sicr a phe bai Duw yn danfon prophwyd ato, fel y danfonwyd Nathan at Dafydd. gan ddywedyd, "Yr Arglwydd hefyd a dynodd ymaith dy bechod di: ni byddi di marw," 2 Sam. xii. 13. Nid ydych i ddysgwyl Crist, na'r prophwyd ychwaith, i ddyfod â'r genadwri hon o'r nefoedd atoch fel cynt, eithr yr ydych i ddyfod i'r sicrwydd hwn trwy air Duw a'i Ysbryd. Nid ydych i freuddwydio am unrhyw lais o'r nefoedd i ddywedyd hyn wrthych, na siarad yn eich clustiau gan Ysbryd Duw; eithr yr Ysbryd Glân yn cyd-dystiolaethu "â'n hysbryd ni ein bod yn blant i Dduw," a bod ein holl bechodau mawrion wedi eu maddeu. Nid oes dim, fy nghyfeillion, yn y byd hwn haner mor bwysig i ni wybod am dano a gwybod pa fodd y mae rhyngom a Duw. Mae angau a thragywyddoldeb o'n blaen, ac oddieithr i ni dderbyn maddeuant pechodau, bydd cydwybod euog yn bryf na fydd

marw byth yn ein mynwesau. Mae camsyniad am faddeuant pechodau yn gamsyniad ofnadwy, yn gamsyniad anwelladwy. Eto y mae miloedd ar filoedd yn mentro y mater hwn ar seiliau rhy weinion. Maent yn maddeu iddynt eu hunain, ac yn maddeu y naill i'r llall, a dyna y cwbl; heb feddwl fod yn rhaid cael maddeuant gan Dduw. Opiniynau gweigion eu calonau gweigion eu hunain yw yr unig seiliau am faddeuant pechodau a diangfa dragywyddol, ac nid seiliau gair Duw. Bechaduriaid, yr ydych yn euog ger bron Barnwr cyfiawn; a pha beth sydd genych i ddywedyd yn erbyn cyhoeddi barn a dedryd marwolaeth dragywyddol yn eich erbyn? A oes genych ryw beth i ddweyd drosoch eich hunain, ac yn erbyn cyfiawnder y ddedryd? Yr wyf yn meddwl y clywaf yr Arglwydd ei hun yn gofyn y cwestiwn yn awr o'r nefoedd, "Bechaduriaid, beth sydd gyda chwi i ddweyd drosoch eich hunain? Beth yw seiliau eich gobaith na ddemnir chwi byth?" Gwyliwch, fy nghyfeillion, yn erbyn seiliau gau; chwiliwch hwynt i'r gwaelod, canys y mae miloedd yn uffern ddarfu bwyso ar seiliau rhy weinion am faddeuant pechodau. Yn awr, ymdrechwn yn ddifrifol ystyried y pethau canlynol.

1. Ceisiaf ddangos pa bethau sydd yn seiliau twyllodrus am faddeuant.

(1.) Sail gobaith llaweroedd am faddeuant yw, nad yw eu pechodau yn fawrion ac yn aml. Nid ydynt yn euog o bechodau mor ofnadwy ac mor haerllug a'r rhan fwyaf. "Yr wyf yn meddwl," medd y pechadur, "nad ydyw y Duw mawr mor fanwl a llym a pheidio myned heibio ac edrych dros fy mhechodau bychain i, a'u maddeu yn rhwydd; oblegyd beth ydynt at y pechodau ysgeler a gyflawnir yn holl leoedd aflan a brwnt y byd!" Fy enaid, y mae yn eglur nad ydwyt ti wedi deall eto natur a drwg mawr pechod. Mae y pechod lleiaf, fel ei gelwir, yn gwneuthur y fath rwyg rhwng dy enaid a Duw, fel y mae yn anmhosibl i holl greaduriaid y ddaear, a'r nefoedd hefyd gyda hwynt, byth ei wneyd i fyny. Mae yn ymddangos fod yr holl bregethau sydd wedi eu traddodi i dy glyw ar ddrwg annhraethol pechod, wedi bod oll yn aneffeithiol i dy argyhoeddi di o'i ddrwg; canys nid oes neb sydd wedi eu hargyhoeddi o bechod yn gweled un pechod yn fach. Mae pob pechod yn taro yn uniongyrchol yn erbyn Duw; ac os oes un pechod yn fach, y mae yn rhaid fod hwnw yn erbyn Duw bach. Os pechod bach, Duw bach; os Duw mawr, pechod mawr. Mae yn sicr fod rhai pechodau yn fwy

na'u gilydd mewn llawer ystyr; eto y mae y pechod hwnw a gyfrifir y lleiaf yn annhraethol ei faint, gan ei fod yn drosedd uniongyrchol yn erbyn gorsedd, llywodraeth, ac uchafiaeth y Duw Goruchaf. Mae yn bosibl trywanu dyn i farwolaeth â chyllell fach, *penknife* fechan, yn gystal ag â chleddyf mawr; gellir saethu i farwolaeth â *phistol* yn gystal a *channon*; gall llong fawr suddo mewn llyn bychan; gall gwreichionen fach osod tŷ mawr ar dân. Lladdwyd y frenines Ann gan bigad nodwydd; felly gall y pechod lleiaf fod yn dragywyddol ddinystr i chwi yn gystal a'r un mwyaf. Nid yw yn brawf yn y byd fod Duw wedi maddeu eich pechodau am eu bod yn fychain, neu yn hytrach am eich bod chwi yn eu gweled yn fychain. Yn fychain, fy nghyfeillion, nid ydynt mewn gwirionedd, eithr chwychwi sydd yn byw yn y tywyllwch.

(2.) Ystyriwch nad ydyw trugaredd Duw yn ymddibynu ar ddim ond arno ei hun. Mae trugaredd yn eiddo yr Arglwydd, i wneyd fel y myno ef ei hun; ac y mae efe yn fynych yn maddeu pechodau mawrion i bechaduriaid mawrion, ac yn myned heibio pechodau a phechaduriaid llai, heb faddeu iddynt. Am hyny paid â thwyllo dy hun yn nghylch teilyngdod, a phaid dysgwyl am faddeuant am dy fod yn llai pechadur na llawer. Mae efe wedi gweled yn dda i faddeu y pechodau mwyaf, a damnio eraill am bechodau oedd yn llai. Mae efe yn gallu gwneyd fel y myno â'i drugaredd ei hun. "Beth gan hyny a ddywedwn ni? a ddadleuwn ni yn erbyn Duw?" Beth sydd gyda ni i ddywedyd os maddeu efe y pechodau ysgeler, a dy adael di i drengu byth yn dy bechodau bach? Os arbed efe y pechadur mawr, a damnio y pechadur bach, pa beth a ddywedwn ni wrth y pethau hyn? Mae efe wedi maddeu bywyd godinebus, ac wedi damnio am feddyliau aflan. Mae wedi maddeu i rai o'r llofruddion mwyaf bwriadol, a damnio eraill am feddyliau dialeddus. Gwnewch gydmaru pechodau Dafydd a Saul, a gwelwch wirionedd y mater dan sylw yn eglur. Cyflawnodd Dafydd lawer o bechodau ofnadwy, yn enwedig y pechodau o lofruddiaeth a godineb; er hyny maddeuodd yr Arglwydd iddo.

Nid ydym yn darllen i Saul gyflawni tebyg gymaint o bechodau ag ef, na phechodau mor ysgeler ychwaith, eto "bwriodd yr Arglwydd ef ymaith yn dragywydd." Y ddau bechod am ba rai y bwriodd yr Arglwydd ef ymaith oeddynt, 1. Cynyg poeth-offrymau ei hun. Yr oedd y Philistiaid yn gwasgu yn drwm ar Israel, ac yr oedd yr amser yr oedd

Samuel wedi ei nodi i ddyfod at Saul wedi myned heibio; beth bynag, yr oedd ar y fynyd ddiweddaf. Yr oedd Saul, yn wyneb fod y gelynion yn gwasgu arno, mewn cyfyngder mawr, fel y darfu iddo, yn hytrach na myned allan i ryfel heb gydnabod yr Arglwydd yn gyntaf, gymeryd y gorchwyl o offrymu yn ei law ei hun. Yr oedd ei ddybenion yn ymddangos yn dda, eto yr oedd y peth yn egluro nad oedd ganddo ffydd yn Nuw. "Ac efe a arosodd saith niwrnod, hyd yr amser gosodedig a nodasai Samuel. Ond ni ddaeth Samuel i Gilgal; a'r bobl a ymwasgarodd oddiwrtho ef. A Saul a ddywedodd, Dygwch ataf fi boeth-offrwm, ac offrymau hedd. Ac efe a offrymodd y poeth-offrwm. Ac wedi darfod iddo offrymu y poeth-offrymau, wele, Samuel a ddaeth; a Saul a aeth allan i'w gyfarfod ef, ac a gyfarchodd well iddo. A dywedodd Samuel, Beth a wnaethost ti? A Saul a ddywedodd, O herwydd gweled o honof i'r bobl ymwasgaru oddiwrthyf; ac na ddaethost tithau o fewn y dyddiau gosodedig, ac i'r Philistiaid ymgasglu i Micmas; am hyny y dywedais, Y Philistiaid yn awr a ddeuant i wared ataf fi i Gilgal, ac ni weddiais ger bron yr Arglwydd; am hyny yr anturiais i, ac yr offrymais boeth-offrwm. A Samuel a ddywedodd wrth Saul, Ynfyd y gwnaethost: ni chedwaist orchymyn yr Arglwydd dy Dduw, yr hwn a orchymynodd efe i ti: canys yr Arglwydd yn awr a gadarnhasai dy freniniaeth di ar Israel yn dragywydd. Ond yn awr ni saif dy freniniaeth di," 1 Sam. xiii. 8—14.

Ail bechod Saul oedd arbed Agag, brenin yr Amaleciaid, yn nghydag arbed y defaid a'r ychain, a'r brasaf o'r ŵyn, wedi i'r Arglwydd ddywedyd wrtho am ddinystrio y cwbl. Yr oedd rhyw fath o ddyben da ganddo yn hyn hefyd; canys arbedodd hwynt i gael eu haberthu i'r Arglwydd. "A Saul a ddywedodd, Oddiar yr Amaleciaid y dygasant hwy: canys y bobl a arbedodd y defaid goreu a'r ychain, i aberthu i'r Arglwydd dy Dduw. O herwydd i ti fwrw ymaith air yr Arglwydd, yntau a'th fwrw dithau ymaith o fod yn frenin. A Saul a ddywedodd wrth Samuel, Pechais: canys troseddais air yr Arglwydd, a'th eiriau dithau, o herwydd i mi ofni y bobl, a gwrando ar eu llais hwynt. Ond yn awr maddeu, atolwg, fy mhechod, a dychwel gyda mi, fel yr addolwyf yr Arglwydd." Dyma y pechodau: a chwi welwch fod dull eu cyflawniad yn ymddangos yn dra esgusodol. Mae yn cyfaddef hefyd, gan ddywedyd, "Pechais;" eto i gyd y mae yn

cael ei fwrw allan o'r freniniaeth yn dragywydd. Mae yn wir fod Saul yn euog o lawer o bechodau eraill, eithr am y pechodau a enwyd y bwriwyd ef allan o'r freniniaeth. Mae yn eglur fod Dafydd yn euog o bechodau mwy ysgeler ac ofnadwy na Saul; bu yn euog o lofruddiaeth, canys lladdodd Urias yr Hethiad er mwyn cael ei wraig; a bu yn euog o fyw mewn godineb, y rhai oeddynt bechodau gwarthus ac aflan. Eto y mae yr Arglwydd yn goddef Dafydd yn y freniniaeth, ac yn ei gadarnhau, er bwrw Saul ymaith am bechodau ydynt yn ymddangos i ni yn llawer llai. Maddeuodd bechodau mawrion Dafydd, ac aeth heibio bechodau bychain Saul heb eu dileu. Pwy sydd ag awdurdod i ofyn, Paham y darfu iddo ddamnio Saul am bechodau mor fychain, ac achub Dafydd yn wyneb pechodau mor fawrion? Beth yw hyny i ti? Onid yw ei drugaredd yn feddiant iddo ei hun? Chwi welwch ei fod yn maddeu i rai ag sydd wedi bod yn pechu am flynyddoedd meithion, ac yn tori eraill i lawr, a'u damnio byth, ag sydd wedi bod yn pechu ond am ychydig o flynyddoedd. Teyrnasodd Manasseh bymtheg mlynedd a deugain, a gwnaeth yr hyn oedd ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd yr holl flynyddoedd hyny. Adeiladodd drachefn yr uchelfeydd a ddinystriasai Hezeciah ei dad, adeiladodd allorau i lu y nefoedd yn nghynteddoedd tŷ yr Arglwydd, a thynodd ei fab ei hun trwy y tân. "Manasseh hefyd a dywalltodd lawer iawn o waed gwirion, hyd oni lanwodd efe Jerusalem o benbwygilydd, heblaw ei bechod trwy yr hwn y gwnaeth i Judah bechu, gan wneuthur yr hyn oedd ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd," 2 Bren. xxi. 16. Un o'r dynion mwyaf melldigedig fu ar y ddaear erioed oedd hwn, a chafodd oes hir hefyd i gyflawni ei ysgelerderau a'i weithredoedd dychrynllyd. Mae yn ddigon i ddyrysu angel i esbonio pa fodd y cafodd dyn fel hwn fyw cyhyd, i wneuthur dim ond pechu yn erbyn Duw ac aflonyddu dynion; ac y mae yn rhyfeddach byth eto pa fodd y maddeuwyd y cwbl iddo ar derfyn ei ddydd. "A phan oedd gyfyng arno ef, efe a weddiodd ger bron yr Arglwydd ei Dduw, ac a ymostyngodd yn ddirfawr o flaen Duw ei dadau, ac a weddiodd arno ef: ac efe a fu foddlon iddo, ac a wrandawodd ei ddymuniad ef, ac a'i dyg ef drachefn i Jerusalem i'w freniniaeth," 2 Cron. xxxiii. 12, 13. Dyma y pechodau mwyaf a gyflawnwyd wedi eu maddeu.

Eto sylwch, daeth ei fab Amon i'r orsedd, a dylynodd gamrau drygionus ei dad Manasseh, yn ol yr hyn oll a wnaeth

efe; eithr ni oddefwyd ef yn hir iawn. Fe allai ei fod yn ymresymu ynddo ei hun fel hyn:—"Bu fy nhad fyw yn hen, a theyrnasodd bymtheg mlynedd a deugain, gan ddylyn ei flys, ac ewyllys ei galon ddrygionus; a chafodd faddeuant yn y diwedd gan yr Arglwydd. Paham nad allaf finau wneyd yr un pethau, a chael oes hir i bechu, fel fy nhad, ac yn y diwedd, ar ol y methwyf ddylyn fy mhechodau, gael maddeuant o honynt oll?" Eithr y mae Amon yn cael ei dori i lawr mewn dwy flynedd o bechu, ac heb drugaredd a maddeuant ychwaith. Mae yn beth posibl i un fyw haner cant neu driugain mlynedd mewn meddwdod, a chael ei achub yn y diwedd; ac un arall yn dylyn ei esiampl, ac yn cael ei dori i lawr yn y weithred gyntaf neu yr ail, ac yn cael ei ddanfon i uffern gyda brys. "Mae yn wir ein bod yn bechaduriaid," meddai y dynion;" eto nid ydym yn bechaduriaid fel Manasseh; nid yw ein pechodau mor fawrion ac mor lluosog a'r eiddo ef. Nid wyf wedi pechu haner cymaint a rhai o fy nghyfoedion ychwaith." Bechadur, y mae un pechod yn ddigon i dy ddamnio yn oes oesoedd: yr ydwyt wedi dy golli yn dragywydd pe na byddai ond un anwiredd yn gorwedd arnat; eithr y mae myrddiynau dirifedi o feiau wedi eu cyflawni gan bob un o honom. Y mae un gadwyn yn ddigon i dy ddal mewn carchar tragywyddol. Damniwyd yr angylion am y trosedd cyntaf. "Yr angylion hefyd, y rhai ni chadwasant eu dechreuad, eithr a adawsant eu trigfa eu hun, a gadwodd efe mewn cadwynau tragywyddol dan dywyllwch, i farn y dydd mawr," Judas 8. Nid yw fod dy bechodau yn llai mewn rhifedi ac yn llai mewn maintioli yn un prawf dy fod wedi derbyn maddeuant, nac y derbyni faddeuant ychwaith.

(3.) Mae rhai yn credu eu bod wedi derbyn maddeuant am nad ydynt yn teimlo euogrwydd pechod yn gryf yn eu cydwybodau. "Y pechodau hyny ag sydd wedi eu cyflawni er ys llawer dydd, y mae yn rhaid fod yr Arglwydd wedi eu maddeu," ebe y dyn, "canys nid wyf yn clywed dim oddiwrthynt; nid wyf yn teimlo un euogrwydd o'u plegyd yn awr. Maent bron yn annghof, wedi eu claddu, yn gorwedd yn ddystaw yn y bedd; nid wyf yn clywed eu swn, nac yn meddwl nemawr am danynt; o ganlyniad y mae yn debyg na chlywir eu lleferydd hwynt byth mwyach." Nid yw dy fod di heb deimlo oddiwrthynt, fy nghyfaill, yn un prawf eu bod wedi eu maddeu a'u hannghofio gan yr Arglwydd, ond yn hytrach i'r gwrthwyneb; canys er nad ydwyt yn teimlo

yn awr, yr wyt yn sicr o ddyfod i deimlo cyn bo hir. Mae y diffyg teimlad hyn yn profi caledrwydd dy gydwybod, nid profi fod dy bechodau wedi eu maddeu. Amser, nid gwaed Iesu Grist, sydd wedi tawelu dy gydwybod di. Mae y tawelwch hwn yn ddrwg; mae y tawelwch yn waeth na'r ystorm, y goleu yn waeth na'r tywyllwch, yr hindda yn waeth na'r dryc-hin, y cysur yn waeth na'r gofid, y chwerthin yn waeth na'r wylo, y tangnefedd a'r dyogelwch yn waeth na'r anesmwythder a'r peryglon. Yr ydwyt yn dawel am eu bod wedi eu cyflawni er ys llawer o flynyddoedd, a phob peth yn ddystaw yn eu cylch; ond y maent i gyd ar y llyfrau, y maent heb eu croesi; byddant yn dy erbyn yn nydd y farn ddiweddaf. Fe fydd y Barnwr yn agor y llyfrau, ac yn eu darllen oll yn gyhoeddus, a byddi dithau yn cofio pob un o honynt y pryd hwn o'r newydd. "Hyn a wnaethost, a mi a dewais: tybiaist dithau fy mod yn gwbl fel ti dy hun: ond mi a'th argyhoeddaf, ac a'u trefnaf o flaen dy wyneb," Sal. 50. 21.

Nid yw yn un prawf fod troseddwr wedi cael maddeuant, am ei fod heb ei ddal. Mae y dyn sydd dan gondemniad heb ei ddienyddio eto; y mae y sesiwn heb ddarfod, ac y mae y diwrnod apwyntiedig heb ddyfod; fe ddaw hwnw; ac y mae yn rhaid iddo yntau farw, canys nid yw wedi derbyn rhyddhad. Yr oedd Israel wedi pechu trwy wneuthur y llo aur i'w addoli, ac yr oedd llawer yn meddwl fod Duw wedi maddeu, yn gymaint ag nad oedd wedi ymweled â'u pechodau yn uniongyrchol, eithr yr oedd yr amser heb ddyfod; nid oedd y llonyddwch hwnw yn brawf yn y byd o dderbyniad maddeuant. "A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Pwy bynag a bechodd i'm herbyn, hwnw a ddileaf allan o'm llyfr. Am hyny dos yn awr, arwain y bobl i'r lle a ddywedais wrthyt: wele fy angel a â o'th flaen di: a'r dydd yr ymwelwyf yr ymwelaf â hwynt am eu pechod. A'r Arglwydd a darawodd y bobl, am iddynt wneuthur y llo a wnaethai Aaron," Ex. xxxii. 33—35. Nid yw ychydig amser o ohiriad yn ddim, yn ymyl tragywyddoldeb Duw. Beth yw triugain mlynedd? Mae yn ymddangos yn hir yn ein golwg ni; ac yr ydym yn barod i feddwl am bechodau wedi eu cyflawni mor bell yn ol, eu bod wedi myned yn rhy hen i feddwl am danynt, a'u bod wedi eu llwyr annghofio. "Eithr yr un peth hyn na fydded yn ddiarwybod i chwi, anwylyd; fod un dydd gyda'r Arglwydd megys mil o flynyddoedd, a

mil o flynyddoedd megys un dydd," 2 Pedr iii. 8. Nid yw pechodau a gyflawnwyd er ys haner cant o flynyddoedd yn ol ond fel pe cyflawnasid hwynt heddyw, yn nghyfrif Duw. Nid yw yr amser sydd wedi myned heibio, neu yr hyn sydd heb ddyfod, yn ddim iddo ef. Edrychwch yn ol ar eich pechodau, ac edifarhewch yr awr hon fel y derbynioch faddeuant, onide daw pob un o honynt o flaen eich wynebau eto. Maent oll ar y llyfr, ac wedi eu "selio i fyny mewn côd." "Canys yr awr hon y rhifi fy nghamrau: onid wyt yn gwylied ar fy anwiredd?" Job xiv. 16. Mae yr Hollwybodol wedi selio eich pechodau i fyny erbyn dydd y prawf; a bydd yn y man yn agor y seliau, ac yn eich galw chwithau ger bron i gyfrif am danynt. Pan y gwelwyf *clerk* y llys yn y sesiwn yn tynu allan yr *indictments* o'r gôd, y rhai sydd yn cynwys llofruddiaeth yn erbyn un, lladrad yn erbyn y llall, a rhyw droseddau craill yn erbyn y nesaf, y mae yn peri i mi feddwl am yr adnod a adroddais: "Fy nghamwedd a seliwyd mewn côd." Yr oedd y cyhuddiadau yn nghôd clerc y sesiwn o'r blaen, eithr yn awr yw y diwrnod i'w tynu allan, a dyfod â'r troseddwr i'w hwyneb. *Here are the indictments; they are drawn out in open court, and you must appear to take your trial.*

Dyma y troseddwr yn cael ei ddwyn ger bron. Och, y mae yn edrych yn wyneb-drist ac yn grynedig. Eithr beth yw hyn at ddydd y farn ddiweddaf, y dydd y datguddir dirgeloedd dynion? Yr wyf bron yn llewygu, lawer diwrnod, wrth feddwl am "ddydd mawr ei ddigter ef." O Arglwydd, "pwy a ddichon sefyll?" Bechadur, y mae biliau ofnadwy yn dy erbyn yn nghôd Duw; y maent wedi eu selio i fyny, ond byddant yn cael eu tynu allan yn y dydd diweddaf, a'u darllen yn yr *open court*, yn ngwydd dynion ac angylion. Bu brodyr Joseph ddwy ar ugain o flynyddau cyn iddynt deimlo euogrwydd yn llosgi yn eu cydwybodau o herwydd y cam a wnaethant i'w brawd; yr oedd wedi myned yn hen beth, ac wedi myned heibio er ys llawer dydd, a'i suddo i fôr o annghof. Ond, fy nghyfeillion, y mae yr hen beth yn dyfod yn beth newydd; yr hyn a annghofiwyd yn dyfod eto yn awchus i'r cof, a'r hyn a gladdwyd mewn bedd tywyll yn cael ei adgyfodi yn fyw drachefn, ac yn sefyll o flaen eu hwynebau yn fwy nerthol nag erioed. Mae hen ddynion yn teimlo oddiwrth oferedd ieuenctyd, ac felly mae pechodau ieuenctyd yn dyfod yn gosp hen ddyddiau. Dydd y farn,

Och o'r diwrnod, fe fydd pob peth dirgel yn dyfod i'r amlwg, a phob peth hen yn dyfod i'r golwg o'r newydd. Bobl, diangfa! diangfa trwy waed y groes. Ffowch i gymeryd gafael yn y bywyd tragywyddol.

(4.) Y mae miloedd yn gorphwys yn dawel mewn pechod dan ddylanwad ffug-obaith yn nhrugaredd Duw. "Y mae Duw yn drugarog," medd y dyn, ac yn byw yn y blaen yn y pechodau mwyaf gwarthus. Mae yn ddigon gwir fod yr Arglwydd yn "Dduw trugarog a graslawn;" er hyny y mae yr un mor wir fod miloedd o bechaduriaid yn trengu yn eu pechodau. Felly y mae yn beth posibl i chwithau drengu hefyd; ac yr ydych yn sicr o drengu, os ewch yn y blaen mewn bywyd annuwiol, gan ffug-obeithio yn nhrugaredd Duw. Mae llawer yn dywedyd eu bod yn edifarhau, yn diwygio, ac yn ymddiried yn nhrugaredd Duw am faddeuant; fel pe bai edifeirwch, diwygiad, ac ymddiried yn Nuw yn ddigon, heb un cyfeiriad at aberth Crist, a gwaed y taenelliad, er glanhau a heddychu. Gellid meddwl, wrth y dosbarth hyn o bobl, nad oes yr un angenrheidrwydd am ddyfodiad Crist yn y cnawd, a marw ar y groes; neu nad oedd ei waith yn gyflawn, fod arnynt hwy eisiau ychwanegu ato trwy edifarhau a diwygio. Mae edifarhau a diwygio yn angenrheidiol; ond nid er mwyn hyny y derbynir maddeuant pechodau, eithr er mwyn teilyngdod y Gwr fu farw ar y pren. Edifarhewch a diwygiwch a fynoch; eithr ymddiriedwch yn yr aberth am waredigaeth oddiwrth bechod. Yr ydych yn siarad am drugaredd Duw; onid yw efe wedi rhoddi miloedd ar filoedd o drugareddau i chwi? Y mae Duw yn drugarog; ydyw, onide ni buasit ti yn fyw yr awr hon; buasit yn uffern er ys llawer o amser. Oni bai fod Duw yn drugarog, ni buasit heddyw yn mwynhau yr holl drugareddau rhagluniaethol yn nghanol dy bechodau haerllug a digywilydd. Ti fuasit yn ddall, yn gloff, yn fyddar, yn efrydd, yn wallgof, ac yn rheg. Trugareddau mawrion yr Arglwydd yw yr achos dy fod yn mwynhau dy synwyrau.

Y mae ei drugareddau tymhorol, fy nghyfeillion, yn galw am edifeirwch ger bron Duw, ac ymddiried yn Nghrist. Eithr yr ydych chwi wedi gwneyd cam-arferiad o'r trugareddau mawrion hyn; yr ydych wedi eu troi i wasanaethu melus-chwant, i feddwi, i ddylyn gwyl-mabsantau, i ymladd, ïe, i gyflawni "pob pechod yn un chwant." Fe allai fod y drugaredd am yr hon yr ydwyt yn siarad yn bresenol, nid yn

*pledio* am dy achub, eithr yn signio *death warrant* ar y fynyd hon, ac yn *pledio* ger bron Duw yn dy erbyn. Mae trugaredd ei hun wedi blino rhoi ychwaneg o drugareddau i ti i'w gwastraffu, a chodi rhyfel yn erbyn llywodraeth trugaredd yn y byd. Mae trugaredd yn dywedyd heddyw fe allai, O, fel yr ydwyf wedi fy ngham-arfer gan y dyn drygionus acw! pa fwyaf o drugareddau y mae yn gael, mwyaf byth o bechodau y mae yn eu cyflawni. "Tor ef i lawr," canys nid yw yn gwneyd dim ond "diffrwytho y tir." "A wyt ti yn diystyru golud ei ddaioni ef, a'i ddyoddefgarwch, a'i ymaros, heb wybod fod daioni Duw yn dy dywys i edifeirwch? Eithr yn ol dy galedrwydd a'th galon ddiedifeiriol, wyt yn trysori i ti dy hun ddigofaint erbyn dydd digofaint, a datguddiad cyfiawn farn Duw," Rhuf. ii. 4, 5.

Y mae trugaredd yn briodoledd felus, eto priodoledd rydd ydyw; nid yw o dan un rhwymau i ddangos trugaredd i ti nac i neb arall. Yr wyf yn siarad, cofiwch, nid â'r edifeiriol, ond â'r anedifeiriol yn bresenol, yr hwn sydd yn ymgaledu mewn pechod dan ffug-obeithio yn nhrugaredd Duw, gan bwyso arni yn ddychymygol, a hithau yn wirioneddol heb fod o dano. Mae llawer yn gwrthod cardod i gardotyn, nid am eu bod yn annhrugarog, ond fod rhyw bethau eraill yn fwy teilwng, ac yn galw am eu cymwynasgarwch ar y pryd. Nid yw hyn yn ddianrhydedd. Yr ydych yn siarad am drugaredd. Y mae yn rhaid i chwi dderbyn trugaredd yn ffordd Duw ei hun, trwy yr Arglwydd Iesu Grist, onide ni ddeuwch i'w gafael byth. Mae trugaredd hefyd, fy nghyfeillion, yn rhedeg ar hyd ffordd gyfiawn; nid gwiw siarad am dani ond ar hyd llwybrau cyfiawnder. Os gwnewch dderbyn trugaredd, rhaid i chwi ei derbyn trwy waed Iesu Grist, onide ni ddaw dafn o drugaredd gadwedigol i'ch rhan byth. Dyma y *channel* trwy ba un y mae trugaredd y Nefoedd yn llifo i bechadur euog; y mae yn rhedeg trwy fôr o waed. Gogoniant! Yr ydych chwi yn meddwl am drugaredd i dori awch y ddeddf foesol, yn rhyw beth cyffelyb i'r *court of chancery* yn esmwythau gerwindeb y *common law courts.* Na, fy nghyfeillion; trugaredd trwy Iesu Grist, neu ddim. Dyma weithred benaf trugaredd, oedd ethol Meichiau; a'r drugaredd uchaf y mae yn bosibl i ti gael byth yw derbyn y Meichiau hwnw yn wyneb cynygiad yr efengyl Yr olwg briodol ar drugaredd yw ei gweled yn ei holl weithredoedd yn dyfod oddiamgylch â gwaith mawr yr iachawdwriaeth. Mae hi yn

ymaflyd yn yr holl briodoliaethau, ac yn eu troi at ei gwasanaeth. Mae doethineb anfeidrol yn dyfod yn ogoneddus i'r golwg yn y darpariad o lwybr i weinyddu trugaredd i fyd truenus; yn cael llwybr i achub, heb i gyfiawnder gael cam. Eto nid oedd y ddoethineb anfeidrol hono yn gallu gweled un ffordd heb i'r Mab fod yn iawn dros ein pechodau ni. Yr oedd yn rhaid cael Meichiau, yr oedd yn rhaid dyfod Iesu Grist yn y cnawd, yr oedd yn rhaid marw ar y groes. Trugaredd anfeidrol yn Nuw oedd ymfoddloni danfon ei Fab i'r byd. Mae y drugaredd fawr hon, fy nghyfeillion, yn rhydd yn ei gweithrediadau. Peidiwch dysgwyl ffafr ond yn unig trwy gwympo i mewn i'w threfniadau. Mae yr Arglwydd yn "trugarhau wrth y neb y myno." O syndod, os yw trugaredd wedi fy achub i, a myned heibio fy ngwell; wedi fy uno i â Christ, a rhoddi sicrwydd maddeuant pechodau i mi, a miloedd bechodd lai wedi eu gadael! Y penaf o bechaduriaid wedi cael trugaredd. O syndod! Bendigedig byth am faddeuant. Yr wyf yn meddwl mai dyma yr olwg efengylaidd ar drugaredd Duw. Trugaredd "heb arian ac heb werth." Trugaredd rad, trwy Iesu Grist, i greadur colledig heb ddim i dalu. Gogoniant am y drefn!

"O drugaredd pen Calfaria, sydd yn llawer lled na'r byd;
Yma'n unig mae fy ngobaith sefyll mewn anfeidrol lid:
'Rwy'n ymwadu â'r oll a feddaf, ac yn addef 'fedda'i ddim;
Iesu ei hunan yw fy haeddiant, Iesu ei hunan yw fy ngrym."

Iesu yn bob peth am dragywyddoldeb. Mi a obeithiaf byth yn ei drugaredd anfeidrol. Dyma yr unig falm sydd yn gwella fy enaid tlawd, yr unig leferydd sydd yn tawelu yr ystormydd yn fy enaid terfysglyd. Gogoniant!

"When boisterous winds and stormy billows roar,
Disturb the deep, and rend the rocky shore;
The foaming seas in swelling mountains rise,
Forsake their caverns, and attempt the skies:
Ere long succeeds the placid calm serene,
And stops the progress of the frightful scene;
The rolling waves in gentle currents glide,
And softly murmur down the ebbing tide."

Llais fy Anwylyd yn unig sydd yn llefaru y gwynt a'r môr yn dawel. O Arglwydd, gâd i mi glywed dy lais.

"Come then, O still small whisper in my ear,
He has no hope, who never had a fear;
And he that never doubted of his state,
He may perhaps, perhaps he may too late."

Os ydyw trugaredd wedi maddeu i chwi, y mae hefyd wedi cymeryd ymaith lywodraeth pechod. Unwaith y rhoddo trugaredd lân ei llaw arnat, ni'th âd i ymdreiglo yn dy aflendid mwy. Mae dynion yn meddwl y gwna trugaredd Duw ryw lawer drostynt yn angau a'r farn, ac eto heb wneuthur dim ynddynt er eu glanhau oddiwrth bechod. Yr ydych yn camsynied. Os na lanheir chwi oddiwrth bechod, y mae yn amlwg na faddeuwyd eich pechodau, ac y byddwch chwi farw heb un drugaredd yn dragywydd. Yr ydych yn meddwl mai pethau tymhorol sydd i fod y cwbl yn awr, a phethau ysbrydol i fod y cwbl yn angau, ar ol i chwi fethu gwneyd dim ychwaneg â'r byd. Twyll i gyd yw hyn. Os nad yw trugaredd yn rhoddi maddeuant pechodau, a glanhad oddiwrthynt yn y byd hwn, ni wna ddim drosoch yn y byd a ddaw. A ydych yn meddwl fod y brenin yn maddeu i droseddwr, ac yn ei adael yn ei glwyfau yn y carchar wedi hyny, i farw yn ei glwyfau heb feddyg? neu i newynu o eisiau bwyd? Os yw Duw yn achub rhag uffern, ni âd efe i chwi bydru yn eich pechodau, a marw yn eich clwyfau. Pan y mae efe yn maddeu y mae yn iachau, yn golchi, ac yn rhyddhau y cadwynau oddiam y traed a'r dwylaw. "Gobeithio," ebe y dyn, "fod yr Arglwydd wedi maddeu i finau." Wel, fy nghyfaill, a gaf fi ofyn i ti, Beth arall y mae efe wedi ei wneyd i ti? A ydyw wedi dy wneyd i gasâu dy hen bechodau? Os nad ydyw, nid yw wedi eu maddeu ychwaith. A ydwyt yn ymddiried yn nhrugaredd Duw trwy Iesu Grist; nid yn ymddiried yn nhrugaredd Duw fel y bydd dynion yn gyffredin, gan ddywedyd, Y mae Duw yn drugarog, a phwyso yn ddychymygol ar hyny; eithr ymddiried yn wirioneddol yn nhrugaredd Duw, fel y mae yn cael ei egluro yn Nghrist. Gellwch dwyllo eich hunain yn hawdd yn y mater hwn, canys nid meddwl rhyw unwaith yn awr ac eilwaith am yr Arglwydd Iesu yw ymddiried yn Nghrist i fywyd tragywyddol. Nid rhyw feddwl hedegog am Grist, yn melltenu trwy yr enaid, neu fel dwfr yn rhedeg trwy ogr, ac heb ddim yn aros yno yn sefydlog, neu fel yr aderyn yn myned trwy yr awyr; eithr meddyliau arosol a chyson ar Fab Duw am iachawdwriaeth drwyddo.

Y mae achubiaeth eich eneidiau yn waith mawr iawn, ac yn cael ei gyflawni yn unig trwy gymhorth yr Ysbryd Glân, yr hwn sydd yn galluogi yr enaid i dori trwy bob rhwystrau i dderbyn yr Arglwydd Iesu, a rhodio ynddo. Mae y saint

yn byw yn Nghrist, a Christ ynddynt hwythau. Yn bwyta trwy ffydd gnawd Mab y dyn, a thrwy hyny yn derbyn maeth ysbrydol, fel y mae y corph yn cael cynaliaeth wrth fwyta yn naturiol. Maent hefyd yn yfed o'i waed ef, ac yn derbyn diwallrwydd i'w heneidiau, fel y bydd yfed yn disychedu y corph. "Fy nghnawd sydd fwyd yn wir, a'm gwaed sydd ddiod yn wir." Mae llawer yn foddlon i dderbyn Crist i'w rhyddhau o gadwynau tragywyddol, ond nid ei dderbyn fel priod i gyd-fyw byth mwy; nid oes gymaint o serch a chariad ato fel yr ewyllysiant ei dderbyn i'r fynwes yn gyfaill goreu. Eithr y rhai sydd yn ei dderbyn yn wirioneddol, y maent yn ei dderbyn i'w calonau; efe yw y goreu o bawb gan eu heneidiau; efe yw y Congl-faen gwerthfawr; efe yw y Ffrynd anwylaf; efe yw y Brawd ffyddlonaf; efe yw y Priod tyneraf. Gogoniant! y mae efe yn "rhagori ar ddeng mil." Yr wyf yn cofio clywed am wraig yn amser yr erledigaethau ar grefydd, wrth yr hon y dywedwyd, "Os na wedi di dy grefydd, ni gymerwn dy wr oddiwrthyt." "Na wnewch byth," meddai y wraig; "Crist yw fy Mhriod." Diolch. Dyma Briod na all neb byth ddatod yr undeb. Hyd angau yr ydym yn priodi, fel y gwyddoch, eithr nid "hyd angau" y priodasom yr Iesu, ond hyd dragywyddoldeb. Gogoniant! Dyma undeb na ddatodir byth. Dyma gariad na "chwymp byth ymaith." Aed mynydd Barlwn* i ganol y *Bristol Channel*, fe ddeil y cwlwm priodasol rhwng fy enaid â Mab Duw yn dragywydd. Bendigedig fyddo ei enw.

Nid yn aml y mae dynion fel yr apostol Paul i'w cael, yr hwn nad oedd am wybod dim "ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio;" pob peth arall yn ei fryd yn dom ac yn golled, ac ardderchawgrwydd gwybodaeth Crist Iesu yr Arglwydd wedi myned a'i serch yn llwyr. Nid oedd yn cyfrif dim yn *wir* werth ond Iesu Grist. Er ei fod wedi ei ddwyn i fyny yn anrhydeddus wrth draed Gamaliel, eto chwi welwch y mae yn taflu yr holl wybodaeth a gafodd wrth draed Gamaliel i lawr wrth draed Crist Iesu yr Arglwydd. Mae llawer yn troi eu cefnau ar Grist yn yr ystormydd a'r tywydd garw; nid ydynt yn gweled digon o werth yn ngoludoedd y Cyfryngwr i wneuthur i fyny am y colledion o herwydd ei ddylyn; am hyny y maent am gael Crist yn unig erbyn marw, a byw yn y byd i'r cythraul. Fel y morwr, yr hwn a ewyllysia fyned allan i'r môr ar dywydd teg, a dy-

* Mynydd uchel yn Sir Fynwy.

chwelyd i'r porthladd erbyn fod ystorm. Eithr y mae hyn yn anmhosibl. Ni wna morwr felly *voyage* byth. Mae yn rhaid hwylio er fod y gwynt a'r tonau yn wrthwynebus yn fynych. Gwell fyddai gadael y môr os na ellir myned trwy ystormydd a thymhestloedd, dan lynu wrth y llong. Mae yn rhaid "dyoddef llawer o bethau o herwydd enw yr Iesu o Nazareth;" ïe, ymadael â phob peth sydd yn agos atom weithiau; taflu dros y bwrdd hen gyfeillion, a hen arferion, a hen ddychymygion; ïe, ymadael â "thŷ dy dad, a'th dylwyth dy hun," a myned "trwy lawer o orthrymderau i mewn i deyrnas Dduw." Peidiwch dysgwyl y cewch fyned i'r nefoedd dan eich cario ar wely plyf. A ydyw Crist yn well genych na rhyddid, perthynasau, pechodau, bywioliaeth, ïe, na bywyd ei hunan? A ellwch chwi gredu yr hyn a ddywed yr Arglwydd Iesu? "Canys pwy bynag a ewyllysio gadw ei einioes, a'i cyll; ond pwy bynag a gollo ei einioes o'm hachos i, hwnw a'i ceidw hi," Luc ix. 24. Ië, fy nghyfeillion, gall credadyn gwirioneddol ganu mewn carchar os bydd Crist yno; ac y mae yn griddfan yn nghanol rhyddid y byd os na fydd ei Arglwydd gydag ef. Bydd anialwch yn baradwys os bydd Crist yno; a Chanaan yn anialwch hebddo. Gweddiwch am faddeuant pechodau trwy waed Crist, ac yna bydd eich "heddwch fel yr afon;" byddwch yn ddedwydd yn mhob man ond ei gael ef gyda chwi; mewn carcharau, mewn profedigaethau, mewn tlodi, mewn cyfoeth, mewn ystormydd ar y môr, ac mewn hindda ar y tir; yn y byd hwn ac yn y byd a ddaw. Gogoniant! byddwch yn ddedwydd yn mhob man.

Ceisiwch faddeuant pechodau, fy ngwrandawyr, canys sefyllfa ofnadwy yw myned i'r farn fawr a'ch pechodau heb eu maddeu. Pa beth ydych yn well o glywed am waed Crist, os na chewch ryddhad a glanhad trwyddo. Ni lesâ Crist i chwi, oddieithr i chwi ei dderbyn yn wirioneddol. Ni wna efe les i chwi farw mwy nag i fyw. Yr ydym ni yn pregethu Crist fel y byddo i chwi ddyfod at Grist, ac nid i'r dyben i beri i chwi feddwl fod dyfod i wrando am dano yn ddigon o grefydd. Yr ydym yn pregethu yn erbyn gweithredoedd da nid i'r dyben i chwi beidio eu gwneyd, eithr eich rhybyddio rhag pwyso arnynt. Ni ellwch foddloni Duw â diwygiad bywyd yn unig, mwy nag y boddlona *rent* chwarter y perchen tir pan y mae tair neu bedair blynedd yn ddyledus. Nis gall dyledswyddau presenol foddloni am bechodau presenol, a

gadael yr hen ddyled yn llonydd; canys y mae perffaith ufudd-dod yn ddyledus yn barhaus oddiwrthym. Eithr yr ydych chwi yn halogedig yn barhaus; nid oes gyda chwi ddim ond pechodau. Pechodau cyn y diwygiad, a phechodau lawer yn barhaus wedi y diwygiad; ïe, y mae y diwygiad ei hun yn sypyn o anmherffeithrwydd, ac yn llawn aflendid. Pechod yw y cwbl. Pechod yw y gweddiau, y canu, y cymuno, ïe, bratiau budron yw ein cyfiawnderau goreu. "Yr ydym ni oll megys peth aflan." Peidiwch wynebu ar gyfiawnder Duw yn eich bratiau budron; peidiwch ymddiried yn eich dyledswyddau a'ch cyflawniadau, onide chwi fyddwch oll wedi eich dinystrio yn dragywydd; byddwch dros eich penau yn y pwll diwaelod. Llefwch am faddeuant trwy farwolaeth ein Harglwydd Iesu Grist. Paham y cynygiwch ddyledswyddau i'r Goruchaf am dderbyniad eich personau i gymeradwyaeth ger ei fron? Y mae yn rhaid i'ch personau gael eu cymeradwyo yn gyntaf, mewn cyfiawnhad a maddeuant, yna eich dyledswyddau wedi hyny. Ffrwythau yw gweithredoedd, nid haeddiant. Yr oedd Abel yn gymeradwy yn gyntaf, yna ei aberth. Y person yn gymeradwy, yna y gweithredoedd: ac nid y dyledswyddau gyntaf, ac wedi hyny y person. Y dyn yn gyntaf, yna ei waith. Peidiwch â gosod y cert o flaen y ceffyl, fy nghyfeillion. Mae eich holl ddyledswyddau yn wrthodedig hyd nes byddo eich personau yn gymeradwy. Yr oedd yr apostol Paul yn ddifai mewn crefydd allanol; eithr pan ddaeth y goleu ysbrydol i dywynu ar ei achos, y mae yn gwaeddi allan fod y cwbl "yn dom ac yn golled." Nid ydyw gwaed Iesu Grist yn eich glanhau ond fel yr ydych yn derbyn maddeuant pechodau.

Os nad yw ymgnawdoliad, angau, ac eiriolaeth y Cyfryngwr yn *loadstone* i'ch tynu ato, bydd y pethau hyn fel *millstone* i rwymo am eich gyddfau i'ch suddo yn ddyfnach byth i uffern. *If Christ's death is not a loadstone to draw you to him, it will be a millstone to sink you for ever.* Os ydych heb faddeuant, pa fodd y gellwch edrych yn wyneb eich holl bechodau haerllug, a meddwl am yr holl bethau yr ydych wedi eu cyflawni? Pa beth yr ydych yn meddwl wneyd yn wyneb yr holl bethau hyn? Pa fodd y gellwch edrych yn ol ar fywyd anhywaith ac aflan? Pa fodd y gellwch edrych i chwi eich hunain, edrych ar galon frwnt, a chydwybod euog? Pa fodd y gellwch edrych i fyny ar Dduw digllawn yn hogi ei gleddyf? Pa fodd y gellwch edrych i lawr ar fedd

tywyll, a phwll diwaelod? Pa fodd y gellwch edrych yn y blaen ar "frenin y dychryniadau," Barnwr cyfiawn, a thragywyddoldeb diddiwedd? Pa fodd y gellwch edrych oddeutu, ar y deheu ac ar yr aswy, ar lewod ofnadwy sydd yn barod i'ch llyncu, heb ddychrynu? O sefyllfa ofnadwy! Diangfa, diangfa, fy ngwrandawyr.

Pa fodd, bechaduriaid anedifeiriol, y gellwch edrych ar angau, yr hwn fydd yn eich rhwygo yn llaprau, yn datod enaid a chorph oddiwrth eu gilydd, ac euogrwydd dy bechodau heb eu symud? Pa fodd y gelli feddwl am y bedd, a meddwl y bydd dy gorph wedi ei gladdu ynddo cyn y cleddir dy bechodau yn ngwaelod y môr? Pa fodd y gelli edrych ar y farn, y dydd ofnadwy hwnw, a meddwl y byddi yn sefyll i dderbyn y ddedryd ddychrynllyd, "Ewch oddiwrthyf, chwi rai melldigedig, i'r tân tragywyddol." Pa fodd y gellwch feddwl am uffern, a meddwl am ddyoddef poen tragywyddol? Och! pwy na waedda yn groch uwch ben sefyllfa mor ddychrynllyd a hon, Diangfa! Pa fodd y gellwch edrych Duw yn ei wyneb, yr hwn sydd yn casâu pechod? Pa fodd y gellwch ddarllen am ei briodoliaethau, a meddwl am ei fygythiadau? Y mae holl briodoliaethau y Jehofah yn erbyn pechadur anedifeiriol. Mae y gyfraith danllyd yn cyhoeddi â llef uchel, "Melldigedig yw pob un nid yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf, i'w gwneuthur hwynt. Ac ni chyfiawnheir neb trwy y ddeddf ger bron Duw, eglur yw," Gal. iii. 10, 11.

Y mae hollwybodaeth Duw yn dy erbyn. Mae dy gymydog yn gwybod llawer am danat; y mae dy galon dy hun yn gwybod ychwaneg; eithr y mae Duw yn gwybod y cwbl; a daw hyny i gyd yn dy erbyn yn y farn ddiweddaf. "Myfi yr Arglwydd sydd yn chwilio y galon, yn profi yr arenau, i roddi i bob un yn ol ei ffyrdd, ac yn ol ffrwyth ei weithredoedd." "Oblegyd os ein calon a'n condemnia, mwy yw Duw na'n calon, ac efe a ŵyr bob peth;" Jer. xvii. 10; 1 Ioan iii. 20. Y mae ei santeiddrwydd yn eich erbyn. Mae efe yn casâu drygioni gyda'r atgasrwydd mwyaf. "Ydwyt lanach dy lygad nag y gelli edrych ar ddrwg, ac ni elli edrych ar anwiredd," Hab. i. 13. Mae cyfiawnder Duw yn eich erbyn, ac yn eich bygwth â dystryw byth. Oni ddychwelwch, fe syrth y cleddyf arnoch; y mae efe yn ei hogi er ys llawer dydd. O am ymlapio yn nghyfiawnder yr Arglwydd Iesu, i gyfarfod â'r Duw cyfiawn ar y fainc! Mae Duw hollalluog

yn eich erbyn. Pa fodd y gall llestr pridd oddef yr ergyd lleiaf gan wialen haiarn yr Arglwydd hollalluog? Pa fodd y dichon sefyll o flaen corwynt ei ddigofaint? Pa fodd y gall sofl sych "breswylio gyda'r llosgfeydd tragywyddol?" Mae hollbresenoldeb yn eich erbyn. "I ba le y ffowch am gynorthwy?" i ba le y gellwch fyned? i ba le y diengwch? Y mae annghyfnewidioldeb yn eich erbyn. Ni bydd griddfanau, ac ocheneidiau, a rhincian danedd yn uffern yn gwneyd un effaith ar ddedryd Duw annghyfnewidiol; yr hyn a benderfynwyd a benderfynwyd; mae y ddedryd yn annghyfnewidiol. Mae tragywyddoldeb Duw yn eich erbyn. Bydd yn rhaid i chwi fodoli cyhyd a Duw, a bydd hyny yn oes oesoedd. Pa fodd, fy ngwrandawyr, y gellwch feddwl am gosp dragywyddol, ac y gellwch edrych am dreulio tragywyddoldeb o dan lid a digofaint Duw mewn carchar diddiwedd? "Peth ofnadwy yw syrthio i ddwylaw y Duw byw!" Mae yn rhaid fod pob meddwl am Dduw yn ofnadwy i bechaduriaid anedifeiriol. Eithr os ydych wedi derbyn maddeuant pechodau, bydd Duw yn ei holl briodoliaethau santaidd yn blaid i chwi. "Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhau. Pwy yw yr hwn sydd yn damnio?" O Arglwydd, maddeu bechodau y bobl hyn, onide y maent wedi eu hanafu am byth.

Pe baech yn gofyn, "I bwy y mae Duw wedi maddeu?" yr wyf yn arswydo ateb y cwestiwn; canys yr wyf yn ofni mai ychydig sydd wedi derbyn maddeuant, mewn cymhariaeth i'r dorf fawr sydd yn ei wrthod. Yr wyf yn ofni fod y rhan fwyaf hyd yn hyn heb eu "rhyddhau oddiwrth bechod." Mae llawer iawn o gamsyniadau yn bod, fy nghyfeillion, yn nghylch maddeuant pechodau. Y Duw mawr a'n gwaredo rhag camsyniadau, a chymeryd seiliau annghywir i orphwys arnynt. Tra byddwyf yn gwneyd rhai sylwadau ar y profion gwirioneddol o faddeuant pechodau, gobeithio y gwna Ysbryd Duw, trwy y weinidogaeth, ddywedyd wrth lawer fel y dywedodd Crist wrth y claf o'r parlys, "Maddeuwyd i ti dy bechodau." A gwyn fyd y dyn hwnw glyw yr hyfrydlais hyn yn ei galon. Mae yr Ysbryd Glân yn tystiolaethu; a bydded i chwi nid yn unig glywed â'ch clustiau, ond teimlo arwyddion maddeuant yn eich calonau. Yn awr, ni gawn nodi rhai pethau ag sydd yn arwyddion o faddeuant.

1. Y mae galwad yr efengyl mewn modd effeithiol yn tueddu y galon at Dduw yn Nghrist, yn arwydd sier o faddeuant. "Y rhai a ragluniodd efe, y rhai hyny hefyd a

alwodd efe; a'r rhai a alwodd efe, y rhai hyny hefyd a gyfiawnhaodd efe; a'r rhai a gyfiawnhaodd efe, y rhai hyny hefyd a ogoneddodd efe," Rhuf. viii. 30. Mae cyfiawnhad a maddeuant yn cael eu cynwys yn eu gilydd; a phan siaredir am y naill, y mae y llall yn cael ei dybio. Felly y rhai a gyfiawnhaodd efe, y maddeuodd efe iddynt: a dyma y rhai a alwyd yn effeithiol gan yr Ysbryd Glân trwy yr efengyl. Y mae galwad yn brawf o gyfiawnhad a maddeuant. Galwedigaeth yw yr ail *link* yn nghadwen auraidd iachawdwriaeth. Y *link* gyntaf yw rhagwybodaeth Duw yn rhaglunio; yr ail, galwedigaeth; y drydedd, cyfiawnhad; a'r olaf, gogoneddiad. Mae galwedigaeth rhwng rhagluniaethiad a chyfiawnhad, yn cydio y ddwy wrth eu gilydd. Os ydych wedi eich galw yn effeithiol, yr ydych wedi eich rhagluniaethu i fabwysiad, ac yr ydych wedi eich cyfiawnhau, ac yr ydych wedi derbyn maddeuant pechodau. Y mae galwad yn brawf o ragluniaethiad er tragywyddoldeb, ac o ogoneddiad i dragwyddoldeb.

Y mae y cwbl, fel y gwelwch, wedi eu hasio wrth eu gilydd yn nghadwen auraidd trefn iachawdwriaeth. Mae llawer yn dysgwyl cyfiawnhad a maddeuant, ac heb ddysgwyl y *link* arall yn y gadwen; sef galwedigaeth oddiwrth bechod. Mae y beiau heb eu maddeu, os nad ydwyt wedi teimlo rhyw beth yn ngalwedigaeth yr efengyl yn ddigon i beri ti "ymadael ag annghyfiawnder." "Canys y rhai a alwodd efe, y rhai hyny hefyd a gyfiawnhaodd efe." "Eithr pa beth yw galwedigaeth?" meddwch chwi; "a pha fodd y gallaf ddyfod i wybod a ydwyf wedi fy ngalw ai peidio?" Mae hwn yn gwestiwn o bwys mawr, yn gymaint a bod y cwbl yn troi arno. "O herwydd paham yn hytrach, frodyr, byddwch ddiwyd i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr; canys tra fyddoch yn gwneuthur y pethau hyn, ni lithrwch chwi ddim byth. Canys felly yn helaeth y trefnir i chwi fynediad i mewn i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist," 2 Pedr i. 10, 11. Unwaith y gwnewch eich *galwedigaeth* yn sicr, gellwch fod yn sicr o bob peth wedi hyny. Mae rhagluniaethiad a galwedigaeth yn cael eu rhoddi wrth eu gilydd yn dorchrwy wrth dorchrwy. Y mae etholedigaeth yn sicr gyda Duw; eithr galwedigaeth yw y peth cyntaf gyda ni; ac felly, rhaid i ni ddylyn pob peth yn y blaen oddiwrth alwedigaeth. Mae Duw yn myned oddiwrth etholedigaeth at alwedigaeth; ond y mae yn rhaid i'r saint fyned oddiwrth alwedigaeth at ethol-

edigaeth. Gwnewch eich galwedigaeth yn sicr, ac yna yr ydych yn gwneyd eich etholedigaeth yn sicr; yr ydych yn dyfod i wybod eich bod wedi eich ethol cyn seiliad y byd. Yr ydych yn gwneyd hefyd eich cyfiawnhad a'ch maddeuant yn sicr; ac yn gwneyd eich gogoneddiad ar ol i'r byd ddybenu yn sicr; yr ydych yn gallu sefyll yn ymyl galwedigaeth, ac yn medru gwneyd pob peth tragywyddoldeb ac amser yn sicr. Yr ydych yn gallu darllen y llyfr yn ol ac yn mlaen.

Y mae galwedigaeth allanol a thu mewnol. Mae yr Arglwydd yn galw yn allanol wrth y glust trwy enau ei weision, y rhai a ddanfonir i bregethu yr efengyl i bechaduriaid. Dylech edrych y tu hwnt i'r dyn sydd yn traddodi, canys llais Duw wrth ddynion ydyw. Galwad fawr y nefoedd ar ol y meddwyn, y torwr Sabbathau, y masweddwr, yr ymladdwr, ïe, y penaf o bechaduriaid. Galwad ar bechaduriaid i edifeirwch yw efengyl Duw. "Edifarhewch a dychwelwch." Trowch oddiwrth eich ffyrdd drygionus. "Gadawed y drygionus ei ffordd, a dychweled at yr Arglwydd, ac efe a gymer drugaredd arno; ac at ein Duw ni, o herwydd efe a arbed yn helaeth." Pechod ofnadwy yw gwrthryfela yn erbyn, a gwrthod gwrando galwad yr efengyl. Nid yw eich analluogrwydd yn un esgus; eich gwendid chwi yw diffyg ewyllys a chariad; eich casineb a'ch gelyniaeth at y gwrthddrych sydd yn galw. Mae genych ewyllys a gallu pan y'ch gelwir i wneyd rhyw beth yn erbyn Duw. Mae dyn yn caru y tafarndy, y dawnsiau, y *balls*, y cardiau; ïe, yn "caru y creadur yn fwy na'r Creawdwr." "Ni fynwch ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd." Analluogrwydd moesol, nid naturiol, yw hwn. Yr ydych yn dysgwyl i Dduw eich gwrando yn awr angau, pan y byddwch yn galw arno yn eich cyfyngderau; eithr ni wrandewch arno ef yn awr pan y mae yn galw arnoch beunydd trwy yr efengyl. Bydd yr Arglwydd wedi darfod galw arnoch chwi pan y byddwch chwi yn dechreu galw arno ef. "Yn gymaint ag i mi eich gwahodd, ac i chwithau wrthod; i mi estyn fy llaw, a neb heb ystyried. Ond diystyrasoch fy holl gynghor i, ac ni fynech ddim o'm cerydd; minau hefyd a chwarddaf yn eich dialedd chwi; mi a wawdiaf pan syrthio arnoch yr hyn yr ydych yn ei ofni; pan ddel arnoch yr hyn yr ydych yn ei ofni megys dystryw, ac y del eich dialedd arnoch megys corwynt; a dyfod arnoch wasgfa a chaledi: yna y galwant arnaf, ond ni wrandawaf; yn foreu y'm ceisiant, ond ni'm cânt. Canys cas fu ganddynt wybodaeth;

ac ofn yr Arglwydd ni ddewisasant. Ni chymerent ddim o'm cynghor i; dirmygasant fy holl gerydd," Diar. i. 24—30. Mae yr alwad gyffredinol hon yn cael ei heffeithioli gan yr Ysbryd Glân, fel y mae yn alwad nid yn unig wrth y glust, ond hefyd yn y galon. Mae llawer o'r rhai sydd wedi eu galw i ffydd ac edifeirwch yn syrthio yn barhaus i golledigaeth dragywyddol; eithr nid neb ag sydd wedi eu galw gan Ysbryd Duw yn effeithiol.

Y mae lle i feddwl nad yw yr Arglwydd yn danfon yr alwad allanol, pregethiad yr efengyl, i le heb fod yno rai i'w hachub yn dragywydd. Lle bynag y mae efe yn danfon yr efengyl, y mae seiliau da i gredu fod eneidiau lawer yn y lle hwnw i'w hachub. Yr oedd yn rhaid iddo fyned trwy Samaria nid yn unig am nad oedd un ffordd arall i fyned mor gymhwys, ond hefyd yr oedd hen butain, a llawer eraill gyda hi, i'w hachub yn y daith hono. Ni oddefai ysbryd yr Iesu i'r apostolion fyned i ryw leoedd. "Ac wedi iddynt dramwy trwy Phrygia a gwlad Galatia, a gwarafun iddynt gan yr Ysbryd Glan bregethu y gair yn Asia; pan ddaethant i Mysia, hwy a geisiasant fyned i Bithynia; ac ni oddefodd yr Ysbryd iddynt," Act. xvi. 6, 7. Eithr y rhai y mae efe yn meddwl eu hachub i fywyd tragywyddol, y mae yn dyfod atynt yn gyntaf â galwad allanol yr efengyl, ac wedi hyny â galwad tu mewnol yr Ysbryd Glân, trwy yr efengyl, yr hon sydd yn anwrthwynebol; er hyny y mae yn alwad mwyn a melus, heb ddim trais; yn gweithio ynoch "ewyllysio a gweithredu." "Dy bobl a fyddant ewyllysgar yn nydd dy nerth." Llef rymus yr Ysbryd Glân sydd yn gwneyd yr efengyl yn effeithiol yn y galon i fywyd tragywyddol, canys y mae yn llefaru nid yn unig wrth y glust, ond hefyd wrth y galon. Mae efe yn gwneyd y pethau a wrandawyd lawer gwaith o'r blaen yn ddifudd, yn effeithiol yn awr er achubiaeth i fywyd tragywyddol. Mae argyhoeddiad yn dyfod adref at y galon, goleu yn tywynu gyda'r efengyl, yr Ysbryd Glân yn ymresymu â'r meddwl, ac yn dywedyd, "Ystyria, yr ydwyt yn teithio oddiwrth Dduw, yn ymadaw â llwybrau bywyd tragywyddol, yn gŵyro oddiwrth ffyrdd santeiddrwydd tua dystryw a cholledigaeth; tro dy wyneb yn ol, onide byddi yn mhlith cythreuliaid yn fuan." "A'th glustiau a glywant air o'th ol yn dywedyd, Dyma y ffordd, rhodiwch ynddi, pan bwysoch ar y llaw ddeheu, neu pan bwysoch ar y llaw aswy," Esay xxx. 21. Fe allai ei fod wedi clywed pregethu ganoedd o weithiau cyn

clywed "gair o'i ol yn dywedyd." Nid effaith ymresymu yw hyn, fy nghyfeillion, a dyn yn perswadio dyn; ond nerth a gallu Ysbryd yr Arglwydd yn cymhwyso y gwirionedd i fywyd tragywyddol. Llais ydyw sydd yn creu o'r newydd, yn rhoddi bywyd i eneidiau meirwon, ac yn rhoddi calonau i wrando a chredu. "Deuwch ataf fi," medd y pregethwr wrth y glust: "Deuwch ataf fi," medd Duw yn llais y pregethwr wrth y galon. Mae effeithioldeb yn y llais, ac y mae yn peri i'r enaid ufuddhau a dywedyd, "Wele fi yn dyfod atat;" ac y mae yn dyfod gyda chalon grynedig, fel Saul, ac yn gofyn, "'Arglwydd, beth a fyni di i mi wneuthur?' Nid wyf yn meddwl gofyn byth mwy, "Beth a fyn pechod a satan i mi wneuthur; yr wyf wedi ufuddhau iddynt hwy yn ddigon hir; ond, Beth a fyni di i mi wneuthur?" "Ffyrdd hyfrydwch yw ei ffyrdd" ef. Cyn hyn yr oedd y dyn yn byw mewn meddwdod, godineb, halogi Sabbathau, ïe, yn mhob aflendid. Y byd presenol oedd gwrthddrych ei addoliad. Eithr pan glywodd y llais, taflodd y cwbl ymaith, fel cadachau aflan, fel tom a cholled, gyda llid a digofaint, gan ddywedyd, "Ymaith, satan." Pan y mae y pregethwr yn codi ei lais yn erbyn drwg pechod, y mae rhyw bechadur tlawd yn clywed llais dirgel heblaw llais y pregethwr, nes y mae yn teimlo awydd i fwrw ymaith ei bechodau anwylaf fel y pethau ffieiddiaf. Mae llef ddystaw fain yn sibrwd yn y galon heb yn wybod i neb yn y capel. Dyma y cyfryw ag sydd yn gweled yr angenrheidrwydd o Grist, ac yn ffoi ato am fywyd.

Y mae pechaduriaid yn dyfod at Grist o dan wahanol oruchwyliaethau. Mae rhai yn cael eu tynu a'u denu â chariad, ac yn dyfod ato yn obeithiol ac yn hyderus; ac y mae eraill fel pe byddent yn cael eu gyru mewn ofn a dychryn, gan daranau a bygythion Sinai. Er hyny y mae y naill a'r llall yn ufuddhau, ac yn dyfod ato. Y mae galwad Duw yn effeithio ufudd-dod yn yr ewyllys, fel ag y mae y dyn yn ffurfio penderfyniad i ufuddhau i holl ewyllys yr Arglwydd, er y gall hyny fod yn hollol groes i'w ewyllys ei hun. Mae y creadur yn cael ei ddwyn, fel Samuel bach, i ufuddhau o herwydd fod yr Arglwydd yn dweyd. "Llefara, Arglwydd; canys y mae dy was yn clywed;" gâd i mi ddeall dy ewyllys, a mi a'i gwnaf, beth bynag ydyw. Mae parodrwydd yn y rhai oll sydd yn galw ar Dduw am gymhorth, i ufuddhau iddo yn yr holl bethau a ddywedo efe wrthynt. Mae y parodrwydd

hyn i ufudd-dod yn un o'r profion goreu o alwad sylweddol, ac o faddeuant pechodau.

Mae y rhai sydd wedi eu galw yn effeithiol gan Dduw, yn gyfryw ag sydd yn galw ar Dduw: mae y naill yn galw ar y llall. Mae yr Arglwydd yn galw arnynt hwy, ac yn yr alwad yn rhoddi tuedd ynddynt i ateb. Felly, fy nghyfeillion, y mae Duw a'r credadyn yn siarad â'u gilydd; efe trwy yr efengyl yn siarad â hwy, a hwythau mewn gweddi yn siarad ag ef. Galw am alw. Etholedigaeth am etholedigaeth. Hwy yn galw ar Dduw, am iddo ef eu galw hwy yn gyntaf; hwy yn ethol Duw, am i Dduw eu hethol hwynt o'r dechreuad. Efe yn eu hethol hwynt yn bobl, hwythau yn ei ethol yntau yn Dduw. Maent hwy yn eiddo ef trwy ddewisiad, ac y mae efe yn eiddo hwynt trwy ddewisiad. Mae efe yn eu gogoneddu hwy, ac y maent hwy yn ei ogoneddu ef. Y mae efe yn dewis yr enaid o'r byd, ac y mae yr enaid yn ei ddewis yntau o flaen ac uwchlaw pob peth sydd yn y byd. "Pwy sydd genyf fi yn y nefoedd ond tydi? ac ni ewyllysiais ar y ddaear neb gyda thydi," Sal. lxxiii. 25. Mae yr enaid yn ateb Duw fel y mae adsain yn ateb llais. Mae yr Arglwydd yn gosod ei serch ar yr enaid, ac yn dywedyd wrtho, "Mi a'th ddewisaf yn eiddo i mi fy hun;" mae yr enaid yntau yn gosod ei galon arno yntau, ac yn dywedyd, "Mi a'th ddewisaf yn Dduw i mi byth." Mae yr Arglwydd yn galw ar yr enaid i fyw iddo yn y byd, ac y mae yr enaid yn galw ar Dduw am gymhorth a help. Felly, fy nghyfeillion, ni a welwn fod y rhai oll sydd wedi derbyn maddeuant pechodau wedi eu galw hefyd i fod yn saint.

2. Y rhai y mae yr Arglwydd yn maddeu eu pechodau, y mae hefyd yn derbyn i gyfamod ag ef ei hun. Mae pawb sydd wedi derbyn maddeuant mewn undeb cyfamodol â Duw. Mae efe yn dyfod â'r maddeuedig oll i "rwym y cyfamod;" canys ffrwyth dewisiad y cyfamod gras yw maddeuant pechodau. "Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel; Dywedant eto y gair hwn yn ngwlad Judah, ac yn ei dinasoedd, pan ddychwelwyf eu caethiwed hwynt; Yr Arglwydd a'th fendithio, trigfa cyfiawnder, mynydd santeiddrwydd. Wele y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, y gwnaf gyfamod newydd â thŷ Israel, ac â thŷ Judah: nid fel y cyfamod a wnaethum â'u tadau hwynt, yn y dydd yr ymaflais yn eu llaw hwynt, i'w dwyn allan o dir yr Aipht (yr hwn gyfamod a ddarfu iddynt hwy ei ddyddimu, er fy mod yn briod iddynt,

medd yr Arglwydd). Ond dyma y cyfamod a wnaf fi â thŷ Israel; Ar ol y dyddiau hyny, medd yr Arglwydd, mi a roddaf fy nghyfraith o'u mewn hwynt, ac a'i hysgrifenaf hi yn eu calonau hwynt; a mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau fyddant yn bobl i mi. Ac ni ddysgant mwyach bob un ei gymydog, a phob un ei frawd, gan ddywedyd, Adnabyddwch yr Arglwydd: o herwydd hwynt-hwy oll, o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf o honynt, a'm hadnabyddant, medd yr Arglwydd; oblegyd mi a faddeuaf eu hanwireddau, a'u pechod ni chofiaf mwyach," Jer. xxxi. 23, 31, 32, 33, 34. "Mi a dderbyniaf yn gyntaf i gyfamod, ac yna rhoddaf iddynt brawf o'r ffrwyth melus, sef maddeuant pechodau: 'eu pechodau ni chofiaf mwyach.'" Er eich bod wedi tori y cyfamod cyntaf, y mae efe yn eich galw i'r ail gyfamod; er eich bod wedi gwrthryfela, y mae efe eto yn foddlon i'ch cyfarfod, maddeu eich holl bechodau, a bod yn Dduw i chwi byth mewn cyfamod newydd. Nid "gwna hyn a byw fyddi," yw y cyfamod hwn; eithr "bydd fyw, a gwna hyn."

Y mae y cyfamod gras yn rhoddi nerth i ufuddhau. Mae addewid o nerth gyda phob gorchymyn. "A gwnaf i chwi fyned dan y wialen, a dygaf chwi i rwym y cyfamod," Ezec. xx. 37. Nid yn unig y mae efe yn Dduw i chwi, ond hefyd yr ydych chwi yn bobl iddo yntau; yr ydych chwi ac yntau wedi eich rhwymo mewn cyfamod i'ch gilydd am byth. A ydych yn teimlo eich hunain yn foddlon i gymeryd eich rhwymo yn holl rwymau y cyfamod i Dduw? Fod y cwbl feddwch chwi i fod yn eiddo Duw, at ei ewyllys a'i wasanaeth bob amser; eich talentau, eich doniau, eich synwyrau, eich amser; ïe, yr oll sydd eich yn meddiant yn gysegredig i'r Arglwydd a'i waith. O drueni yr anedifeiriol! O drueni y dyn sydd heb dderbyn maddeuant! canys nid yw efe, na dim sydd yn perthyn iddo, mewn cyfamod â Duw. O Arglwydd, yr wyf yn penderfynu y cei di fod yn Dduw i mi byth mewn cyfamod heddwch. Yr wyf yn gosod fy llaw heddyw o'r newydd wrth y cytundeb; yr wyf yn foddlon i'r telerau. Yr wyf yn taro fy llaw yn dy law di, i gadarnhau yr hen fargen o'r newydd. Cei fod yn Dduw i mi, byddaf finau yn bob peth ag y gallaf i tithau. Ti gei fy nghalon, ti gei fy nghorph, ïe, ti gei y cwbl feddwyf. Bydded dy drugaredd yn eiddof finau; ïe, tydi dy hunan yn eiddof byth: dyna ddigon. Diolch. Dyma ddigon i rai heb ddim; digon mewn amser, a digon i bob tragywyddoldeb. "Myfi a fyddaf yn Dduw i

chwi." Bendigedig! Minau a fyddaf yn ddyn i tithau; dyna fargen am byth. Yr wyf yn trosglwyddo fy enaid a fy nghorph i dy ddwylaw yn oes oesoedd; cymer ofal am danaf, a gwnaf finau fy ngoreu gyda dy achos mawr ar y ddaear. Os ydych yn teimlo rhyw beth fel hyn, fy nghyfeillion, "cymerwch gysur, maddeuwyd i chwi eich pechodau."

3. Y mae maddeuant pechodau yn eich trosglwyddo o deyrnas satan i deyrnas anwyl Fab Duw. Yn lle bod yn weision pechod, yr ydych wedi eich gwneyd yn weision i gyfiawnder. Yn lle bod yn ddeiliaid i ddiafol, yr ydych yn filwyr o dan faner yr Iesu. "Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni. "Yr hwn a'n gwaredodd ni allan o feddiant y tywyllwch, ac a'n symudodd i deyrnas ei anwyl Fab: yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau," Col. i. 12, 13. Y pethau sydd yn anwyl gan Dduw sydd yn dyfod yn anwyl hefyd gan y pechadur, wedi derbyn maddeuant. Mae anwyl Fab Duw yn dyfod yn anwyl Geidwad iddo yntau. "Fy anwyl Fab," medd Duw; "fy anwyl Waredwr, fy anwyl aberth, fy anwyl waed," medd y pechadur. Diolch. Dyma gymod rhwng enaid tlawd a Brenin cyfiawn, yn ei anwyl Fab. Mae y pechadur yn dewis y Brenin newydd, y cyfreithiau newydd, y deyrnas a'r llywodraeth newydd. Ni wna wasanaethu yn nheyrnas y tywyllwch yn hŵy. "Cymerwch gysur," canys y mae hyn yn arwyddo eich bod wedi derbyn maddeuant pechodau. Mae newid teyrnas yn bod, symud o un wlad i'r llall, pan y mae maddeuant yn cael ei weinyddu. Crist gaiff fod fy Mrenin bellach; ei gyfreithiau gaiff lywodraethu fy nghalon, ei deyrnwialen gaiff lywyddu yn fy enaid; ni chaiff fy hen bechodau a fy hen opiniynau lywodraethu byth mwyach. Iesu, eistedd ar orsedd fy nghalon, a bydded i dy arferion, dy esiamplau, a dy eiriau fod yn ddeddfau i mi byth mwy. Oh, yr wyf yn hiraethu clywed y lleferydd yn dywedyd uwch ben y ddaear, "Aeth teyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef." Os yw Crist yn byw ynoch, os yw ei eiriau yn llywodraethu y galon, ac yn rheol eich ymarweddiad, y mae "teyrnas Dduw o'ch mewn chwi;" gellwch gymeryd cysur, canys maddeuwyd i chwi eich pechodau.

4. Y mae holl roddion Duw yn gynwysedig mewn maddeuant. Pan y mae efe yn maddeu yr holl bechodau, y mae yn cyfranu yr oll a fedd yn yr un weithred hono. Mae yn

rhoddi ei Ysbryd i'r dyben i beri deall dirgelion y deyrnas, ac i beri deall llwybr maddeuant. Mae yr Ysbryd yn ysgrifenu y gyfraith yn y galon, ac yn planu tuedd santaidd yno hefyd yn gydweddol â'r gyfraith. Y mae y galon a'r gyfraith yn dyfod yn ddau gopi o'r un peth; ac yn cytuno â'u gilydd yn mhob iot a thipyn. Nid yw y dyn yn gwneuthur gorchymynion Duw mwyach yn unig o herwydd fod hyny yn ddyledswydd ac yn angenrheidrwydd, ond hefyd am fod hyny yn bleser ac yn hyfrydwch y natur newydd. Pan y mae Duw yn maddeu troseddiadau yn erbyn y gyfraith, mae hefyd yn rhoddi y gyfraith hono yn anian yn yr enaid; yn ei hysgrifenu hi yn y galon, fel na throsedder hi rhagllaw. Mae yr Arglwydd â'i fys ei hun yn ysgrifenu y gyfraith santaidd ar y galon, fel y gwnaeth ar y llechau i Moses gynt; ac er na fydd y llythyrenau mor amlwg ag y dymunem yn aml, eto y mae yno deimlad hapus o faddeuant yn aml. Cofiwch, fy nghyfeillion, fod puro a glanhau yn canlyn maddeuant bob amser, nid maddeu a phechu yw y drefn, ond maddeu a chilio oddiwrth ddrwg. "A mi a'u puraf hwynt oddiwrth eu holl anwiredd a bechasant i'm herbyn, a mi a faddeuaf iddynt eu holl bechodau, trwy y rhai y pechasant i'm herbyn, a thrwy y rhai y troseddasant yn fy erbyn," Jer. xxxiii. 8. Y mae "iachau yr holl lesgedd" bob amser yn canlyn "maddeu yr holl anwireddau." Mae maddeuant a glanhad yn wastad yn myned yn nghyd, law yn llaw, i bob man. Os ydych am wybod yn nghylch y maddeuant, edrychwch at y glanhad, canys nis gellwch ddarllen y cyntaf ond yn ngoleu y diweddaf. Mae y ddau hyn wedi eu cysylltu gan Dduw; nid oes yr un o honynt byth yn myned i un man heb y llall; "am hyny yr hyn a gysylltodd Duw, na wahaned dyn." Mae yr Arglwydd fel Duw rhagluniaeth yn rhoddi cyfoeth, iechyd, ac anrhydedd i lawer, ac heb roddi maddeuant pechodau iddynt. Eithr nid yw efe yn rhoddi tuedd i'w garu i neb heb faddeu eu pechodau, a'u rhyddhau byth. Mae y naill yn effaith y llall; am hyny y mae yn anmhosibl fod un heb y llall. Os ydych yn caru Duw, yn caru purdeb, yn hiraethu bod yn lân, cymerwch gysur, maddeuwyd i chwi eich pechodau.

5. Y mae Duw, wrth faddeu i droseddwr, yn gosod yr anrhydedd penaf arno. Mae y rhai y maddeuwyd iddynt eu pechodau yn dyfod yn greaduriaid gogoneddus yn ngolwg Duw gogoneddus, ac angylion gogoneddus. Er nad ydynt yn ogoneddus yn eu golwg eu hunain, eto y maent hwythau

yn gweled gogoniant mewn eraill ag sydd ag arwyddion arnynt fod eu pechodau wedi eu maddeu. Nid yw y byd tywyll yn gweled dim gogoniant ynddynt, ac nid rhyfedd, canys y mae efe mewn tywyllwch, ac y mae yn anmhosibl gweled dim yn nghanol y fagddu. Eithr y mae pawb ag sydd yn y goleu yn gweled gogoniant mawr yn yr enaid ag sydd wedi derbyn maddeuant pechodau, ac wedi cael "cyfran yn mysg y rhai a santeiddiwyd." "Y rhai a gyfiawnhaodd efe, y rhai hyny hefyd a ogoneddodd efe;" nid yn unig hwy a gânt eu gogoneddu yn y byd a ddaw, ond hefyd y maent wedi derbyn gogoneddiad mawr yn y byd hwn, trwy faddeu iddynt eu holl bechodau; canys y mae pawb ag sydd wedi eu cyfiawnhau wedi eu gogoneddu hefyd i ryw raddau. "A hyn fydd i mi yn enw llawenydd, yn glod ac yn ogoniant o flaen holl genedloedd y ddaear, y rhai a glywant yr holl ddaioni yr ydwyf fi yn ei wneuthur iddynt: a hwythau a ofnant ac a grynant, am yr holl ddaioni a'r holl lwyddiant yr ydwyf fi yn eu gwneuthur i'r ddinas hon," Jer. xxxiii. 9. Mae addurn gogoneddus yr Ysbryd Glân ar yr enaid tlawd yn ei godi i fri ac anrhydedd mawr yn y byd sydd yr awr hon. "Merch y brenin sydd oll yn ogoneddus o fewn: gemwaith aur yw ei gwisg hi: mewn gwaith edau a nodwydd y dygir hi at y brenin; y morwynion y rhai a ddeuant o'i hol, yn gyfeillesau iddi, a ddygir atat ti. Mewn llawenydd a gorfoledd y dygir hwynt: deuant i lys y brenin. Dy feibion fyddant yn lle dy dadau, y rhai a wnei yn dywysogion yn yr holl dir. Paraf gofio dy enw yn mhob cenedlaeth ac oes; am hyny y bobl a'th folianant byth ac yn dragywydd. Pwy yw hon a welir fel y wawr, yn deg fel y lleuad, yn bur fel yr haul, yn ofnadwy fel llu banerog?" Sal. xlv. 13—15; Can. vi. 10. Y fynyd y mae y pechadur wedi ei gyfiawnhau, y mae hefyd i ryw fesur wedi ei ogoneddu. Dyma yr unig wrthddrych, er mor sâl y mae yn ymddangos yn ngolwg llawer, ag y mae Duw yn gweled yn werth i ymhyfrydu ynddo. Y mae yr enaid tlotaf yn y byd, unwaith y gosodo Duw ei ddelw arno, yn fwy gogoneddus na dim arall o fewn creadigaeth. Collasom y ddelw hon trwy y cwymp erchyll yn Eden, ond dyma ni yn ei chael yn ol trwy y codiad ar Galfaria; ac nid yn unig yn ei chael yn ol, eithr ei chael yn ol gyda llog; yr ydym yn ei chael gyda mwy o ogoniant a sierwydd. "Yr hwn a osododd Duw yn iawn trwy ffydd yn ei waed ef, i ddangos ei gyfiawnder ef trwy faddeuant y

pechodau a wnaethid o'r blaen, trwy ddyoddefgarwch Duw; i ddangos ei gyfiawnder ef y pryd hyn, fel y byddai efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu," Rhuf. iii. 25, 26. Bendigedig, y mae tywyllwch Eden yn ffoi o flaen goleu yn tywynu o farwolaeth Crist ar Galfaria. Diolch.

"Yn Eden, cofiaf hyny byth,
Bendithion gollais rif y gwlith,
Syrthiodd fy nghoron wiw;
Ond buddugoliaeth Calfari
Enillodd fwy yn ol i mi,—Gogoniant!
Mi ganaf tra f'wyf byw."

Haleluia. "Enillodd *fwy* yn ol i mi." Mae yn well genyf fi yr hen brydydd na'r prydyddion newyddion. "Enillodd *hon* yn ol i mi," medd y prydyddion newyddion; "enillodd *fwy* yn ol i mi, medd yr hen brydydd. Mae yr hen brydydd a'r apostol Paul yr un peth; nid oes genyf ddim i ddweyd am y rhai newyddion. "Lle yr amlhaodd pechod y rhagor amlhaodd gras."

Delw Duw yw y goron, a bydd yn ardderchocach trwy Grist na phe buasai Adda yn sefyll mewn perffeithrwydd. Mae derbyn maddeuant pechodau, fy nghyfeillion, yn dderbyniad hefyd o'r ddelw a'r argraff hyn yn ol, ond gyda mwy o ogoniant ac anrhydedd. Peidiwch â honi maddeuant os nad ydych yn ymdebygu i'r Arglwydd Iesu yn ansawdd ei feddwl, yn ei eiriau, ac yn ei holl ymarweddiad yn y byd. Mae yn rhaid i chwi "rodio yn y goleuni, megys y mae efe yn y goleuni;" a llewyrchu allan eich goleuni yn y teulu, yn y gymydogaeth, ac yn mhob man yr eloch. Os ydych, pan yn derbyn daioni a thrugaredd Duw, yn gogoneddu Duw trwy hyny, ac felly yn llewyrchu allan y goleuni yr ydych yn ei dderbyn, y mae hyny yn brawf fod daioni Duw yn eich gwella, a'ch bod wedi derbyn maddeuant. Cofiwch fod gras y Nefoedd tuag atoch i'w lewyrchu allan yn oleuni i'r byd. Pa fwyaf o sicrwydd a geir o faddeuant, mwyaf y mae y galon yn toddi o hyd ger ei fron mewn gwir edifeirwch am bechu. Os ydych yn wylo o herwydd eich pechodau, os ydych yn eu casâu, os ydych yn rhyfela i'w herbyn, ac yn ymdrech i'w darostwng a'u sathru dan eich traed, y mae yn ddiddadl fod yr Arglwydd wedi eu maddeu, canys y mae y teimladau hyn yn arwyddo glanhad.

Y mae rhai yn meddwl fod yn rhaid wylo a galaru o herwydd pechod i'r dyben o enill neu bwrcasu maddeuant; yn rhith edifarhau er gwneyd iawn am bechod, a phrynu rhydd-

had; ac yn meddwl, pe byddent ond derbyn maddeuant, na fyddai eisiau wylo byth mwyach, fod y cwbl yn *all right.* Mae galaru cyn cael maddeuant am faddeuant yn ddeddfol; eithr y mae wylo wedi derbyn maddeuant, wylo wrth brofi blas maddeuant, yn efengylaidd; yn alar duwiol, yn alar ag sydd yn gwneyd calon yn iach. Yr wyf yn cofio clywed am ryw droseddwr yn cablu y barnwr wrth drin ei achos; ond yn y diwedd fe ddywedodd y barnwr, "Cabla di a fynot, mi a arbedaf dy fywyd." Gyda hyn dyma galon y troseddwr yn toddi, a'i lygaid yn tywallt dagrau, fel yr oedd yn hawddach iddo fyned ar ei liniau na pheidio. Fy nghyfeillion, yn ol y graddau y byddom yn teimlo maddeuant pechodau y byddwn yn galaru yn wirioneddol o herwydd pechu. Y prawf o faddeuant yw yr unig foddion i ddyfod â dynion i alaru yn wirioneddol am eu pechodau. Yr oedd Dafydd yn teimlo yn ddirfawr mor gynted ag yr argyhoeddwyd ef o'i bechod; eithr pan ddywedodd y brophwyd wrtho, "Yr Arglwydd hefyd a dynodd ymaith dy bechod di, ni byddi farw," y torwyd ei galon, ac y dechreuodd wylo yn chwerw; ac wylo a wnaeth tra y bu fyw. Mae ei weddiau parhaus yn llawn o gyfaddefiadau o'i bechodau, ac edifeirwch o'u plegyd. "Trugarha wrthyf, O Dduw," meddai, "yn ol dy drugarogrwydd; yn ol lluaws dy dosturiaethau dilea fy anwireddau. Golch fi yn llwyr ddwys oddiwrth fy anwiredd, a glanha fi oddiwrth fy mhechod. Canys yr wyf yn cydnabod fy nghamweddau: a'm pechod sydd yn wastad ger fy mron. Yn dy erbyn di, tydi dy hunan y pechais, ac y gwnaethum y drwg hwn yn dy olwg," Sal. li. 1—4.

"Os yw Duw wedi maddeu, ac os na chai farw byth, pa eisiau blino mwy oblegyd pechod sydd?" Ah, fy nghyfeillion, nid oes dim bair i chwi flino cymaint yn nghylch eich pechodau a derbyn maddeuant; nid oes dim bair i chwi waeddi c'uwch, ac wylo mor rwydd oblegyd eich anwireddau, a theimlo hyn. Mae maddeuant yn peri i'r enaid waeddi yn uwch am drugaredd hefyd. "Trugarha wrthyf, O Dduw," ebe y Salmydd. Mae efe yn wylo yn hidl, ac yn gwaeddi uwch uwch, gyda phob teimlad o faddeuant. "Trugarha wrthyf, O Dduw, yn ol dy drugarogrwydd; yn ol lluaws dy dosturiaethau dilea fy anwireddau. Golch fi; iacha yr esgyrn a ddrylliaist." Cenadwri gras doddodd ac a dorodd ei galon, canys nid ydym yn darllen ei fod mewn gofid blin am ei bechod o'r blaen.

Yn ol y graddau o deimlad maddeuant y mae pob gras arall yn cynyddu. "A gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth, fel y'ch cyflawnir â holl gyflawnder Duw," Eph. iii. 19. Beth yw cariad Crist? Ffynonell a gwreiddiol achos maddeuant pechodau. Gwybod y cariad hwn a'ch cyflawna â holl gyflawnder Duw. Mae y cariad hwn yn dyfod â'r enaid at Dduw yn gyntaf, ac yna yn llanw yr enaid â Duw, ïe, â "holl gyflawnder Duw." Os oes rhyw beth a leinw enaid â holl gyflawnder Duw, teimlad o faddeuant yw hyny. "Gobeithio," medd y pechadur, "fod fy mhechodau wedi eu maddeu." Gobeithio hyny hefyd; eithr y mae yn rhaid i ti ymholi yn gyntaf a wyt yn caru y Maddeuwr? a yw dy enaid wedi ei lanw â chariad Duw? a ydwyt wedi dy lanw a holl gyflawnder Duw, yn y teimlad o faddeuant trwy Grist Iesu? a ydwyt yn galaru yn wirioneddol o herwydd aflendid pechod yn y galon? a ydwyt yn cynyddu fwyfwy yn yr adnabyddiaeth o ras a thrugaredd Duw tuag at ddyn colledig?

Mae cariad a gras Duw yn dyfod yn fwy i'r golwg o dan yr efengyl nag oedd o dan y gyfraith; gellwch ddrachtio yn helaethach, a chael eich llanw â holl gyflawnder Duw. Y mae y weledigaeth yn fwy clir; y mae "bywyd ac anllygredigaeth wedi eu dwyn i oleuni trwy yr efengyl." Yr ydych yn dechreu adnabod cyflawnder cariad Duw yn Nghrist Iesu, ac felly yn dechreu cael eich llanw â'r cariad hwnw: nid eich llanw ag ûs a *dross*, yr hyn sydd yn llanw meddyliau y rhan fwyaf o ddynion. "Am hyny, gan ein bod wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, y mae genym heddwch tuag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist," Rhuf. v. 1. "Gan ein bod wedi ein cyfiawnhau," neu wedi derbyn maddeuant pechodau, yr ydym yn byw mewn heddwch â'r Barnwr cyfiawn; ac yr "ydym yn gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw." "Ac nid felly yn unig, eithr yr ydym yn gorfoleddu mewn gorthrymderau; gan wybod fod gorthrymder yn peri dyoddefgarwch; a dyoddefgarwch brofiad; a phrofiad obaith; a gobaith ni chywilyddia, am fod cariad Duw wedi ei dywallt yn ein calonau ni, trwy yr Ysbryd Glân, yr hwn a roddwyd i ni."

Y mae teimlad o faddeuant, fy nghyfeillion, yn dyfod â heddwch pur i'r meddwl, a gobaith gogoniant tragywyddol i'r teimlad, ac yn galluogi yr enaid nid yn unig i fod yn amyneddgar mewn cystuddiau, ond hefyd i orfoleddu yn eu

canol. Nid yn unig goddef y pethau ag y mae eraill yn methu eu goddef, eithr yn canu a gorfoleddu mewn dwfr a thân, o dan ddylanwad gobaith bywyd tragywyddol. "Golud gwell, ac un parhaus." Diolch! Y mae teimlad o faddeuant pechodau yn cynyrchu gobaith gogoniant yn y meddwl, ac y mae y gobaith hwnw yn "angor yr enaid," ac yn ei sefydlu yn nghanol y moroedd geirwon. Beth bynag yw y dyoddefiadau, yr ydym yn eu canol yn gobeithio am ogoniant tragywyddol. Pob peth yn dda, gan hyny. Y mae gobaith gogoniant yn cynyrchu gorfoledd yn y cystuddiau mwyaf, gan wybod fod profedigaethau a gorthrymderau yn brif ffordd i ogoniant. Cymerwch gysur yn nghanol adfyd a blinderau, yr ydych ar y brif-ffordd i ogoniant; byddwch yno bron yn union. Neidiwch yn y dwfr, yr ydych bron ar y *bank* yr ochr draw; cenwch yn y cystuddiau, yr ydych yn agos a bod yn iach am dragywyddoldeb. Bendigedig! y mae pob peth yn dda; y mae y beiau wedi eu maddeu. Y mae "gorthrymder yn peri dyoddefgarwch; a dyoddefgarwch brofiad; a phrofiad obaith." Dyma yr holl rasusau yn cydweithredu i droi cystudd yn iechyd, adfyd yn bleser, a'r nos dywyll yn ddydd goleu. "Ië," ebe yr enaid tlawd, "y mae yn bosibl i'r rhagrithiwr gael llawer o gysur yn y dybiaeth ei fod wedi derbyn maddeuant, a'r cwbl ond cysur ffugiol, wedi ei waelodi ar seiliau drwg; ac yr wyf yn ofni yn fy nghalon mai un felly ydwyf finau." Mae yn wir ei fod yn bosibl i'r rhagrithiwr gael llawer o ryw deimladau gwylltion o lawenydd ar brydiau, a meddyliau cysurus wrth son am faddeuant; eto nid yw yn gwybod am weithrediadau y grasau eraill a enwyd; sef amynedd, gostyngeiddrwydd, meddyliau nefolaidd am Dduw, "ymysgaroedd trugareddau," a hunan-ymwadiad, y rhai sydd yn brofion anwadadwy o faddeuant.

Lle y mae maddeuant pechodau wedi ei weinyddu, y mae yno gyd-dyfiant o'r holl rasusau. Derbynir maddeuant trwy ffydd, ac y mae hi yn wreiddyn ac yn rhinwedd yn mha un y tyf yr holl rasusau eraill. Ynfydrwydd yw breuddwydio am sicrwydd ffydd neu sicrwydd fod Duw wedi maddeu y pechodau, a phob gras arall yn wan ac yn isel. Nid oes y fath beth a ffydd fawr, a phob gras arall yn fach. Ffydd fawr, ac ofn gwan; ffydd fawr, a santeiddrwydd yn isel. Nid oes y fath beth yn bod; twyll i gyd ydyw; canys rhaid i'r holl rasusau gydfyw, gyd-dyfu, gyd-gynyddu, a chydweithredu yn mhob peth. Mae *all hands upon deck* yn mhob

ystorm. Os yw ffydd wedi derbyn maddeuant gan Dduw trwy waed y groes, y mae yr holl rasusau eraill yn byw ac yn cynyddu arno. Os yw sel ddirgel yr Ysbryd Glân yn eich calonau, y mae hefyd sel fawr yr Ysbryd ar eich bucheddau. Mae delw y brenin ar sel fawr Lloegr, chwi wyddoch; felly y mae sel fawr yr Ysbryd Glân yn argraffu ei ddelw ar eich cwbl chwi. Y mae pawb sydd yn derbyn maddeuant pechodau yn myned o dan y sel fawr, ac yn derbyn yr argraff, "Santeiddrwydd i'r Arglwydd."

6. Y mae maddeuant yn tueddu yr enaid yn wirfoddol i bleidio y Maddeuwr. Mae yr Arglwydd wedi dy dderbyn er dy holl bechodau; ac y mae yn rhaid i tithau ei gyfiawnhau ef er dy holl orthrymderau. Mae gwneyd hyn yn ddyledswydd, ac hefyd yn brawf anwadadwy o dderbyniad maddeuant pechodau. Efe a'th dderbyniodd di yn dy bechodau ac yn dy waed; am hyny rhesymol yw i tithau ei dderbyn ef yn ei holl ffyrdd; er fe allai eu bod yn ymddangos yn groesion ac yn dywyll yn aml. Efe a'n cyfiawnhaodd ni, er yn bechaduriaid; dylem ninau ymdrechu cyfiawnhau ei oruchwyliaethau yntau, er yn ofidus. Yr ydych yn gobeithio fod yr Arglwydd wedi eich cyfiawnhau yn rhad trwy ei ras ef, er eich holl bechodau i'w erbyn; eithr os nad ydych chwi yn medru ei gyfiawnhau ef, er holl dywyllwch ei oruchwylaethau, mae y pwnc yn amheus. Ni ddarfu i bechod ei rwystro ef i dy gyfiawnhau di; ac a gaiff ychydig ofidiau dy rwystro i'w gyfiawnhau ef? Pan yr ydych yn clywed ffyrdd Duw yn cael eu cablu gan ddynion drwg, a oes genych yr un gair i ddweyd mewn amddiffyniad? Onid yw eich calonau yn llosgi dros enw eich Duw? Os nad ydych yn teimlo felly, y mae eich pechodau heb eu maddeu. Mae dy galon yn rhy frwnt i fod yn llety i ofn yr Arglwydd, a pharch i'w enw santaidd a gogoneddus.

7. Y mae maddeuant Duw yn cynyrchu ysbryd maddeugar. Mae dynion yn y cnawd yn maddeu i'w gilydd; y mae rhyw beth y gellir ei alw yn faddeuant, yn naturiol; canys y mae paganiaid yn maddeu i'w gilydd; ac y mae yn gywilydd i lawer sydd ag enw cristionogion na allant faddeu yn gystal a phaganiaid. Eithr y mae yn ymddangos, fy nghyfeillion, fod Cristionogaeth yn waeth na Phaganiaeth; y mae cristionogion mewn enw, heb fod o dan arglwyddiaeth ei hysbryd, yn fwy anhywaith ac yn fwy anhawdd eu trin na neb paganiaid. Mae maddeugarwch yn ffrwyth maddeuant. Os ydych

wedi derbyn maddeuant gan Dduw, mae hyny yn ei gwneyd hi yn hawdd i faddeu i'ch gilydd. Mae yn rhaid i chwi faddeu, nid fel y mae paganiaid yn maddeu, ond mewn modd ysbrydol, o dan deimlad o faddeuant oddiwrth Dduw. "Megys y maddeuodd Duw er mwyn Crist i chwithau." "Y mae hwn a hwn wedi fy anfoddloni," medd y dyn; "pa fodd y gallaf faddeu iddo?" Fy nghyfaill, pa faint mwy y darfu i ti anfoddloni Duw? ac os maddeuodd efe i ti yr holl bechodau hyny, oni ddylit ti faddeu yn rhwydd yr ychydig ffaeleddau trwy ba rai y mae dy frawd wedi dy anfoddloni di? Pa fodd y gall yr Arglwydd edrych gyda boddlonrwydd ar y dyn y maddeuodd efe gymaint o dalentau iddo, os bydd efe yn annhrugarog wrth ei frawd, yn mynu yr hatling eithaf, ac yn maddeu dim? Pe buasai Duw yn peidio maddeu i ti, yn uffern, yn y carchar tragywyddol, y buasai dy lety er ys llawer dydd. Beth pe buasai efe yn ymddwyn atat ti fel yr wyt ti yn ymddwyn at dy frawd? Och! truenus fyddai dy sefyllfa. Mae nid yn unig yn ddyledswydd arnom faddeu i'n gilydd, eithr yn bleser mawr hefyd, os byddwn yn teimlo maddeuant Duw tuag atom ni. Nid oes yr un prawf cryfach ein bod o dan ddylanwad maddeuant y Nefoedd na'n bod yn gallu maddeu i'n gilydd. "Oblegyd os maddeuwch i ddynion eu camweddau, eich Tad nefol a faddeu hefyd i chwithau: eithr oni faddeuwch i ddynion eu camweddau, ni faddeu eich Tad eich camweddau chwithau," Mat. vi. 14, 15. Mae llawer yn cymuno wrth yr un bwrdd am flynyddoedd, ïe, am eu hoes, ac yn meddwl myned i'r un nefoedd byth, ac eto yn byw mewn gelyniaeth a malais at eu gilydd. "Na thwyller chwi," "oni faddeuwch, ni faddeuir i chwithau." Mae maddeuant yn tori awch gelyniaeth; a phan ydym o dan effeithiau y gras hwn, y mae maddeu i'n gilydd yn dyfod yn orchwyl rhwydd. Mae y gras o faddeuant yn melusu yr enaid, yn ei wneyd yn fwynaidd, yn foneddigaidd, yn hawdd ei drin, ac yn dyner tuag at eraill. Chwithau sydd yn proffesu tymher wyllt, peidiwch a dywedyd fod hyny yn naturiol i chwi, ac na ellwch oddiwrtho. Y mae pobl yn taflu y bai ar eu Creawdwr wrth siarad felly. Os ydych wedi derbyn trugaredd faddeuol Duw, mae hi wedi darostwng y tymherau hyny; canys y mae yn alluog i ddarostwng y nwydau mwyaf anllywodraethus yn nghalonau pechaduriaid; ac os nad yw hyn yn cael ei wneuthur ynoch chwi, y mae yn brawf nad ydych chwi wedi derbyn maddeuant erioed; "yr ydych chwi

eto yn eich pechodau." Ceisiwch faddeuant, fy nghyfeillion, a gwleddwch arno fel ar eich bara beunyddiol. "A maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ninau i'n dyledwyr." Yn awr, cyn y dybenom, gwnawn rai sylwadau byr, er eich cynorthwyo i ddeall a ydych yn y teimlad o faddeuant ai nad ydych.

1. Os ydych o dan arglwyddiaeth *un* pechod, yr ydych heb dderbyn maddeuant. Os ydych o dan arglwyddiaeth *un* pechod, y mae yn canlyn yn naturiol eich bod o dan arglwyddiaeth *pob* pechod. Os bydd un gras yn teyrnasu yn eich meddyliau, y mae pob gras; ac os bydd un pechod, y mae *pob* pechod. Bydd y cristion mewn gofidiau mawrion weithiau am nad yw yn gweled *pob* gras mewn gweithrediad yn y galon; fel pe na byddai yr Ysbryd Glân yn gyflawn yn ei weithrediadau yno. "Yr wyf mewn gofid mawr, yr ydwyf yn ofni nad ydwyf yn gristion cwbl oll, canys nid wyf yn teimlo pob gras mewn gweithrediad cyflawn yn fy nghalon. Yr wyf yn teimlo fod rhyw gymaint o gariad Duw yn fy enaid tlawd; ac eto yr wyf yn methu canfod ofn Duw yn gryf fel y dymunwn." Os ydwyt yn gallu canfod *un* gras mewn gweithrediad yn dy galon, "cymer gysur, maddeuwyd i ti dy bechodau," canys lle y mae un gras y mae pob gras; mae yr holl deulu hyn yn wastad yn byw gyda'u gilydd. Nid yw eich bod yn methu cael cysur maddeuant ar amserau, yn penderfynu nad ydych wedi cael y peth ei hunan. Er nad yw y "tŷ felly gyda Duw," eto y mae y cyfamod yn dragywyddol. Edrychwch beth sydd yn ben yn eich calonau, fy nghyfeillion, canys y peth sydd yn llywodraethu yno a'ch piau chwi.

2. Y mae llawer sant gwirioneddol yn methu canfod arwyddion maddeuant ynddo ei hun ar amserau, ac felly yn amheu y cwbl. Wrth glywed y pregethwr yn desgrifio maddeuant a'i arwyddion o'r pwlpud, y mae yn digaloni, ac yn dywedyd, "Nid wyf fi yn teimlo y pethau yna; nid wyf yn eu hadnabod ynof fy hunan yn ol fel y mae y pregethwr yn eu darlunio yn bresenol. Fe allai mai felly yr oedd pethau yn nyddiau Dafydd; ond a ydyw yn beth tebyg y gallwn ni yn y dyddiau hyn gael y fath adnabyddiaeth?" Ydyw. Mae yr Arglwydd Iesu yn llefaru wrth ein heneidiau ni yn awr, "Cymerwch gysur; maddeuwyd i chwi eich pechodau." Nid yw ein bod yn methu teimlo cysur maddeuant *bob amser*, yn profi nad ydym wedi derbyn maddeuant erioed.

Mae yn bosibl fod y beiau wedi eu maddeu, er fod teimlad o annghysur ac ofn yn y fynwes yn aml. Yr wyf yn cofio darllen am Mr. Glover y merthyr, ei fod mewn tywyllwch mawr am ei hawl yn Nghrist, yn yr amser yr oedd yn ngharchar; ïe, ar y diwrnod cyn ei fod i ddyoddef marwolaeth. Yr oedd wedi colli holl brofion maddeuant o'i deimlad, fel nad oedd yn gallu ymgysuro dim yn ei grefydd, er ei fod yn myned i farw drosti y diwrnod canlynol. Yr oedd ei gyfeillion yn dweyd wrtho o hyd y buasai yr Arglwydd yn sicr o ddyfod ato i'w gynorthwyo yn ei amser ei hun; ac yn dymuno, pan y deuai yr Arglwydd, am iddo wneyd rhyw arwydd iddynt hwy. Daeth y swyddwyr i'w arwain at yr ystanc, eto yn y tywyllwch du yr ydoedd; eithr wedi ei rwymo wrth yr ystanc, dyma ef yn gwaeddi allan, "Y mae yr Arglwydd wedi dyfod." Felly chwi welwch, nad ydyw diffyg teimlad o gysur ar amserau yn un prawf nad ydych wedi derbyn maddeuant erioed.

3. Peidiwch â phenderfynu eich sefyllfa dragywyddol pan yr ydych yn uchel iawn, na phan ydych yn isel iawn; eithr penderfynwch yn hytrach yn eich teimladau cyffredin. Peidiwch â phenderfynu eich cyflyrau yn amser profedigaeth a themtasiwn, pan y mae cymylau a thywyllwch yn eich amgylchynu; canys y mae yn anmhosibl i chwi weled yn glir trwy gymaint o dywyllwch. Mae y saint goreu yn methu darllen eu henwau weithiau yn llyfr y bywyd; nid am nad ydynt yn medru darllen, ac nid am nad yw eu henwau yn ysgrifenedig yno, eithr fe allai eu bod wedi colli y gwydrau, neu ynte fod gormod o niwl a thywyllwch i weled yn glir drwyddynt. Mae llawer dyn yn medru darllen yn dda, ond pan heb y *spectol* nid yw yn gallu darllen dim. Mae hi weithiau hefyd yn rhy dywyll, er y gwydrau a'r cwbl; y mae yn rhaid aros iddi "fyned yn ddydd." Peidiwch â phenderfynu cwestiwn mor fawr mewn awr o dywyllwch, fy nghyfeillion. Pan y pwysir aur, gwneir hyny mewn lle tawel; nid ydys yn gwneyd hyny mewn lle agored, lle y bydd y gwynt yn chwythu yn gryf, ac yn troi y fantol yma ac acw, i lawr ac i fyny; oblegyd y mae yn rhaid pwyso i'r gronyn; ac nis gellir gwneyd hyny ond mewn lle digyffro. *You cannot weigh to a grain in a storm; the balance may be blown up and down.* Felly y mae yn bosibl i'r pen trymaf fod i fyny mewn awel o wynt. Nid yw hyn yn pwyso yn deg. Peidiwch â myned i glorian y cysegr yn eich profed-

igaethau yn unig; eithr cerddwch yno yn gyson; cerddwch yno yn eich arferion cyffredin; teflwch yr holl fywyd i mewn, *rain and shine, winds and calm;* pwyswch a mesurwch yn deg. Pwyswch a mesurwch pan ydych ynoch eich hunain, canys nid ydych ynoch eich hunain pan ydych mewn profedigaethau.

4. Ni ddylem dderbyn un cysur ond trwy y gair, na gwrthod un cysur pan y cynygir ef i ni gan y gair. Y gair santaidd yw sylfaen ein holl gysuron. Paham y gwrthodwn ein dyddanu, pan y mae y gwirionedd yn cynyg dyddanwch i i ni? Paham y trowch gyda y diafol i gondemnio eich hunain? "Cymerwch gysur." Mae yr Arglwydd yn dywedyd, "Rhyddion ydych yn wir." Paham y mae mwy o barodrwydd ynoch i droi yn eich erbyn eich hunain mewn pethau ysbrydol nag sydd mewn pethau tymhorol? Pe byddai rhyw un yn codi dadl yn erbyn eich hawl i ryw feddiant bydol, byddech yn barod mewn moment i'w wrthwynebu ac amddiffyn eich *rights;* eithr cyn gynted ag y bydd diafol yn dywedyd wrthych fod Duw heb faddeu eich pechodau, yr ydych yn barod i bleidio satan yn erbyn y Goruchaf, ac yn dadleu gydag ef yn eich erbyn eich hunain. Mae hyn, fy nghyfeillion, yn tueddu i dristâu "Glân Ysbryd yr addewid." Pan y mae yr Arglwydd yn dywedyd wrthych, "Cymerwch gysur, maddeuwyd i chwi eich pechodau," ymaflwch yn y dystiolaeth, sugnwch dangnefedd o honi, a dadleuwch eich hawl yn wrol yn wyneb y cythraul. Bendigedig; y mae gair o'r Bibl ambell ddiwrnod yn fy helpu i gonero diafol ar ei dir ei hun; y mae fy enaid tlawd yn cael y fraint o waeddi buddugoliaeth yn nghanol helbulon y byd. Bendigedig fyddo ei enw yn dragywydd! Mae gair yr Arglwydd yn llaw yr Ysbryd Glân yn ddigon grymus i glwyfo ac i iachau, i daflu i lawr ac i godi i fyny, i ladd ac i feddyginiaethu, ac i ddyferu "cysur cryf" mewn gorthrymderau mawrion. Mae clywed swn Duw yn dywedyd, "Cymer gysur, maddeuwyd i ti dy bechodau," yn iachau yr hen "esgyrn a ddrylliwyd," yn "iachau yr holl lesgedd," yn gwneyd yr hen gymalau yn ystwyth o'r newydd, i "neidio, i lamu, a moli Duw." Diolch. Yr wyf yn teimlo fy enaid yn barod i lamu o fy nghorph y fynyd hon; gadael yr anialwch, ffarwelio â'r hen fyd sydd yn llawn o wae, a neidio yn dragywyddol i fynwes fy Arglwydd. Ond, fy nghyfeillion, y mae yn rhaid i ni ymatal, a dychwelyd at y pwnc eto am ychydig.

Duw yn dywedyd, "Maddeuwyd i ti dy bechodau," yw yr unig falm ag sydd yn gwella cydwybod glwyfus a therfysglyd. Peidiwch â rhoddi pwys mawr ar opiniynau dynion eraill am danoch; siaradwch â Duw ar y mater; ceisiwch ddeall iaith a lleferydd yr Arglwydd yn y Bibl. Y gair santaidd yw clorian y cysegr; yno y mae yn rhaid i ni bwyso ein crefydd. Mae rhyw ddyn yn dywedyd, "Y mae genyf fi fyrddiynau o feddyliau ofer, a chalon ddrwg yn llawn o lygredigaethau; ac o herwydd hyny y mae arnaf ofn nad oes genyf grefydd dda, ac nad yw fy mhechodau wedi eu maddeu." Dewch at y "gair a'r dystiolaeth;" pwyswch y rheswm yna yn nghlorian y cysegr, a chewch weled ei fod yn brin. Yn mha le yn y Bibl y dywedir nad ydyw y dyn hwnw sydd yn teimlo oferedd ei feddyliau a llygredigaethau y galon ddim wedi derbyn maddeuant? Onid i'r gwrthwyneb y mae? Onid arwydd o faddeuant yn hytrach yw y teimladau hyn? "Cymerwch gysur," mae y teimladau hyn yn arwyddo fod eich pechodau wedi eu maddeu, ac nid na ddarfu i chwi gael maddeuant erioed. Peidiwch gwrthod y cysur, fy nghyfeillion, a chymeryd plaid y diafol yn erbyn eich hunain ac yn erbyn eich Duw. Mae y rhagrithiwr yn cymeryd yn ganiataol fod pob peth yn dda, ac yn cymeryd cysur, er fod y Bibl yn ei erbyn. Mae y cristion yntau yn amheu ac yn llwfrhau, er fod y Bibl gydag ef. Os dywed y cythraul wrthyt, fy mrawd gwan, nad yw dy bechodau wedi eu maddeu, cymer galon, a chwyd ar dy draed yn ei wyneb, a gofyn iddo am brofi ei bwnc allan o lyfr Duw, mai hwnw yw yr unig awdurdod i ba un yr ymostyngi. Fe ffy satan oddiwrthyt, canys y mae pethau o'th du, ac nid yn dy erbyn, yn wyneb gair Duw.

5. Os ydych wedi colli eich hen brofion o faddeuant, peidiwch â threulio eich holl amser i chwilio am danynt, eithr llafuriwch am brofion newyddion. Pe byddai llawer yn treulio yr amser mewn gweddiau am brofion newyddion ag y maent wedi ei wastraffu wrth chwilio am yr hen, buasent wedi meddianu profion dysglaer o faddeuant cyn hyn. Os bydd gweithred wedi myned i golli, gellwch ei hadnewyddu mewn llai o amser nag y byddwch yn chwilio am dani yn aml. Mae yr hen yn burion yn eu lle, ond mynwch adnewyddu y titl yn fynych; mynwch brofion newyddion yn llys eich eneidiau fod y beiau wedi eu maddeu. Collodd hen wraig allwedd ei *drawer*, a threuliodd fwy o amser wrth chwilio

am yr allwedd hono, ac aeth i fwy o draul nag y buasai deg allwedd newydd yn gostio. Mae llawer yn ymboeni gyda'r ymholiad, "Pa bryd y ganwyd fi o Dduw? Pa amser y daethum trwodd o farwolaeth i fywyd, os daethum hefyd? Mae arnaf ofn rhag na theimlais y pryd hwnw gymaint o ofid am fy nghyflwr ag yr ydych chwi yn ei ddesgrifio." Nid yw gymaint o wahaniaeth dy fod yn methu tynu profion o'r peth fu er ys deg ar ugain o flynyddau yn ol, oblegyd y mae arnat eisiau teimlo rhagor heddyw nag erioed, a thynu profion oddiwrth y pethau sydd yn awr, yn hytrach na'r pethau sydd wedi bod. A ydych yn rhoddi eich hunain i Dduw yn wastadol? os ydych, dyna brawf newydd. A ydych yn teimlo fod yn well genych oddef llawer na phechu yn erbyn Duw? A ydych yn ymlynu wrth wasanaeth yr Arglwydd o herwydd eich bod yn caru ei wasanaeth ef? Os ydych felly, y mae y rhai hyn yn brofion newyddion, yn brofion bob dydd, ac yn brofion parhaus o faddeuant pechodau. "Cymer gysur; maddeuwyd i ti dy bechodau."

6. Cofiwch eich bod yn ymwneyd â Duw am faddeuant yn wyneb cyfamod o ras, ac nid cyfamod o weithredoedd. Mae llawer o ddynion duwiol yn curo eu hunain i lawr wrth gymeryd golwg ar Dduw yn wyneb cyfamod o weithredoedd. Os bydd llygredigaeth yn ymgynhyrfu yn y galon, ac yn tori allan i demtasiynau cryfion, y maent yn barod i feddwl fod y cwbl drosodd. Pe byddem yn ymwneyd ag ef yn wyneb cyfamod o weithredoedd, byddai y cwbl ar ben; canys buasai y cynhyrfiad lleiaf, yr ysgogiad meddwl gwanaf at bechod yn ddamniol, ac yn anadferadwy. Mae un pechod yn Adda yn ddigon i ddamnio ei holl hiliogaeth. Eithr yr ydym yn ymymwneyd â'r Arglwydd yn wyneb cyfamod o ras, yn yr hwn y gallwn edrych ar Dduw yn wyneb pechodau rif y gwlith, canys y mae "Mab y dyn yn maddeu pechodau ar y ddaear." Hefyd, fy nghyfeillion, nid yw ffaeleddau yn wyneb cyfamod gras yn ddamniol. Os ffaeleddau yw eich pechodau, ac nid bwriadau, "cymerwch gysur," nid oes yr un o honynt yn ddamniol. Y mae *clause* yn y cyfamod gras i achub byth, er yn llawn o ffaeleddau a llygredigaethau. "Os fy neddfau a halogant, a'm gorchymynion ni chadwant; yna mi a ymwelaf â'u camweddau â gwialen, ac â'u hanwireddau â ffrewyllau. Ond ni thoraf fy nhrugaredd oddiwrtho, ac ni phallaf o'm gwirionedd. Ni thoraf fy nghyfamod, ac ni newidiaf yr hyn a ddaeth allan o'm genau. Tyngais unwaith i'm sant-

eiddrwydd, na ddywedwn gelwydd i Dafydd," Sal. lxxxix. 30—35.

Y mae yr Arglwydd yn derbyn gwasanaeth *didwyll* y saint, er ei fod yn ddiffygiol mewn santeiddrwydd. Mae ofnau llawer o gristionogion gwirioneddol yn cyfodi oddiwrth anadnabyddiaeth o natur y cyfamodau. Nid oes dim a all rhoddi cymaint o gysur i enaid tlawd a'r wybodaeth hon, canys gras yr efengyl yn unig sydd yn dyfod â chysur i enaid wedi ei aflonyddu am ei achos tragywyddol. Mae gras yr efengyl yn farwol i glwyfau pechadur euog sydd yn ymdroi yn ei aflendid; y mae yn "arogl marwolaeth i farwolaeth;" y mae yr adyn tlawd yn cablu cyfamod tragywyddol ras, ac yn marw. Mae efe yn trengu pan yn cablu y feddyginiaeth. Ond dyma y *balsam* sydd yn gwella clwyfau y pechadur edifeiriol. Pe meddyliech fod dyn yn gwneyd *balsam* gwerthfawr, mor werthfawr fel y byddai pob *drachm* o hono yn costio mil o bunau, eto yn sicr o wella pob clwyf, byddai rhyw werthfawrogi annghyffredin ar hwnw. Mae *balsam* yr efengyl, fy nghyfeillion, yn gwella pob clwyf, ac y mae pob dafn o hono yn werth annhraethol, yn werth gwaed Iesu Grist ei Fab ef, yn werth ei "werthfawr waed," gwaed annhraethadwy ei rinwedd. Prisiwch y *balsam*, fy nghyfeillion; y mae yn sicr o wella eich holl glwyfau; ac er mor werthfawr ydyw, y mae yn cael ei gynyg yn rhad i chwi. Bendigedig! y mae per-arogl yr efengyl yn gwella fy nghorph a fy enaid. Diolch am *balsam* Calfaria, yr hwn sydd yn feddyginiaeth anffaeledig. Mae gwaed Crist yn glanhau oddiwrth bob pechod, gan hyny dyma le i bechadur fel myfi.

"Golchwyd Magdalen yn ddysglaer, a Manasseh'n hyfryd wyn,
Yn yr afon gymysg liwiau darddodd allan ar y bryn:
Pwy a ŵyr na olchir finau? pwy a ŵyr na fyddaf byw?
Mae rhyw drysor anchwiliadwy o ras y'nghadw gyda'm Duw."

7. Os ydych heb lawn sicrwydd ffydd, gweddiwch am gymaint o ffydd ag a wna i chwi orphwys ar yr Arglwydd Iesu am fywyd tragywyddol. Y mae y fath beth a gwir ffydd pan nad oes lawn sicrwydd ffydd. Mae llawer o eneidiau tlodion yn barod i ddweyd, "Nid oes genym sicrwydd y cawn ein hachub, am hyny yr ydym yn amddifad o bob cysur yn yr iachawdwriaeth. Nid ydym yn sicr a oes genym ras ai peidio; mae yn ddigon tebyg nad oes genym grefydd dda, onide byddem yn gwybod hyny." Na, fy nghyfeillion, cymerwch gysur; peidiwch â myned ormod dan draed y gelyn

hefyd, canys y mae yn beth posibl i chwi fod yn dduwiol, ac wedi derbyn maddeuant o'ch holl bechodau, ac eto heb fod yn berffaith sicr. Y mae miloedd o'ch brodyr yn byw yn dduwiol, ac yn gobeithio yn Nghrist am achubiaeth byth, ac ar yr un pryd heb fod yn hollol sicr am eu hawl ynddo. Eithr os ydych yn sychedu am iachawdwriaeth, yn dylyn ôl Crist, ac yn cadw ei ddeddfau a'i eiriau, y mae yn beth tebyg iawn eich bod wedi derbyn maddeuant pechodau. Os ydych yn teimlo hyfrydwch wrth feddwl am dano a'i wasanaethu, gellwch ddyfod yn y blaen, a chymeryd cysur, o herwydd fod eich pechodau wedi eu maddeu. "Ac wrth hyn y gwyddom yr adwaenom ef, os cadwn ei orchymynion ef." Os nad ydych yn gwybod yr adwaenoch ef, yr ydych yn gwybod eich bod yn ymlynu wrtho, ac yn meddwl ymlynu hyd angau. Wel, ymlynwch wrtho, canys wrth ymlynu y daw y wybodaeth yn fwy perffaith; fe ddaw sicrwydd ffydd wrth ddysgwyl wrtho, a gobeithio ynddo; a chewch farw mewn dyogelwch. Dylynwch adnabod yr Arglwydd, a byddwch yn sicr o ymddangos ger ei fron.

8. Peidiwch ymorphwys yn hollol ar hen brofion o faddeuant. Mae y ffrydiau yn sychu; tynwch ddwfr o'r ffynon. Mae hen broffadau yn help weithiau, ond nid ydych i ymddibynu arnynt fel eich gwaredwyr o gyfyngderau presenol, eithr i'w cofio er eich calonogi i fyned at Dduw am waredigaethau newyddion. Gellwch golli y teimlad o honynt yn hollol ambell ddiwrnod, a bydd yn rhaid i chwi nofio hebddynt, neu suddo i ddyfnder anobaith. Gan fod yr Arglwydd am glywed llais ei blant, y mae yn eu taflu i dywydd garw, a phrofedigaethau mawrion, ac yna y mae ffydd yn dyfod allan mewn gweithrediad mwy grymus. Mae efe yn caru clywed y saint yn gwaeddi yn nghanol y dwfr. "'Pe lladdai efe fi, mi a ymddiriedaf ynddo.' Deled y peth a ddelo o honof, mi a obeithiaf yn ei drugaredd byth."

9. Pan yr ydych wedi colli eich profion o faddeuant, peidiwch â phenderfynu ar unwaith na chewch hwynt yn ol byth. Mae hyn wedi rhwystro llawer cristion tlawd, a'i annghysuro yn ddirfawr. Yn wyneb methu gweled arwyddion, a theimlo profion eglur, yn cael ei demtio i wadu y cwbl, a chyhoeddi dedryd damnedigaeth arno ei hun. "Y mae Duw wedi fy ngadael," meddai; "ni ddychwel efe ataf byth mwyach." Gochel benderfynu dy achos wrth ac yn y cyfryw deimladau, eithr ymestyn at gyrhaedd tir gwell, ac ymdrecha ger bron

Duw yn ddifrifol, a dysgwyl wrtho. Byddai yn ffol iawn mewn gwraig, o herwydd ei bod wedi colli y fodrwy, i ddywedyd nad ydyw yn briod; neu i ddyn ddywedyd nad yw yr haul yn bod, o herwydd ei fod o dan gymylau. Eithr nid yw hyny mor ffol ag i chwi ddywedyd nad oes genych ddim crefydd, o herwydd eich bod wedi colli eich teimladau hyfryd mewn rhyw brofedigaeth; nad ydych yn blant, o herwydd bod eich Tad yn cuddio ei wyneb oddiwrthych.

10. Pan y mae eich profion am faddeuant wedi eu colli, a chwithau mewn tywyllwch du, ymdrechwch trwy y cwbl i feithrin meddyliau tyner am Dduw. Fel yr eglwys yn y Caniadau, er yn methu ffeindio ei hanwylyd, yr ydoedd yn rhoddi gair da iddo. "Beth yw dy anwylyd rhagor anwylyd arall, y decaf o'r gwragedd? beth yw dy anwylyd rhagor nag anwylyd arall, pan orchymyni i ni felly? Fy anwylyd sydd wyn a gwridog, yn rhagori ar ddeng mil. Ei ben sydd fel aur coeth, ei wallt yn grych, yn ddu fel y frân; ei lygaid fel llygaid colomenod wrth afonydd dyfroedd, wedi eu golchi â llaeth, wedi eu gosod yn gymhwys. Ei ruddiau fel gwely per-lysiau, fel blodau peraidd; ei wefusau fel lili yn dyferu myr dyferol. Y mae efe oll yn hawddgar." Er fod yr anwylyd yn ymguddio, eto yr oedd meddyliau tyner yn y fynwes am dano, ac yr oedd hyny yn arwydd gwir dda. Golwg obeithiol ar enaid mewn tywyllwch a phrofedigaethau, yw ei weled yn canmol a mawrhau Duw; yn gwaeddi allan yn y dyfroedd, "Os boddaf, y mae fy Nuw yn ddaionus; yr wyf yn rhwym o gyfiawnhau Duw, serch trengu. Er fod arnoch eisiau profion o'i gariad tuag atoch, eto, os bydd yn eich meddyliau barch mawr i'w enw a'i goffadwriaeth, gellwch gymeryd cysur, canys maddeuwyd i chwi eich pechodau. Gall gwas drwg ddweyd yn dda am ei feistr, os bydd hyny yn fantais iddo; eithr os bydd ei feistr yn ei droi allan, y mae efe yn dechreu dweyd yn ddrwg am dano ef wedi hyny. Felly y mae y rhagrithiwr yn ymddwyn at yr Arglwydd; eithr y credadyn gwan, er cael ei guro i lawr mewn profedigaethau, sydd yn ei ganmol o hyd.

Yn olaf. Gweddiwch am yr Ysbryd Glân i'ch cynorthwyo i gyrhaedd sicrwydd am faddeuant. Y mae efe yn cael ei ddanfon o'r nefoedd i gyd-dystiolaethu ag ysbrydoedd ei bobl eu bod hwy yn blant i Dduw. Mae efe yn dywedyd wrthynt yn nghanol eu tywydd garw. "Cymerwch gysur; maddeuwyd i chwi eich pechodau. Wele fi wedi dyfod â phardwn o'r

nefoedd; edrychwch, dyma'r sel fawr; dyma ysgrif y gollyngdod." Gogoniant! mae "y plant yn rhyddion," er gwaethaf byd, cnawd, ac uffern. Ceisiwch ddeall iaith yr Ysbryd Glân, fy nghyfeillion; y mae efe yn eich argyhoeddi o bechod, fel y byddo i chwi redeg at Dduw yn Nghrist am faddeuant; yn eich argyhoeddi o dwyll eich holl gyfiawnderau, fel y byddo i chwi ffoi at gyfiawnder yr Arglwydd Iesu. Os gellwch ymgysuro mewn bod Duw wedi maddeu eich pechodau, gellwch ganu a gorfoleddu mewn dwfr a thân, mewn bywyd, yn angau, ac yn y farn a ddaw. Bendigedig! "Rhyddion fyddwch yn wir."

Os ydych yn dlawd, cymerwch gysur; os ydych yn afiach, cymerwch gysur; os ydych dros eich penau mewn gofidiau, cymerwch gysur; mae y gwaethaf wedi myned heibio am byth. Maddeuwyd i chwi eich pechodau. Gogoniant! dyma fêl dewisol yn nghanol pob surni, dyma oleuni tragywyddol yn nghanol tywyllwch amserol; ïe, dyma nefoedd wen yn nghanol uffern ddu. Mae swn maddeuant, fy nghyfeillion, yn gysur cryf, yn ddigon cryf i gynal yr enaid yn y gwasgfeuon mwyaf. "Mi a lawenychaf yn yr Arglwydd; byddaf hyfryd yn Nuw fy iachawdwriaeth." Nis gallaf lai na rhyfeddu daioni y Duw mawr tuag at ddyn yn y byd hwn: y mae fy enaid yn mawrhau Duw yn fynych am ei ddoniau rhagluniaethol.

> "Seas roll to waft him; suns to light him rise;
> His footstool, earth; his canopy the skies."

Y mae daioni Duw yn y byd hwn yn peri i mi yn fynych waeddi allan gyda'r salmydd, "Pa beth yw dyn i ti i'w gofio? a mab dyn i ti ymweled ag ef?" Eithr wedi y cwbl nid oes yr un gydmariaeth rhwng y ddarpariaeth y mae efe wedi ei gwneyd dros y corph â'r hyn y mae wedi ei gwneyd dros yr enaid. Mae y gyntaf wedi ei gwneyd gan Dduw fel Creawdwr i ddyn fel creadur: y ddiweddaf sydd wedi ei gwneyd gan Dduw fel Gwaredwr i ddyn fel troseddwr. Y gyntaf sydd ddarpariaeth i gyflawni ein hangenion naturiol; yr ail i gyflawni ein hangenion ysbrydol. Y gyntaf er diwallu ein hangenion amserol; yr ail er diwallu ein hangenion tragywyddol.

> "Dyma ddigon,
> 'Cheisia'i 'nabod dim ond hyn."—*Diolch.*

Mwynhad o'r bendithion tragywyddol hyn barodd i'r salmydd waeddi allan, "Fy enaid, bendithia yr Arglwydd; ac nac

annghofia ei holl ddoniau ef; yr hwn sydd yn maddeu dy holl anwireddau; yr hwn sydd yn iachau dy holl lesgedd. Yr hwn sydd yn gwaredu dy fywyd o ddystryw: yr hwn sydd yn dy goroni â thrugaredd ac â thosturi: yr hwn sydd yn diwallu dy enau â daioni, fel yr adnewyddir dy ieuenctyd fel yr eryr," Sal. ciii. 1—5. "Beth! ai bendithio enw yr Arglwydd y mae am deyrnas Israel, am osod y deyrnwialen yn ei law, a'i gadarnhau ar yr orseddfainc?" Nage; eithr am bethau sydd yn anfeidrol fwy eu gwerth. Am faddeu yr holl anwireddau, a iachau yr holl lesgedd. Y mae y bendithion hyn, fy nghyfeillion, yn annhraethadwy. Maent y tu hwnt i alluoedd mawrion yr angylion a'r arch-angylion; nis gallant byth blymio y dyfnderau annhraethol hyn. *Angels cannot take soundings here.* Bendigedig!

"Nis gall angylion nef y nef
Fynegi maint ei gariad ef.
Mae angau'r groes yn drech na'u dawn,"

Y mae y drefn i faddeu i bechadur tlawd yn rhy fawr a gogoneddus i holl ddoniau a thafodau yr angylion draethu ei ardderchogrwydd. "Mae angau'r groes yn drech na'u dawn." Nis gall yr angel Gabriel wneyd dim ond rhyfeddu byth uwch ben "Duw yn Nghrist yn cymodi y byd ag ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau." O diolch!

"Nis gall angylion pur y nef,
A'u doniau aml hwy,
Fyth osod allan werthfawr bris
Anfeidrol dwyfol glwy'.

Dyoddefodd angau dygn boen,
A gofir tra fo nef;
Fy nerth, fy nghyfoeth, a fy mraint,
A'm noddfa lawn yw Ef."

Nis gall cerubiaid a seraphiaid byth ddirnad gwerth trefn i faddeu pechodau: bydd y pechadur tlawd brofodd rinwedd y fendith yn gallu canu yn uwch am Galfaria

"Na chlywodd yr angylion fry,
Pan ddelo Salem bur yn llawn."

Y mae yr ymadrodd canlynol, a ddefnyddia yr apostol ar fater arall, yn hynod gymhwysiadol at y pwnc dan sylw. "A thangnefedd Duw, yr hwn sydd uwchlaw pob deall, a geidw eich calonau a'ch meddyliau yn Nghrist Iesu," Phil. iv. 7. Bydded i'ch eneidiau ymborthi yn gyson ar y fendith gyfoethog hon. "Ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn erioed, y pethau a ddarparodd Duw i'r

sawl a'i carant ef." Mae yn anmhosibl i un tafod ddatgan byth y gwerth annhraethol sydd yn y fendith hon, sef maddeuant pechodau trwy waed Iesu Grist. Nis gall yr Hollgyfoethog ei hun byth ddywedyd rhagor wrth bechadur tlawd nag iddo gymeryd "cysur; maddeuwyd i ti dy bechodau." Pe dywedai yr Arglwydd wrth ddyn, "Ti gei yr holl greadigaeth, yr holl gwbl a greais erioed yn feddiant i ti dy hun," ni byddai hyny ond dim, ïe, yn llai na dim, at ddywedyd wrtho, "Maddeuwyd i ti dy bechodau."

Y mae maddeuant pechodau wedi costio gwaed, gwerthfawr waed Crist, anwylyd y Tad: "Canys heb ollwng gwaed nid oes maddeuant." "Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau, yn ol cyfoeth ei ras ef," Eph. i. 7. Pethau aswy law Duw yw pethau y byd hwn, pethau y mae yn eu rhoddi i'w elynion yn gystal a'i gyfeillion; canys y mae yr haul yn codi ar yr annghyfiawn fel ar y cyfiawn, eithr gyda'r gwahaniaeth hyn; y mae ei blant yn mwynhau y bendithion hyn fel eu meddiant eu hunain, wedi eu rhoddi yn rhad gan eu Tad nefol mewn llwybr o ras; ond ei elynion yn eu dal yn nghysgod ei blant, ac a gospir byth o herwydd eu cam-ddefnyddiad. Yr ydym yn ddyeithriaid i'r teimlad o garu Duw er ei fwyn ei hun; yr ydym yn ei garu mewn cysylltiad â derbyn rhyw drugareddau o'i law. Yr ydym ni yn ei garu ef am ei fod ef yn ein caru ni. Mae ein nefoedd ni yn gynwysedig yn y meddwl fod y Jehofah yn edrych arnom gyda boddlonrwydd a thawelwch yn Nghrist Iesu. Ni byddai un nefoedd yn nghymydogaeth gorsedd yr Hollalluog, heb fod ynom y teimlad ei fod yn edrych arnom gyda boddhad a phleser yn ei Fab. Y gwirionedd yw, nid oes neb yn gallu caru Duw er ei fwyn ei hun nes yr enillir hwynt yn gyntaf i'w garu mewn cysylltiad ag amlygiad o drugareddau. Pwy wrth natur a all ymhyfrydu mewn santeiddrwydd pur? Nid oes dim serch yn mynwes dyn llygredig a thruenus at ddim sydd yn brydferth ac ardderchog yn y Bod anfeidrol. Nid oes ynddo deimlad o barch at Fod anweledig a gogoneddus. Y mae yn ymgadw ac yn ymlynu wrth y pethau a welir, i'r dyben o gladdu ei hun mewn annghof o'i Greawdwr: dyna y pryd y mae fwyaf yn ei elfen, pan y mae gydag arferiadau sydd yn ei gadw yn y teimlad pellaf oddiwrth yr Arglwydd. Y mae rhyw oerfelgarwch, atgasrwydd, ac arswyd yn ymgymysgu â phob meddwl am y Goruchaf o fewn y dyn. Mae yn well ganddo fyw byth yn y

byd hwn, a chymeryd y pethau sydd ynddo yn unig yn gysur a dedwyddwch, yn hytrach na myned i wydd Duw, neu yn agosach ato nag ydyw yn awr. Mae yn edrych yn y blaen ar angau gyda dychryn a braw, am fod yr amgylchiad hwnw yn dyfod ag ef yn agos at Dduw. Nid oes dim ag y mae yr annuwiol yn arswydo cymaint ag agosâd at Dduwdod. Y byd hwn yw ei gartref ef, a dynion y byd hwn, y rhai sydd yn ddibris o'r nefoedd, yw ei gyfeillion; ac oni bai fod arno ofn uffern, ni ymostyngai i awdurdod y nefoedd mewn dim. Mae yn anmhosibl i ddyn garu unrhyw wrthddrych, pob meddwl am yr hwn sydd yn ei lanw ag arswyd, braw, a pherygl. Eithr, fy nghyfeillion, os gellwch edrych ar Dduw yn Nghrist Iesu yn cymodi eich eneidiau, ac yn maddeu eich holl bechodau, y mae hyn yn effeithio hapusrwydd a thangnefedd, nes peri i'r enaid dynu ato gan waeddi, "Yn wir, tyred, Arglwydd Iesu." O dan ddylanwad maddeuant mae yr enaid yn rhedeg at Dduw, gan ddywedyd, "Ti yw fy Nhad, a Chraig fy iachawdwriaeth." Bendigedig! Pa fwyaf o Dduw, a pha agosaf ato y mae fy enaid tlawd, mwyaf byth yw fy hyfrydwch a'm dedwyddwch. Gogoniant! Tyred yn nes. Mae gwedd dy wyneb grasol y fynyd hon bron yn tynu fy enaid o fy nghorph. Teimlad o faddeuant, dyma ddigon; dyma gysur cryf mewn gorthrymderau a chyfnewidiadau y byd presenol. "Cymerwch gysur; maddeuwyd i chwi eich pechodau."

# PREGETH XVI.

## COSPEDIGAETHAU TRYMION YN GANLYNIAD I ESGEULUSIAD MANTEISION MAWRION.

"Yna y dechreuodd efe edliw i'r dinasoedd yn y rhai y gwnaethid y rhan fwyaf o'i weithredoedd nerthol ef, am nad edifarhasant. Gwae di, Corazin: gwae di, Bethsaida: canys pe gwnaethid yn Tyrus a Sidon y gweithredoedd nerthol a wnaethpwyd ynoch chwi, hwy a edifarhasent er ys talm mewn sach-lian a lludw. Eithr meddaf i chwi, Esmwythach fydd i Tyrus a Sidon yn nydd y farn nag i chwi. A thydi Capernaum, yr hon a ddyrchafwyd hyd y nef, a dynir i lawr hyd yn uffern; canys pe gwnaethid yn Sodom y gweithredoedd nerthol a wnaethpwyd ynot ti, hi a fuasai yn aros hyd heddyw. Eithr yr ydwyf yn dywedyd i chwi, Y bydd esmwythach i dir Sodom yn nydd y farn nag i ti," Mat. xi. 20—24.

Dwy ddinas oedd Corazin a Bethsaida, yn nhalaeth Galilea, heb fod yn mhell oddiwrth eu gilydd, ond yn unig fod llyn Geneseret yn rhanu rhyngddynt. Yr oedd Capernaum rhwng y ddwy, ar yr un ochr i'r llyn a Bethsaida. Bethsaida oedd dinas Phylip, Andreas, a Pedr, Ioan i. 44. Yma y dechreuodd Ioan Fedyddiwr bregethu, a llawer o'r apostolion; ïe, Crist ei hun. Yr oedd presenoldeb Crist yn aml yn y ddinas hon, ac yma y cyflawnodd y rhan fwyaf o'i weithredoedd nerthol, y pregethodd bregethau rhyfeddol, ac y gwnaeth wyrthiau dwyfol. Mae yr Arglwydd Iesu yn y testun yn cyfarch trigolion y lleoedd hyn fel rhai wedi cael y manteision a'r breintiau mwyaf,—"wedi eu dyrchafu hyd y nef," mewn cymhariaeth. Nid yw yn edliw iddynt am beidio canmol y pregethwyr, a dyrchafu yr areithwyr; eithr "am nad edifarhasant."

Yr oedd Tyrus a Sidon wedi eu poblogi gan baganiaid o'r fath waethaf, y rhai oeddynt yn byw mewn tywyllwch ac eilun-addoliaeth. "Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Am dair o anwireddau Tyrus, ac am bedair ni throaf ymaith ei chosp hi; o herwydd iddynt roddi i fyny gwbl o'r gaethiwed i Edom, ac ni chofiasant y cyfamod brawdol," Amos i. 9. Yr oedd trigolion Tyrus a Sidon, o herwydd eu haflendid a'u ffieidd-derau, yn atgas gan yr Iuddewon; eto y mae ein Iachawdwr yn dywedyd wrthynt eu bod hwy yn waeth, a'u sefyllfa yn fwy ofnadwy a dychrynedig na'r paganiaid ffiaidd hyny, pa rai oeddynt yn cael eu hystyried yn rhy frwnt i gael eu cymeryd i mewn i un gymdeithas. "Y mae trigolion Tyrus a Sidon yn ffiaidd yn eich golwg chwi; eithr yr ydwyf yn dywedyd i chwi eich bod yn ffieiddiach yn ngolwg Duw

nag ydyw y dinasoedd hyn yn eich golwg chwi; a bydd eich cospedigaeth yn drymach na'r eiddynt hwy yn nydd y farn. 'Hwy a edifarhasent er ys talm' pe buasent wedi cael eich manteision chwi." Mae rhai yn dywedyd oddiwrth y geiriau hyn fod Duw yn rhoddi gallu i edifarhau i bob dyn sydd yn clywed yr efengyl. Nid yw y testun yn dywedyd y buasent yn edifarhau i fywyd, eithr "mewn sach-lian a lludw." Mae efe yn awgrymu wrth hyny y buasent yn fwy teimladwy o lawer na'r Galileaid hyn, y rhai ni ddarfu ddangos teimlad o herwydd eu pechodau. Dangosodd gwŷr Ninefeh deimlad mawr yn wyneb cenadwri Duw atynt trwy y prophwyd Jonah: dangosasant fwy o deimlad o lawer nag y dangosodd yr Iuddewon o dan holl bregethau yr Arglwydd Iesu; am hyny hwy a "godant yn y farn gyda'r genedlaeth hon, ac a'i condemniant hi." "A gwŷr Ninefeh a gredasant i Dduw, ac a gyhoeddasant ympryd, ac a wisgasant sach-lian, o'r mwyaf hyd y lleiaf o honynt," Jonah iii. 5. Syrthiodd Ahab i lawr i'r llwch yn wyneb bygythion Duw; eto nid oedd ei edifeirwch yn un i fywyd. "A phan glybu Ahab y geiriau hyn, efe a rwygodd ei ddillad, ac a osododd sach-lian am ei gnawd, ac a ymprydiodd, ac a orweddodd mewn sach-lian, ac a gerddodd yn araf," 1 Bren. xxi. 27.

Nid oes neb yn gwadu gallu mewn ewyllys dyn i gyflawni gweithredoedd moesol, eto y mae yn analluog, trwy bechod, i edifarhau yn dduwiol am bechodau, ond yn unig trwy gynorthwy yr Ysbryd Glân. Mae Crist yn llefaru wrthynt fel dyn, fel pregethwr, fel cenadwr o'r nefoedd, gan ddywedyd, "Y mae yn ddigon tebyg, pe buasai Tyrus a Sidon wedi cael cymaint o fanteision a chwi, er mor llygredig ac annuwiol yr ydych chwi yn eu cyfrif, y buasent ryw lawer o'ch blaen. Buasent wedi ymostwng mewn sach-lian a lludw; yn allanol, beth bynag; ac y mae ymostyngiad allanol wedi troi barnau tymhorol ymaith lawer gwaith. Er i chwi yn Capernaum fwynhau cymaint o freintiau a manteision, a gweled cynifer o weithredoedd nerthol a gogoneddus, y mae eich calonau wedi y cwbl yn galetach nag eiddo Sodom a Gomorrah, y rhai a losgwyd â thân a brwmstan." Yr oedd y Sodomiaid yn euog o bechodau echryslawn a gwarthus, pechodau yn erbyn deddfau natur yn gystal a deddfau moesoldeb; pechodau sydd yn warth i'w henwi, chwaithach eu hymarferyd. Diystyrasant, mae yn wir, esiampl grefyddol Lot, yr hwn oedd yn poeni ei enaid cyfiawn wrth weled "anniwair ymar-

weddiad yr anniweiriaid." Eithr nid oedd y Sodomiaid erioed wedi gweled Mab Duw yn eu plith fel y rhai hyn, a gweled ei weithredoedd nerthol, y rhai oeddynt yn cadarnhau o flaen eu llygaid y gwirioneddau a bregethodd. Mae Bethsaida, gan hyny, yn llai esgusodol na Sodom, ac i ddysgwyl trymach ymweliadau a chospedigaethau oddiwrth y Barnwr cyfiawn. Gall y cyfryw ag sydd wedi dirmygu gras tyner yr efengyl ddysgwyl barnau trymach na'r Sodomiaid ffiaidd.

Y mae Crist yn enwi Capernaum yn benodol o herwydd ei bod dan fwy o euogrwydd na Tyrus a Sidon. "A thithau Capernaum, yr hon a ddyrchafwyd hyd y nef, a dynir i lawr hyd yn uffern." "Yr hon a ddyrchafwyd hyd y nefoedd." Nid mewn gogoniant allanol, eithr mewn breintiau crefyddol. Yr oedd Crist wedi bod yno, ac wedi gwneyd gwyrthiau lawer yn eu gwydd hwynt; er hyny i gyd nid edifarhasant. Mae yr Arglwydd Iesu, chwi welwch, yn datgan ei anfoddlonrwydd yn uniongyrchol yn erbyn Capernaum, fel y ddinas oedd wedi esgeuluso fwyaf o fanteision. Mae efe yn edliw i'r dinasoedd eraill am nad edifarhasant; eithr yn cyfeirio at Capernaum yn fwy penodol a phendant. "Tithau Capernaum, yr hon a ddyrchafwyd hyd y nefoedd, a dynir i lawr hyd yn uffern." Mae Crist yma fel pe byddai yn sefyll gogyfer a Capernaum, gan ysgwyd ei ben, cau ei ddwrn, crebychu ei aeliau, ac yn dywedyd, "Capernaum, Capernaum, tydi yw y mwyaf euog o bawb; tydi fydd â'r lle poethaf yn uffern; er dy fod wedi dy 'ddyrchafu hyd y nefoedd.'" Fe'th "dynir i lawr hyd yn uffern," neu, fe'th hyrddir gyda grym dwyfol i lawr i'r pydew diwaelod. O gwymp ofnadwy, cwympo o'r nefoedd yn mron i ddyfnderau uffern isod! Beth sydd gyfuwch â'r nefoedd? Dim. Beth sydd mor ddwfn ag uffern? Dim. Dyma gwymp o'r uchder mwyaf i'r dyfnder mwyaf. Och, "ei gwymp a fydd mawr." Sylwch, moddion gras, a mwynhad o freintiau yr efengyl, yw y dyrchafiad uchaf ag y mae yn bosibl ei gael byth ar y ddaear; gan hyny y cam-arferiad o honynt sydd yn tynu y barnau trymaf ar ddyn ac ar wlad. Y mae yn ymddangos oddiwrth y testun—

I. Fod dydd barn i fod, yn yr hwn y gosodir pob peth yn ei le. Rhyw ddydd ydyw at gyflawni a pherffeithio y cwbl. Yr oedd cosp Sodom yn ofnadwy yn y bywyd hwn, ond yn nydd y farn bydd wedi ei pherffeithio mewn corph ac enaid am byth. Nid oes dim wedi ei berffeithio nes dyfod y dydd hwnw. Mae eu heneidiau yn uffern yn awr,

ond mae rhan o honynt yma yn y bedd. Llosgwyd eu cyrph yn ulw ar y ddaear, diangodd eu heneidiau rhag y tân hwnw i dân tragywyddol, a diangodd eu cyrph rhag tân tragywyddol mewn tân amserol. Eithr yn nydd y farn y bydd corph ac enaid wedi eu hail uno i fyned o dan yr un ddedryd dragywyddol; i gyd-ddyoddef tân a brwmstan yn oes oesoedd. Mae satan yn cael ei gadw mewn "cadwynau tragywyddol" hyd farn y dydd mawr; nid ydyw ei fater ef wedi ei lwyr benderfynu, a'i gosp wedi ei llwyr weinyddu; y mae mewn cadwynau yn aros y sesiwn. Y mae cadwynau tywyllwch am dano yn awr; y mae yn garcharor yn nwylaw cyfiawnder yn bresenol; ond nid ydyw o dan weinyddiad hollol ac eithaf y farn eto. Mae dydd y farn i fod, ac yna y gosodir pob peth yn ei le am byth. Mae cyfiawnder Duw gan hyny yn dysgwyl dydd barn, fel y gosodir pob peth yn iawn; a rhoddi i bawb eu priod wobr. Ni bydd un anhawsder i benderfynu yn y dydd hwn; ni bydd neb yn taeru ac yn dadleu yn erbyn penderfyniadau y llys, canys y mae gan gyfiawnder dyst yn mhob cydwybod. Pan oedd Paul yn ymresymu am y farn a fydd, dychrynodd Felix, er ei fod yn bagan; yr oedd tyst o'i fewn gan gyfiawnder.

Nid yn unig y mae *barn*, ond hefyd y mae *uffern*, fel y gallwn ddeall wrth y testun. "A dynir i lawr hyd yn uffern." Mae rhai yn deall wrth "uffern" yn y testun ryw ddinystr tymhorol, neu ryw amgylchiad marwol, er cario Capernaum fel lle i dir annghof, a'i chladdu o'r golwg; yr hyn a wnawd wedi hyn gan yr Assyriaid, a'r Caldeaid, a'r Rhufeiniaid. Mae yn eglur fod gwrthod yr efengyl yn dyfod â barnau tymhorol ar leoedd; y maent yn waeth yn y byd hwn o herwydd gwrthod yr efengyl. Cafodd yr Iuddewon gynyg maddeuant am groeshoelio Crist; ond pan wrthodasant y mae yr apostol yn eu gadael, ac yn troi at y Cenedloedd. Gadawodd Duw ddim o honynt, er croeshoelio ei Fab; eithr pan wrthodasant ei Fab wedi hyny, y mae efe yn eu gadael. Wedi gwrthod o honynt yr efengyl, dacw hen Jerusalem yn dechreu adfeilio, ac yn fuan ar ol hyn y dinystriwyd hi gan y Rhufeiniaid; a'r Iuddewon a wasgarwyd i blith yr holl genedloedd, ac y maent yn gorwedd dan felldith hyd y dydd hwn. Yr oedd y Paganiaid yn yr hen oesoedd yn codi dadl yn erbyn Cristionogaeth o herwydd ei bod yn dyfod a phläau i'r wlad, ac yn tywallt barnau ar y ddaear. Mae hyn yn ddigon gwir, canys y mae Cristionogaeth wedi dyfod â'r

barnau trymaf i'r ddaear, eithr o herwydd ei gwrthod hi. Derbyniwch yr efengyl, ac yna hi dry holl felldith y ddaear yn fendithion; ond os gwrthodwch hi, bydd ei melldith ar y tŷ hwnw neu y ddinas hono yn drymach nag un felldith arall. Mae yr efengyl yn curo y gwas drwg, yr hwn a wybu ewyllys ei arglwydd ac nis gwnaeth, "â llawer ffonod." Mae y gwas hwn yn haeddu, ac yn cael llawer ychwaneg o ffonodiau na'r hwn ni wybu ewyllys ei arglwydd: er gwneuthur o hwnw bethau yn haeddu ffonodiau, ond nid y filfed ran gymaint â'r gwas arall; am hyny efe a gurir ag ychydig ffonodiau mewn cymhariaeth i'r cyntaf.

Eithr yn gymaint a bod Crist yn siarad am ddydd y farn yn flaenorol, y mae yn ddigon tebyg wrth "uffern" yn y testun y meddylir lle cospedigaeth yr annuwiol. Mae uffern yn bod i'r annuwiol; lle o gospedigaeth am bechod i dragywyddoldeb. Nid yn unig fe fydd uffern yn drigle Sodom, Gomorrah, Tyrus, a Sidon, eithr Corazin, Bethsaida, a Capernaum hefyd. Mae trigolion gwlad efengyl mewn perygl o fyned i uffern; a'r uffern waethaf o gwbl. Esgeuluswyr manteision mawrion yr efengyl sydd yn y perygl mwyaf. Mae llawer yn y dyddiau hyn yn pregethu eu hunain i uffern, yn gweddio eu hunain i uffern, yn cymuno eu hunain i uffern, ac yn canu eu hunain i uffern. Och! fe fydd dydd y farn ac uffern yn ofnadwy i bob annuwiol, ond fe fydd i rai yn llawer drymach nag i eraill yno: bydd rhai annuwiolion yn syrthio o dan farnau mwy dychrynllyd na'u gilydd. Mae tywyllwch i rai, a thywyllwch *eithaf* i eraill. Mae yr Arglwydd Iesu yn dywedyd fod rhyw ddyn yn cael ei wneyd yn "fab uffern," yn ddau mwy na'r rhai ag sydd yn ei broselytio. "Gwae chwi ysgrifenyddion a Phariseaid, ragrithwyr; canys amgylchu yr ydych y môr a'r tir, i wneuthur un proselyt; ac wedi y gwneler, yr ydych yn ei wneuthur ef yn fab uffern yn ddau mwy na chwi eich hunain," Mat. xxiii. 15. Mae rhai yn amheu a fydd graddau o ogoniant yn y nefoedd ai peidio, fel y mae graddau mewn cospedigaeth yn uffern. Yr wyf fi yn meddwl fod hyn yn ddigon amlwg yn y Bibl. "Yr hwn a dâl i bob un yn ol ei weithredoedd: sef i'r rhai trwy barhau yn gwneuthur daioni, a geisiant ogoniant, ac anrhydedd, ac anllygredigaeth; bywyd tragywyddol: eithr y rhai sydd gynenus, ac anufudd i'r gwirionedd, eithr yn ufudd i annghyfiawnder, y bydd llid a digofaint: trallod ac ing ar bob enaid dyn sydd yn gwneuthur drwg; i'r Iuddew

yn gyntaf, a'r Groegwr hefyd." "Eithr dywedaf wrthych, mai esmwythach fydd i Sodom yn y dydd hwnw, nag i'r ddinas hono;" Rhuf. ii. 6; Luc x. 12.

Y mae rhan yr *anffyddloniaid* yn waeth na rhan unrhyw bechaduriaid eraill. Mae gwobr a chosp yn cael eu gweinyddu yn ol mesur. Mae gweithredoedd da a drwg yn cael eu pwyso, a bydd gwobr a chosp yn ol yr hyn a wnawd yn y corph i'r gronyn. Pa fwyaf y pechodau, mwyaf hefyd y cospedigaethau. Mae geiriau ein Harglwydd Iesu yn y testun yn llwon; ac fe saif pob "iot a thipyn." Clywch beth y mae yn ei ddywedyd: "Bydd yn esmwythach i Sodom a Gomorrah yn nydd y farn, nag i Corazin, Bethsaida, a Capernaum." Gallwn edrych ar Sodom a Gomorrah yn y testun fel yn cynnrychioli y byd paganaidd, a Corazin, Bethsaida, a Capernaum yn cynnrychioli y byd Cristionogol, neu y cyfryw ag sydd wedi cael cynyg ar efengyl, ac wedi ei gwrthod: ac mai y rhai gwaethaf eu sefyllfa yn nydd y farn fydd y rhai gafodd gynyg ar efengyl, ac a wrthodasant ei thrysorau. Y rhai hyny a glywsant bregethu Crist, ac a ddiystyrasant y genadwri, yw y rhai y bydd y gawod frwmstanaidd yn syrthio drymaf arnynt. Ië, bydd yn waeth arnynt na phobl Sodom, y rhai a gyfrifid y mwyaf drygionus yn mhlith yr holl baganiaid; ïe, yn waeth na Tyrus a Sidon. Nid yw Capernaum yn cael ei chyhuddo o fod yn euog o bechodau haerllug a ffiaidd Sodom; buasai hyny yn annheg, canys buasai yn gywilyddus ganddi arfer y fath weithredoedd ysgeler; eto bydd cosp Capernaum yn drymach, o herwydd gwrthod iachawdwriaeth, na chosp Sodom, am yr holl bechodau ffiaidd a gwarthus yr ymdrochodd ynddynt. "Yr wyf yn dywedyd i chwi, y bydd yn haws i Sodom a Gomorrah yn nydd y farn nag i chwi."

Y mae yr Arglwydd Iesu yn enwi Sodom a Gomorrah, a Tyrus a Sidon, fel y pechaduriaid bryntaf yn mhlith y paganiaid, i'r dyben o ddangos nad ydyw y pechodau gwaethaf yn mhlith y paganiaid gwaethaf, y rhai ag sydd yn cael eu ffieiddio gymaint gan bawb, yn ddim mewn cymhariaeth at y pechod o wrthod yr Arglwydd Iesu yn Geidwad, yn wyneb cynygiad yr efengyl o hono. Y mae Sodom yn cynwys yr holl ddinasoedd a ddinystriodd Duw am eu pechodau ffiaidd. Nid pechodau bychain oedd pechodau y dinasoedd hyn, canys y maent yn rhy ffiaidd ac atgas i'w henwi, ac yn rhy frwnt i'w goddef ar y ddaear; gorfu i'r Duw mawr

ddinystrio y dinasoedd â thân a brwmstan o'r golwg. Mae dinasoedd gwastadedd yr Iorddonen, sef Gomorrah, Adma, Seboim, yn cael eu cynwys oll yn yr enw Sodom; y rhai hefyd a ddinystriwyd oll. Yr ydoedd yn wlad ffrwythlon, ïe, y ffrwythlonaf yn y gwledydd. cyn ei dinystrio â thân o'r nefoedd. Yr oedd Capernaum hefyd yn lle hyfryd a ffrwythlon, yn ddeheu-ogledd i Canaan, ac yn cael ei galw yn "gae llawenydd." Yr oedd y lleoedd hyn yn barod i ymdori o dan ffrwythlondeb naturiol; canys yn yr ystyr hyn yr oeddynt wedi cael eu bendithio y tu hwnt i'r rhan fwyaf o wledydd. Eto, er eu bod yn fendigedig mewn natur, yr oeddynt yn felldigedig yn ysbrydol. Yr oeddynt yn llwythog o fendithion tymhorol, ac eto yn llwythog o felldithion tragywyddol ar yr un pryd. Mae hi yn fynych fel hyn; y mae dynion yn llwyddo yn y byd, ac yn aflwyddo mewn pethau ysbrydol a thragywyddol. Mae llawer yn gwneyd eu *ffortiwn* ar drothwy uffern. *There are many making their fortunes on the threshold of hell.*

Y mae ein Iachawdwr yn y testun yn cydnabod fod pechodau Sodom yn fawr iawn, ond fod pechodau Capernaum yn fwy. Yr oedd pechodau Sodom yn erbyn goleu natur, yn rhy ffiaidd eu henwi; eithr yr oedd pechodau Capernaum yn erbyn goleu yr efengyl; yr oedd pechodau Sodom yn bechodau anifeilaidd, eithr yr oedd pechodau Capernaum yn bechodau ysbrydol; ac y mae pechodau ysbrydol yn fwy ofnadwy, yn gyffredin, na phechodau anifeilaidd. Yr oedd Sodom yn pechu yn erbyn deddfau natur, ond yr oedd Capernaum yn pechu yn erbyn goleu gweinidogaeth yr Hwn "oedd yn llefaru o'r nef," ac yn erbyn ei weithredoedd nerthol ef, y rhai a gyflawnwyd yn y ddinas mor aml. Er mwyn deall yn well, fy nghyfeillion, beth yw mawredd y pechod o wrthod yr efengyl, rhaid i ni gydmaru Sodom, Tyrus a Sidon, a Capernaum, â'u gilydd. Y mae yr Arglwydd Iesu yn caniatau fod pechodau Sodom yn fawr iawn, ïe, y mwyaf o baganiaid y byd; ond fod pechodau Capernaum yn fwy, o herwydd gwrthod yr efengyl. Gwrthod yr efengyl, gan hyny, yw y pechod mwyaf yn y byd.

"Bydd yn esmwythach i dir Sodom yn nydd y farn, nag i chwi." Nid ydyw yr Arglwydd yn esgusodi Sodom wrth ddywedyd felly; na, pechodau bryntion oedd yr eiddo Sodom. "A dynion Sodoma oeddynt ddrygionus, ac yn pechu yn erbyn yr Arglwydd yn ddirfawr," Gen. xiii. 13. Ac y mae yr Argl-

wydd, wrth geryddu yr Iuddewon am eu pechodau, yn dywedyd eu bod cynddrwg a phechodau Sodom. "Ac ar brophwydi Jerusalem y gwelais beth erchyll; tori priodas, a rhodio mewn celwydd: cynorthwyant hefyd ddwylaw y drygionus, fel na ddychwel neb oddiwrth ei ddrygioni: y mae y rhai hyn oll i mi fel Sodoma, a'i thrigolion fel Gomorrah," Jer. xxiii. 14. Mae llywodraethwyr drygionus Israel, y rhai oeddynt wedi myned yn rhy ddrwg i'r Arglwydd eu goddef yn hŵy, yn cael eu galw yn Sodomiaid. "Gwrandewch air yr Arglwydd, tywysogion Sodoma; clywch gyfraith ein Duw ni, pobl Gomorrah," Esay i. 10.

Gofidiodd ddrygioni y Sodomiaid enaid cyfiawn Lot; yr oeddynt yn ymhyfrydu yn y pechodau mwyaf damniol; eu gogoniant penaf oedd eu pechodau mwyaf haerllug; ac yr oeddynt yn fwyaf llawen pan yr oedd Duw Abraham yn fwyaf digofus. Yr oedd pob pechod mewn arferiad yn eu plith, ac yn cynyddu yn fawr. Yr oedd balchder yn uchel iawn yn Sodom, yr hen bechod ddarfu lwyddo i droi angylion y gogoniant yn gythreuliaid. Mewn cysylltiad â balchder, y mae diogi a diffrwythder yn dyfod i mewn, y rhai sydd yn arwain i bob drygioni dan y nefoedd. Pan y mae dynion yn rhy falch i weithio nac i gardota, y mae yn rhaid lladrata, neu rywbeth cyffelyb. Y mae hwn yn bechod llwyddianus yn llaw satan i droi dynion yn gythreuliaid fel ei hunan.

> "For satan finds some mischief still
> For idle hands to do."

Y mae y pechod hwn yn tagu pob rhinwedd, ac yn meithrin pob llygredigaeth yn y natur, ac yn llunio cymeriad dyn yn anaddas i bob man ond i uffern. Mae y coedydd yn tyfu, a'r ffrwythydd yn addfedu ar wastadedd Sodom; eithr y dynion yn pydru, ac yn crino i dân a brwmstan ac i dân uffern byth. Natur oddiallan yn edrych yn dda, a'r dynion yn duo fel y gloyn, ac yn addfedu i ddinystr tragywyddol. Y mae yn warth i bechadur gymeryd pechodau Sodom yn ei enau. "O ba herwydd, Duw hefyd a'u rhoddes hwy i fyny yn nhrachwantau eu calonau, i aflendid, i anmharchu eu cyrph eu hun yn eu plith eu hunain: y rhai a newidiasant wirionedd Duw yn gelwydd. Ac megys nad oedd yn gymeradwy ganddynt gadw Duw yn eu gwybodaeth, Duw a'u rhoddes i fyny i feddwl annghymeradwy, i wneuthur y pethau nid oedd weddaidd; wedi eu llenwi â phob annghyfiawnder, godineb, cynen, twyll, drwg-anwydau," Rhuf. i. 24—29.

Nid oedd y Sodomiaid yn ceisio cuddio eu pechodau haerllug; ond yn hytrach yn ymogoneddu yn eu cywilydd, ac yn llawenychu yn eu haerllugrwydd. Mae rhyw obaith os bydd cywilydd o herwydd pechodau; eithr unwaith yr elo dynion yn ddigywilydd, ïe, yn ymffrostgar o herwydd eu pechodau, y mae sefyllfa y cyfryw yn ymddangos yn anobeithiol; y maent fel pe baent wedi eu sicrhau yn feddiant i ddiafol. "Yr anwir ni fedr gywilyddio." "A ydoedd arnynt hwy gywilydd pan wnelent ffieidd-dra? Nid ydoedd arnynt hwy ddim cywilydd, ac ni fedrant wrido; am hyny y cwympant yn mysg y rhai a gwympant; yn yr amser yr ymwelwyf â hwynt y cwympant, medd yr Arglwydd;" Seph. iii. 4; Jer. vi. 15. Maent yn gorfoleddu yn eu pechodau, ac yn chwerthin am ben eu gweithredoedd mwyaf cywilyddus. Y pechadur mwyaf haerllug ac ymffrostgar oedd fwyaf ei barch mewn cymdeithas. "A dull eu hwynebau hwynt a dystiolaetha yn eu herbyn, a'u pechod fel Sodoma a fynegant, ac ni chelant: gwae eu henaid, canys talasant ddrwg iddynt eu hunain," Esay iii. 9. Nid oes dim yn digio y nefoedd gymaint a gwneuthur drygioni a gorfoleddu ynddo. Mae y dyn yn gosod y dref ar dân, ac yn chwerthin am ben y dinystr. Fel y gwnaeth Nero pan gosododd Rhufain ar d`n, yn encilio y naill ochr, ac yn chwerthin wrth edrych ar y fflamiau. Y Duw mawr, gwared feibion gwragedd rhag bod mor ofnadwy o ddrygionus a hyn! Nid oedd neb ond cythreuliaid yn nghrwyn dynion, neu drigolion Capernaum, yr hon a ddyrchafwyd hyd y nefoedd, a allasai ddyfod i fyny â'r Sodomiaid mewn pechodau.

Mae y testun yn dywedyd, er holl ddrygioni Sodom a Gomorrah, a Tyrus a Sidon, fod Capernaum, yn yr un weithred o wrthod yr efengyl, yn fwy ei heuogrwydd na hwynt oll. Mae yn anmhosibl i gyflawni pechod mor fawr a gwrthod Mab Duw, a "barnu yn aflan waed y cyfamod, a difenwi Ysbryd y gras." Mae yn wir fod barnau ofnadwy wedi dyfod ar Sodom am ei phechodau; eithr y mae barnau trymach i ddyfod ar Capernaum. "Yr wyf yn dywedyd i chwi y bydd yn esmwythach ar Tyrus a Sidon yn nydd y farn, nag i chwi." Llosgwyd Sodom â thân a brwmstan o'r nefoedd, y mae yn wir; barn ddychrynllyd oedd hon, a swn dychrynllyd ydyw yn ein clustiau; y mae yn swnio fel tân uffern, ac yn sawru o farwolaeth dragywyddol. Yr oedd dinystr Sodom yn arwyddlun ac yn bortreiad o dân uffern; uffern ar y ddaear

ydoedd. Y mae gan Dduw farnau o wahanol natur i'w gweinyddu ar ddynion drwg yn y byd hwn. Gall ddanfon byddin o lau, neu genllysg, neu lyffaint i'n dinystrio, os ewyllysia; fel y gwnaeth â Pharaoh. Tynodd yr hen fyd trwy y dwfr i'w oeri; boddodd y cwbl, ond cymaint ag oedd yn yr arch. Tân a brwmstan y mae yn ddefnyddio at Sodom; eithr nid ydyw wedi treulio y cwbl eto; canys y mae cawod drymach o dân a brwmstan na fu erioed yn aros i'w thywallt ac i wlawio byth ar ddirmygwyr yr efengyl.

Daeth y farn yn annysgwyliadwy ar Sodom, pan nad oeddynt yn meddwl. Nid oeddynt yn meddwl am ddim ond diwrnod teg; canys nid oedd cymaint a chwmwl du er arwyddo gwlaw; eithr yr haul yn codi yn ddysglaer, y nefoedd yn ymddangos yn deg; a hwythau yn ymhyfrydu yn nghanol eu drygioni fel arfer. Nid oeddynt yn dysgwyl cawod o wlaw, chwaithach cawod o dân a brwmstan. O Arglwydd, y mae miloedd o wrandawyr yr efengyl, yr wyf yn ofni, yn syrthio i dân uffern o ganol eu pechodau, pan yn hollol ddifeddwl o berygl. "Canys pan ddywedant, Tangnefedd a dyogelwch; yna y mae dinystr disymwth yn dyfod ar eu gwarthaf, megys gwewyr esgor ar un a fo beichiog, ac ni ddiangant hwy ddim," 1 Thes. v. 3. Y mae barnau Duw, pan y delont, yn anwrthwynebol; nid oes modd i'w gwrthsefyll, ac y mae yn rhy ddiweddar i'w hysgoi. Pwy allasai wrthsefyll brwmstan llosgedig yn dyferu i lawr o'r nefoedd ar Sodom? Mae tai yn gallu cysgodi pan y mae yn gwlawio dwfr, ond pan y mae hi yn gwlawio tân a brwmstan, y maent yn myned ar dân; y mae pob noddfa yn llosgi, ond y Gwr hwnw yn unig sydd yn "gysgod rhag y gwynt, a rhag y gwlaw." Bendigedig, am un man lle y gellir ein cuddio byth. Bydd "noddfa i'w blant ef." Diolch. Eithr y mae dinystr yr annghredadyn yn sicr ac yn anocheladwy. "Canys pwy a saif o'i flaen ef pan enyno ei lid?" Daw dinystr yr annuwiol oddiwrth yr Arglwydd yn llwyr ac am byth.

"Hir yr erys Duw cyn taro,<br>Ond llwyr y dial pan y delo."

Pan y darfu i'r Arglwydd Iesu felldithio y ffigysbren ddiffrwyth, yr oedd yn felldith lwyr a hollol. "A phan welodd efe y ffigysbren ar y ffordd, efe a ddaeth ato, ac ni chafodd ddim arno ond dail yn unig: ac efe a ddywedodd wrtho, Na thyfed ffrwyth arnat byth mwyach. Ac yn ebrwydd y crinodd y ffigysbren," Mat. xxi. 19. Felly pan y melldithodd yr

Arglwydd wastadedd yr Iorddonen, efe a losgodd bob cnawd yn llwyr, fel na byddai gweddill o'u hiliogaeth ar y ddaear. Yr oedd byddin Pharaoh yn ddau cant a haner o filoedd, ond cuddiwyd hwynt yn llwyr yn y dyfroedd, fel na adawyd un o honynt i ddychwelyd i adrodd yr hanes. O ddinystr ofnadwy! Beth! dim un o'r holl filoedd yn cael ei arbed i adrodd yr hanes? Na, dim un. "Gan dy gerydd di, O Dduw Jacob, y rhoed y cerbyd a'r march i gysgu," Sal. lxxvi. 6. Eithr yr ydoedd dinystr Sodom yn fwy llwyr na hyn; canys yr oedd Aiphtiaid gartref i boblogi y wlad eilwaith; ond llwyr ddiwreiddiwyd y Sodomiaid o'r tir, fel nad oedd yr un o honynt mwyach. Dyfethwyd yr henwr, a'r gwr ieuanc, y fam, a'r plentyn sugno yn llwyr ac am byth oddiar y ddaear. "Er hyn oll ni lonyddodd ei lid ef, eto y mae ei fraich yn estynedig."

Dywedir fod hinsawdd Sodom wedi ei melldithio, a'r ddaear wedi myned o dan y fath gyfnewidiad, fel y mae yn ddiffrwyth hyd y dydd hwn. Yr hon oedd gynt fel gardd yr Arglwydd, yn llawn ffrwythlondeb, sydd yn awr yn anrhaith ac yn ddiffrwyth. Y mae y ddaear i gyd, o herwydd pechod, dan felldith; eto mae yn dwyn drain a mieri o honi ei hun, a hi a ddyg ffrwythau cymhwys ond ei hamaethu yn dda; ond nid wyf wedi darllen fod Sodom yn dwyn hyd y nod drain a mieri; y mae hon ddwywaith yn felldigedig, ac yn llwyr ddiffrwyth. "Am hyny fel mai byw fi, medd Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, Fel Sodoma y bydd Moab, a meibion Ammon fel Gomorrah: danadl-dir a phyllau halen, ac anghyfaneddle tragywyddol," Seph. ii. 9. Mae hen Ninefeh ardderchog o dan felldith heddyw hefyd o herwydd pechod, ac yn cael ei phreswylio gan ddylluanod a dreigiau, yn lle gan fawrion y byd. "Ac efe a estyn ei law yn erbyn y gogledd, ac a ddyfetha Assyria, ac a wna Ninefeh yn anghyfanedd, ac yn sych fel diffaethwch. A deadellau a orweddant yn ei chanol hi, holl anifeiliaid y cenedloedd; y pelican a'r dylluan a letyant ar gap y drws; eu llais a gân yn y ffenestri, anghyfanedd-dra a fydd yn y gorsingau; canys efe a ddynoetha y cedr-waith. Hon yw y ddinas hoyw oedd yn trigo yn ddiofal, yn dywedyd yn ei chalon, Myfi sydd, ac nid oes ond myfi: pa fodd yr aeth yn anghyfanedd, yn orweddfa anifeiliaid! Pawb a'r a êl heibio iddi a'i hwtia, ac a ysgwyd ei law arni," Seph. ii. 13—15. Mae Sodom dan fwy o felldith na Ninefeh; y mae hyd y nod y dylluan a'r dreigiau yn methu

preswylio yno. Mae Sodom fel halen wedi myned yn ddihallt, o ganlyniad heb fod yn "gymhwys i ddim, nac i'r tir nac i'r domen;" nid yw yn gymhwys i fod yn llety dreigiau, dylluanod, a bwystfilod gwylltion. Mae rhai wedi dweyd nas gall aderyn fyw ac ehedeg trwy yr awyr, ná physgodyn fyw yn y dwfr, ac mai am hyny y gelwir llyn Sodom "y Môr Marw." Mae rhai yn ei alw yn "fôr y diafol," o herwydd, meddant hwy, ei fod yn mygu hyd y dydd hwn. Beth bynag, dinystr llwyr iawn oedd dinystr y ddinas hon. Yr oedd ei swyddwyr, fel y werin, yn euog o'r holl ffieidd-derau oedd ynddi, a dinystriwyd y cwbl gyda'u gilydd.

Os na fydd y rhai sydd mewn awdurdod yn dyfod allan yn erbyn pechod, fe ddaw Duw ei hunan allan yn ei farnau ofnadwy; a phan y byddo pawb yn methu darostwng pechod, er ymegnio, y mae Barnwr y byd yn medru. Mae pob creadur yn barod wrth ei ewyllys i weinyddu ei ddeddfau cyfiawn, ac i dalu y pwyth i'w elynion. Dim ond iddo gyfeirio â'i fys, dacw dân a brwmstan wrth law i losgi a difa y cwbl o'i flaen. Yr oedd y Sodomiaid er ys ychydig yn ol yn berwi mewn nwydau; dacw hwynt yn awr yn berwi mewn tân a brwmstan. Y mae yr Arglwydd yn difa eu nwydau trwy dân a brwmstan. Mae yn cospi nwydau dyeithr â thân dyeithr. Gwlawiodd Duw ar Sodom dân a brwmstan; gwlawiodd ar yr Aipht "genllysg, ar ddyn ac anifail, ac ar holl lysiau y maes o fewn y tir." "A Moses a estynodd ei law tua'r nefoedd; a'r Arglwydd a roddodd daranau a chenllysg, a'r tân a gerddodd ar hyd y ddaear; a chyfododd yr Arglwydd genllysg ar dir yr Aipht. Felly yr ydoedd cenllysg, a thân yn ymgymeryd yn nghanol y cenllysg, yn flin iawn; yr hwn ni bu ei fath yn holl wlad yr Aipht," Exod. ix. 22—24. Tân a chenllysg oedd yn yr Aipht, eithr tân a brwmstan yn Sodom, na bu ei fath ar yr holl ddaear, oddiar pan y mae yn ddaear. "Gwlawiodd yr Arglwydd o fyny." Mae yr elfen dân i fyny fel i lawr; eithr nid oes brwmstan yn yr awyr. Fe allai i'r nefoedd fenthycio brwmstan gan y ddaear; a gorchymyn i'r haul ei sugno i fyny i ymgymysgu â thân y nefoedd, i wneyd y *dose* yr oedd yn myned i weinyddu i gleifion Sodom. Neu os ydoedd yn dewis, gallasai droi awyr yn frwmstan yr un mor hawdd a throi dwfr yn win. Yr oedd yr un mor hawdd iddo ef orchymyn i'r nefoedd wlawio tân a brwmstan ag oedd iddo orchymyn bydoedd i fod o ddim. Mae pob peth yn hawdd i'r Hollalluog. "Canys efe a ddywed wrth yr eira,

Bydd ar y ddaear; ac wrth gawod o wlaw, ac wrth wlaw mawr ei nerth ef," Job xxxvi. 6.

Y mae Sodom wedi myned ar dân bellach er ys llawer blwyddyn; "er hyn oll ni lonyddodd ei lid ef, eto y mae ei fraich yn estynedig." Mae llid Duw yn cynwys nid yn unig tân a brwmstan i ddifa Sodom, ond hefyd tân tragywyddol yn uffern; y mae pechod yn haeddu cosp dragywyddol. Mae tân a brwmstan Sodom yn arogli o dân a brwmstan tragywyddol. Mae yn ofnadwy i feddwl am y farn dragywyddol; y dydd mawr a ddaw, yr hwn fydd yn fil mwy ofnadwy i'r annuwiol na dim tân a brwmstan fu ar ein daear ni erioed. "Y farn a fydd!" y farn a fydd! O Arglwydd, y mae swn "y dydd" bron yn tori fy nghalon lawer diwrnod. Ond "pa le yr ymddengys yr annuwiol a'r pechadur?" Mae y trueni yn dyfod yn fwyfwy, yn drymach drymach o hyd; y mae yn fwy ofnadwy yn nydd y farn nag yn nghanol y tân yn Sodom. Ni bu tân a brwmstan Sodom i'r Sodomiaid yn ddim at dân a brwmstan y dydd diweddaf. Nid oedd y llosgi yn Sodom yn ddim at y llosgi byth yn y tân tragywyddol. Bydd eu trueni yn gyflawn y dydd hwnw; eu damnedigaeth yn llwyr; "cospedigaeth dinystr tragywyddol" fydd hwn. Mae diwrnod yn dyfod y bydd ei ganlyniadau y tu hwnt i bob darluniad. Och! "dechreuad gofidiau fydd hyn oll." Mae y gwaethaf yn ol; mae mwy o dân a brwmstan eto yn ol, a mwy annyoddefol fyrddiynau o weithiau. O bobl, diangfa, diangfa "rhag y llid a fydd." "Canys darparwyd Tophet er doe, ïe, parotowyd hi i'r brenin: efe a'i dyfnhaodd hi, ac a'i eangodd: ei chyneuad sydd dân a choed lawer; anadl yr Arglwydd, megys afon o frwmstan, sydd yn ei henyn hi," Esay xxx. 33. Tân tragywyddol ydyw, yr "hwn a barotowyd i ddiafol, ac i'w angylion," Mat. xxv. 4.

Y mae profedigaethau y saint yn y byd hwn yn ernes o orphwysfa dragywyddol yn y nefoedd; canys y rhai sydd yn hau mewn dagrau a fedant mewn gorfoledd; eithr y mae gofidiau a thrueni yr annuwiol yn rhagredegwyr, ac yn flaenbrawf trueni tragywyddol yn uffern; arogl tân a brwmstan tragywyddol ydynt. "Gofidiau lawer fydd i'r annuwiol; ond y neb a ymddiriedo yn yr Arglwydd, trugaredd a'i cylchyna ef," Sal. xxxii. 10. Rhyw arwyddlun gwan oedd y tân a'r brwmstan yn Sodom o'r tân a'r brwmstan yn uffern; yr hwn fydd yn ymborthi byth ar yr annuwiol. Nid oedd tân a brwmstan Sodom yn foddlonrwydd i gyfiawnder dwyfol; nid

oedd dinystrio eu cyrph oddiar y ddaear yn gallu dyhuddo llid y Barnwr; y mae yn rhaid iddynt fyw byth mewn byd arall, i dderbyn mewn corph ac enaid gospedigaeth dragywyddol. "Yr angylion hefyd, y rhai ni chadwasant eu dechreuad, eithr a adawsant eu trigfa eu hun, a gadwodd efe mewn cadwynau tragywyddol, dan dywyllwch i farn y dydd mawr." "Megys y mae Sodoma a Gomorrah, a'r dinasoedd o'u hamgylch, mewn cyffelyb fodd â hwynt wedi puteinio a myned ar ol cnawd arall, wedi eu gosod yn siampl, gan ddyoddef dialedd tân tragywyddol," Judas 7.

Y mae dynion drwg yn dymuno byw byth yn y byd hwn, fel y gallont bechu byth. Ond chwi gewch ddyoddef byth yn lle pechu byth. Mae yn gyfiawnder i'r rhai oedd yn pechu yn wastadol yn y byd hwn ddyoddef yn wastadol yn y byd a ddaw. Nid ydyw yr Arglwydd i chwareu ag ef, a'i *brofocio;* nid Duw o bren neu faen ydyw, yn annheimladwy o anrhydedd; gall ddyoddef yn hir, eithr efe a gyfyd yn y diwedd mewn hunan-amddiffyniad. "Yna y deffrôdd yr Arglwydd fel un o gysgu, fel cadarn yn bloeddio wedi gwin. Ac efe a darawodd ei elynion o'r tu ol; rhoddes iddynt warth tragywyddol," Sal. lxxviii. 65, 66. Drylliodd hwynt fel nad oedd meddyginiaeth byth mwyach. Mae eu cyrph wedi malurio yn y llwch; ond fe gasgl Duw bob rhan at eu gilydd yn yr adgyfodiad cyffredinol: bydd yn ddigon hawdd iddo ef ddyfod o hyd i bob rhan, pa un ai yn ngwaelodion y moroedd, neu yn y mynwentydd y byddont; a'u codi i fyny i fywyd drachefn. Mae yn haws iddo ef godi dyn marw o'i fedd nag yw i chwi godi dyn byw o'i wely. Wedi yr adgyfodir hwynt cânt eu hanfarwoli; caiff y "marwol wisgo anfarwoldeb;" fel y byddont yn alluog i losgi byth mewn tân a brwmstan heb farw mwy; yn deimladwy o'r poen dychrynllyd, ac eto heb ddifodiad; llosgfa dragywyddol, ac eto y sylwedd teimladwy heb ei ddifa. Diangfa, diangfa rhag y llid a fydd, cyn y darfyddo dydd gras. Ffowch i'r noddfa; mae yr ystorm dragywyddol ar y drws. "Nac aroswch ar yr holl wastadedd; brysiwch, diangwch yno."

Yn awr, fy nghyfeillion, er holl drueni Sodom a Gomorrah, Tyrus a Sidon, y mae barnedigaethau Capernaum yn drymach byth. "Yr wyf yn dywedyd i chwi, y bydd yn esmwythach i Tyrus a Sidon yn nydd y farn, nag i chwi. A thithau Capernaum, yr hon a ddyrchafwyd hyd y nef, a dynir i lawr hyd yn uffern."

Y mae yn ofynol i ni sylwi yn y lle cyntaf, Ar euogrwydd a chospedigaethau Capernaum. Ac yn yr ail le, Fod ein heuogrwydd ni, os ydym yn gwrthod yr efengyl, yn fwy na Capernaum. Yr oedd Sodom y lle gwaethaf yn y byd paganaidd, ond y mae Capernaum yn waeth na Sodom; eithr yr ydych chwi yn waeth na'r ddau. "Beth fydd diwedd y rhai nad ydynt yn credu i efengyl Duw?"

Ond sylwn ychydig mewn perthynas i Capernaum. Mae y testun yn dywedyd, "Ei bod wedi ei dyrchafu hyd y nef." Yr oedd Capernaum yn nes o lawer i'r nef na Sodom; yr ydoedd wedi cael llawer o ragorfreintiau a manteision na chafodd Sodom, ac na wyddai o'u plegyd. Yr oedd moddion gwybodaeth mewn perthynas i Waredwr gan Capernaum; yr oedd Crist ei hun yn trigo llawer o'i amser ynddi, ac yn pregethu yr efengyl i'r trigolion. Yma y gwnaeth y rhan fwyaf o'i wyrthiau a'i weithredoedd nerthol o flaen eu llygaid; yr oeddynt yn llygad-dystion o'i ryfeddodau. Yr oedd Capernaum wedi ei chodi yn annhraethol uwch na Tyrus a Sidon, Sodom a Gomorrah, fel y mae yn briodol dweyd, "Yr hon a ddyrchafwyd hyd y nef." Mae yr efengylwyr, yn eu hefengylau, yn coffâu yn aml iawn am ragorfreintiau mawrion Capernaum uwchlaw y rhan fwyaf o'r dinasoedd yn ngwlad Canaan. Bu ein Harglwydd yn gwneyd ei gartref ynddi. "A chan ado Nazareth, efe a aeth ac a arosodd yn Capernaum, yr hon sydd wrth y môr, yn nghyffiniau Zabulon a Naphtali: fel y y cyflawnid yr hyn a ddywedwyd trwy Esaias y prophwyd, gan ddywedyd, Tir Zabulon, a thir Naphtali, wrth ffordd y môr, tu hwnt i'r Iorddonen, Galilea y Cenedloedd: y bobl oedd yn eistedd mewn tywyllwch, a welodd oleuni mawr: ac i'r rhai a eisteddent yn mro a chysgod angau, y cyfododd goleuni iddynt," Mat. iv. 13—16. Yn Capernaum yr oedd y canwriad da yn byw; ac yno yr oedd ei was pan yr iachaodd yr Iesu ef. "Ac wedi dyfod yr Iesu i mewn i Capernaum, daeth ato ganwriad, gan ddeisyfu arno, a dywedyd, Arglwydd, y mae fy ngwas yn gorwedd gartref yn glaf o'r parlys, ac mewn poen dirfawr. A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Mi a ddeuaf ac a'i iachaf ef. A'i was a iachawyd o'r awr hono."

Yn y ddinas hon yr oedd tŷ Pedr hefyd, lle y byddai yr Arglwydd Iesu a'i ddysgyblion yn ymgyrchu yn aml i gadw *society*. Yr oedd tŷ Pedr fel *head quarters* iddynt yn ninas Capernaum. Gwnaeth yr Arglwydd Iesu lawer o weithred-

oedd nerthol yn y tŷ hwn. "A phan ddaeth yr Iesu i dŷ Pedr, efe a welodd ei chwegr ef yn gorwedd yn glaf o'r cryd. Ac efe a gyffyrddodd â'i llaw hi, a'r cryd a'i gadawodd hi: a hi a gododd ac a wasanaethodd arnynt. Ac wedi ei hwyrhau hi, hwy a ddygasant ato lawer o rai cythreulig: ac efe a fwriodd allan yr ysbrydion â'i air, ac a iachaodd yr holl gleifion," Mat. viii. 5—17. Yn Capernaum yr iachaodd efe y claf o'r parlys hwnw, am yr hyn y cadwodd yr Iuddewon gymaint o ystwr. "Ac efe a aeth drachefn i Capernaum, wedi rhai dyddiau; a chlybuwyd ei fod yn y tŷ. Ac yn y man llawer a ymgasglasant yn nghyd, hyd na anent hyd y nod yn y lleoedd yn nghylch y drws: ac efe a bregethodd y gair iddynt hwy. A daethant ato gan ddwyn un claf o'r parlys, yr hwn a ddygid gan bedwar. A chan na allent nesâu ato gan y dyrfa, didoi y tô a wnaethant lle yr oedd efe: ac wedi iddynt dori trwodd, hwy a ollyngasant i waered y gwely yn yr hwn y gorweddai y claf o'r parlys. A phan welodd yr Iesu eu ffydd hwynt, efe a ddywedodd wrth y claf o'r parlys, Ha fab, maddeuwyd i ti dy bechodau. Cymer i fyny dy wely, a dos i'th dŷ. Ac yn y man y cyfododd efe, ac y cymerth i fyny ei wely, ac a aeth allan yn eu gwydd hwynt oll; hyd oni synodd pawb; a gogoneddu Duw, gan ddywedyd, Ni welsom ni erioed fel hyn," Marc ii.

Gwelodd Capernaum ef yn bwrw allan gythreuliaid, yn iachau clefydau, ac aneirif o bethau eraill; ïe, yma, fel y dywed y testun, y gwnaethpwyd y "rhan fwyaf o'i weithredoedd nerthol ef." Yma yr oedd pan y gorchymynodd i Pedr fwrw bach i'r môr, ac y daliwyd y pysgodyn â'r darn arian yn ei safn, i gael talu y dreth. "Ac wedi dyfod o honynt i Capernaum, y rhai oedd yn derbyn arian y deyrnged a ddaethant at Pedr, ac a ddywedasant, Onid yw eich Athraw chwi yn talu teyrnged? Yntau a ddywedodd, Ydyw." Er hyny nid oedd gan Grist na Pedr ddigon i dalu rhyngddynt ill dau i glirio eu ffordd; buasent yn y carchar ill dau, oni buasai fod ein Hiachawdwr yn Arglwydd ar fôr a thir. "Er hyny, rhag i ni eu rhwystro hwy, dos i'r môr, a bwrw fach, a chymer y pysgodyn a ddaw i fyny yn gyntaf, ac wedi i ti agoryd ei safn, ti a gei ddarn o arian: cymer hwnw, a dyro iddynt drosof fi a thithau," Mat. xvii. 24. Yn Capernaum y pregethodd y bregeth ryfeddol yn nghylch bwyta cnawd Mab y dyn, ac yfed o'i waed ef; yr hon a yrodd gymaint o ddynion i wrthgilio oddiwrth achos crefydd. "Ac wedi

iddynt ddringo i long, hwy a aethant dros y môr i Capernaum. Pan welodd y dyrfa gan hyny nad oedd yr Iesu yno, na'i ddysgyblion, hwythau a aethant i longau, ac a ddaethant i Capernaum, dan geisio yr Iesu." Eithr wedi iddynt wrando y bregeth, dyma hwy yn rhedeg i chwilio am longau i ddychwelyd mor gynted ag y gallasent. Yn synagogau yr Iuddewon yn Capernaum y pregethodd fwyaf; ac yn fynych y clywir fod pobl Capernaum yn synu wrth ei athrawiaeth ef. Yr oedd yr Arglwydd Iesu wedi anrhydeddu Capernaum gymaint â'i bresenoldeb a'i weithredoedd gogoneddus, fel, pan y daeth i Nazareth, yr oedd y bobl hyny am iddo anrhydeddu eu dinas hwythau hefyd yn gyffelyb. "Y pethau a glywsom ni eu gwneuthur yn Capernaum, gwna yma hefyd yn dy wlad dy hun," Luc iv. 23. Eto, wedi yr holl bethau mawrion a wnaeth Iesu Grist yn Capernaum, ni dderbyniodd ei athrawiaeth; eithr gwrthododd iachawdwriaeth o'i enau. "Yna yr Iuddewon a rwgnachasant yn ei erbyn ef, o herwydd iddo ddywedyd, Myfi yw y bara a ddaeth i waered o'r nef. A hwy a ddywedasant, Onid hwn yw Iesu mab Joseph, tad a mam yr hwn a adwaenom ni? pa fodd gan hyny y mae efe yn dywedyd, O'r nef y disgynais," Ioan vi. 41—43. Ni chredasant ac nid edifarhasant, er yr holl fanteision hyn; dyma brif bechod, a phechod mawr y ddinas hon. Yr oedd hyn yn waeth na meddwdod, godineb, a holl aflendid Sodom a Gomorrah, Tyrus a Sidon. Y peth mwyaf ofnadwy ag sydd yn bosibl i ddynion wneyd byth yw gwrthod ac annghredu yr efengyl. "Bydd yn esmwythach i Sodom a Gomorrah, er eu holl aflendid, yn nydd y farn, nag i chwi."

Fe allai eich bod chwi, fy ngwrandawyr, yn dywedyd nad ydych chwi mor euog a Capernaum; eithr yr wyf fi yn dywedyd, ac nid yn unig myfi, ond y Bibl, eich bod yn *fwy* euog na'r ddinas hon. Ni gawn ymresymu ychydig ar y mater. Yn gyntaf, mi a wrandawaf ar eich rhesymau chwi er profi nad ydych mor euog a Capernaum, ac yna y mae yn rhaid i chwithau wrando ar fy rhesymau inau, er dangos eich bod yn fwy euog.

Yr ydych chwi yn dywedyd, "Nid ydym ni fel Capernaum, canys darfu i'r bobl hyny weled Crist yn y cnawd, a chlywsant ei athrawiaeth o'i enau ei hun; darfu iddynt weled ei wyrthiau â'u llygaid, canys cyflawnodd ei weithredoedd rhyfedd yn eu gwydd hwynt oll, y rhai ni ddarfu i ni weled na chlywed erioed. Ië, pe buasem ni wedi cael y rhagor-

freintiau mawrion hyn, buasem yn edifarhau mewn llwch a lludw." Nid yw hyn yn rhesymu teg; yr ydych yn ysgoi y cwestiwn yn gyfangwbl; yr ydych fel y Phariseaid, y rhai oeddynt yn dywedyd, "Pe buasem ni yn nyddiau ein tadau, ni buasem yn gyfranogion â hwynt yn ngwaed y prophwydi." "Felly yr ydych yn tystiolaethu am danoch eich hunain eich bod yn blant i'r rhai a laddasant y prophwydi. Cyflawnwch chwithau hefyd fesur eich tadau. Oh seirph, hiliogaeth gwiberod, pa fodd y gellwch ddianc rhag barn uffern?" Tra yr oedd yr Iuddewon yn dywedyd y pethau hyn am eu tadau a'r prophwydi, yr oedd eu calonau yn llawn o falais tuag at Grist a'i apostolion; yn eu herlid o fan i fan, ac yn y diwedd trochi eu dwylaw yn eu gwaed. Yr oeddynt yn waeth o lawer na'u tadau, er eu bod yn proffesu, pe buasent fyw yn nyddiau eu tadau, y buasent yn well na hwy. Mae Crist yn dywedyd, "Chwi gewch brawf o'ch daioni, a chewch weled, ac fe gaiff y byd weled, pa fwyaf o drugaredd sydd ynoch chwi neu yn eich tadau. Wele, yr ydwyf yn anfon atoch brophwydi, a doethion, ac ysgrifenyddion: a rhai o honynt a leddwch ac a groeshoeliwch; a rhai o honynt a ffrewyllwch yn eich synagogau, ac a erlidiwch o dref i dref; fel y delo arnoch chwi yr holl waed cyfiawn a'r a ollyngwyd ar y ddaear, o waed Abel gyfiawn hyd waed Zecharias mab Barachias, yr hwn a laddasoch rhwng y deml a'r allor. Yn wir meddaf i chwi, daw hyn oll ar y genedlaeth hon," Mat. xxiii. 30—36. Rhesymau tlodion yw y rhai hyn, ac y mae eisiau rhyw beth cryfach i ddal goleuni y farn fawr, onide yr ydych yn sicr o fyned yn fud, a byddwch mewn cywilydd a gwarth yn oes oesoedd.

(1.) Y mae yn wir nad ydyw Iesu Grist gyda ni yn y cnawd yn bresenol, eithr y mae genym ei athrawiaeth, yr hon sydd yn cael ei phregethu i'n clywedigaeth beunydd. Nid presenoldeb Crist yn y cnawd oedd yn dwyn dynion i edifeirwch gynt, ond ei athrawiaeth; ac y mae hono gyda ninau.

(2.) Er nad ydym yn gweled ei wyrthiau â'n llygaid, eto y maent yn ysgrifenedig yn yr efengyl gan y rhai a'u gwelsant, neu a ysgrifenasant o dan gynhyrfiad yr Ysbryd Glân; neu yn hytrach bob un o'r ddau. Mae ffydd yn sail y pethau nis gwelir. Ni chawsant un effaith ddaionus arnynt hwy, er eu gweled â'u llygaid; ond os cewch olwg ar y pethau hyn trwy ffyd l, y maent yn sicr o effeithio yn iachusol ar y galon.

(3.) O'r miloedd Iuddewon a Chenedloedd a ddychwelwyd yn yr amseroedd gynt, nid oedd ond ychydig wedi gweled Iesu Crist yn y cnawd, ac yn llygad-dystion o gyflawniad ei weithredoedd nerthol ar y ddaear.

(4.) O'r holl ganoedd a miloedd welodd yr Arglwydd Iesu, glywodd ei bregethau gogoneddus, ac a fuont llygad-dystion o'i wyrthiau, ni achubwyd un o gant o honynt. "Ni chredasant ynddo." Dallineb, caledwch calon, cariad at bechod, casineb at santeiddrwydd, gelyniaeth at wirionedd, sydd yr un peth ynoch chwi ag ynddynt hwy, ac yn galw am yr un cospedigaethau yn awr a'r pryd hwnw. Mae ein Hiachawdwr yn cyhoeddi yr un barnedigaethau uwch ben y rhai sydd yn gwrthod cenadwri y dysgyblion a'r rhai ddarfu wrthod ei genadwri ef ei hun. "A phwy bynag ni'ch derbynio chwi, ac ni wrandawo eich geiriau, pan ymadawoch o'r tŷ hwnw, neu o'r ddinas hono, ysgydwch y llwch oddiwrth eich traed. Yn wir meddaf i chwi, Esmwythach fydd i dir y Sodomiaid a'r Gomorriaid yn nydd y farn nag i'r ddinas hono," Mat. x. 14, 15.

(5.) Y mae gwrthodwyr presenol yr efengyl yn fwy anesgusodol na Capernaum. Mae yn wir iddynt hwy yn Capernaum weled Crist yn y cnawd, eto nis gallasent weled trwy len eu dallbleidiaeth eu hunain. Yr oedd gogoniant Crist o dan len ei ddynoliaeth, yn nghudd o dan ei dlodi allanol: y mae yn haws i chwi ei adnabod yn awr nag oedd iddynt hwy y pryd hwnw. Mae y llen wedi ei rhwygo. Gwelsant hwy ef yn ei ddarostyngiad; yr ydym ni yn ei weled yn ei ddyrchafiad gogoneddus hefyd. Gwelsant hwy ef yn "wr gofidus, a chynefin â dolur;" yr ydym ni yn ei weled wedi myned trwy ei gystuddiau yr ochr draw, "wedi ei goroni â gogoniant ac anrhydedd."

1. Gwelsant hwy y dyn, eithr nid y Messiah; ffydd sydd yn canfod y Messiah. "Hwn yw y Crist, Iachawdwr y byd." Gwelodd llawer y dyn Crist Iesu, heb weled Duw tragywyddoldeb, a Iachawdwr y byd. Mae gyda chwi, trwy ddatguddiad yr efengyl, fwy o fantais i gredu yn Nghrist na'r rhai a'i gwelsant ef yn y cnawd. Nid oedd ei weled fel dyn yn un help i gredu ynddo fel Messiah, yn enwedig i'r Iuddewon, canys yn—

2. Daeth Crist yn groes i'w dysgwyliadau. Yr oedd hyn yn rhwystr mawr iddynt ei dderbyn fel y Messiah addawedig. Yr oedd sefyllfa eu meddyliau, a'u golygiadau am Grist, yn

anfanteisiol i'w dderbyniad, canys yr oeddynt yn llawn o ragfarn yn ei erbyn. Yr oeddynt yn dysgwyl tywysog gyda gogoniant a bri allanol, i'w gwaredu o dan yr iau Rufeinig, a sefydlu y llywodraeth yn mysg yr Iuddewon yn fwy gogoneddus nag erioed. Siomwyd hwy yn eu holl ddysgwyliadau yn nyfodiad Crist, ac yna cablasant ef, a gwrthodasant ef, gan ddywedyd, "Ni fynwn ni hwn i deyrnasu arnom ni." Yr oeddynt, chwi welwch, dan fwy o anfantais i dderbyn Crist nag yr ydych chwi sydd wedi eich geni a'ch magu yn ngwlad efengyl, ac wedi eich dwyn i fyny yn wrandawyr y gair.

3. Efe a brofodd wirionedd ei athrawiaeth drwy wyrthiau iddynt hwy, mae yn wir; ond y mae wedi selio y cwbl â'i waed i ni. "Hwn yw fy ngwaed o'r Testament Newydd;" yr "hwn sydd yn dywedyd pethau gwell na'r eiddo Abel."

4. Gallasai Capernaum ddywedyd, "Y mae yn rhaid bod yn wyliadwrus, canys y mae twyllwyr wedi twyllo y synwyrau wrth gyflawni gwyrthiau gau. Mae llawer o ddynion drwg, cyfrwysgall wedi twyllo pobl o flaen eu llygaid, a pheri iddynt gredu eu bod yn cyflawni gwyrthiau pan nad oedd dim ond ystranciau melldigedig a dieflig. Ac y mae rhai dynion drwg wedi gwneyd rhyfeddodau fel swynwyr yr Aipht; am hyny y mae yn rhaid i ni fod yn wyliadwrus, rhag i neb ein twyllo." Yr oedd hyn yn eithaf rhesymol. Hefyd, yr oedd Crist yn dywedyd llawer o bethau wrthynt nad allasai dim brofi eu gwirionedd ond gweled eu cyflawniad. Dywedodd am ddinystr Jerusalem, eithr ychydig o honynt hwy welodd hyny; dywedodd am lwyddiant yr efengyl trwy yr holl fyd; y mae hyn wedi cymeryd lle mewn rhan; ond nis gwelsant hwy hyny; eithr yr ydych chwi wedi gweled cyflawniad o'r pethau hyn. Gellwch edrych yn ol a dywedyd, "Y mae y cwbl yn dyfod i ben fel y dywedodd yr Arglwydd Iesu." Mae genych chwi nid yn unig y gwyrthiau fel hwy; eithr yn ychwanegiad atynt y maegyda chwi y gwaed a lifodd ar y groes, a'r prophwydoliaethau wedi eu cyflawni; ac os ydym yn gwrthod yr efengyl, yr ydym yn ei gwrthod yn wyneb mwy o oleuni a sicrwydd na hwy, am hyny y mae ein heuogrwydd yn fwy.

5. Yr oedd rhagfarn o blaid hen grefydd yn anfanteisiol iddynt hwy, yr hyn nad yw i chwi. Cristionogaeth oedd crefydd y wlad y ganwyd chwi ynddi, fel nad oedd rhagfarn yn

mhlaid hen grefydd yn un rhwystr i chwi dderbyn yr efengyl. Mae dyn yn rhagfarnllyd yn mhlaid crefydd ei rieni, crefydd ei wlad, crefydd ei genedl, fel ag y mae yn haws argyhoeddi menyw buteinllyd nag argyhoeddi Pharisead neu Babydd. Mae mwy o obaith am achubiaeth dyn hollol ddigrefydd na dyn gau-grefyddol. Peth cryf iawn yw llais *public opinion;* ac yr oedd *public opinion* yn gryf yn erbyn yr Arglwydd Iesu, a phwy bynag a fuasai yn ei ddylyn. Yr oedd y tyrfaoedd yn codi eu llef yn unfryd i gondemnio pawb, a'u hwtio allan o gymdeithas, a berthynai i'r grefydd hon. Nid yw hyn ychwaith yn eich erbyn chwi i dderbyn yr efengyl; er hyny ei gwrthod yr ydych. Bydd Capernaum yn codi i fyny yn y farn yn eich erbyn chwi. Hefyd, yr oedd eu crefydd hwynt yn hen sefydliad, ac yn hen sefydliad dwyfol hefyd; yr hon oedd yr unig grefydd ddatguddiedig yn y byd. Chwareu teg, yr oedd yn briodol i ddynion feddwl, a meddwl yn ddifrifol, cyn newid hon am grefydd newydd ag oedd wedi gwneyd ei hymddangosiad yn y byd mor ddiweddar. Mae y pethau hyn yn rhesymau cryfion o blaid Capernaum; canys nid oes neb yn gweithredu yn gyson a phriodol heb feddwl yn ddifrifol. Eto, fy ngwrandawyr, wrth ddyfod â *verdict of more guilty* yn eich erbyn chwi, y mae yn rhaid edrych rhag eu gosod hwy yn rhy esgusodol. Canys nid diffyg yn yr hen grefydd dda a osodwyd gan Dduw yn eu mysg oedd yr achos o wrthodiad y Messiah. Gwrthodasant Grist am eu bod wedi gŵyro oddiwrth egwyddorion pur crefydd eu tadau. Mae yn wir fod athrawiaeth newydd yn gofyn profion cryfion i'w sefydlu; ond yr oedd Capernaum wedi cael y profion hyn. Mae eisiau amser hefyd, y mae yn wir, i'w sefydlu; cawsant hyn hefyd. Cawsant "oes" nad oes dim posibl i neb ei thraethu byth i'w sefydlu. Yr ydych chwi, fel hwy, wedi gweled yr oes hono, ac wedi gweled oesau eilwaith, y rhai sydd wedi egluro i chwi ddwyfoldeb crefydd yr Arglwydd Iesu. Mae miloedd o ferthyron wedi selio ei gwirionedd â'u gwaed; y mae y tân a'r ffagodau wedi methu ei llosgi o'r byd; y mae y dyfroedd wedi methu ei boddi; y mae anifeiliaid gwylltion wedi methu eu dirdynu oddiwrth eu gilydd. Y mae crefydd Mab Duw wedi bod yn mysg llewod ac eirth, eithr y mae heb ei llarpio; y mae wedi bod yn nhir y gelyn, ond heb ei gorchfygu; wedi bod yn Basan, a dyfnder y môr, eto heb drengu. Bendigedig, y mae yr Iesu yn fyw trwy y cwbl.

"Ac am fod Iesu'n fyw
Byw hefyd fydd y saint,
Er gorfod goddef poen a briw,
Mawr yw eu braint:
Bydd melus lanio draw,
'Nol bod o don i don,
Ac mi 'rof ffarwel maes o law
I'r ddaear hon."—Gogoniant.

Yn awr, fy ngwrandawyr, chwi welwch fod crefydd Mab Duw wedi ei sefydlu gyda mwy o sicrwydd i chwi nag ydoedd i drigolion Capernaum; ac yn gymaint a bod y goleuni a'r eglurhad yn fwy, y mae yr euogrwydd yn fwy o herwydd ei hesgeuluso. Yr ydych yn pechu yn erbyn mwy o oleuni na thrigolion Capernaum. Gan fod genym fwy o oleuni na hwy, y mae trymach cospedigaethau i'w dysgwyl am gyflawniad o'r un pechodau; canys nid yn ol bryntni ac haerllugrwydd y gweithredoedd yn unig yr ystyrir pethau, ond hefyd yn ol graddau y goleu o dan ba un y cyflawnwyd hwynt. Nid ydym yn darllen fod Capernaum yn euog o bechodau cywilyddus Sodom a Gomorrah, a Thyrus a Sidon; eto yn fwy ei heuogrwydd am eu bod yn fwy ei goleu a'i manteision. Fe allai fod yma lawer yn fy ngwrando heddyw heb fod yn euog o bethau bryntion iawn yn allanol; megys tyngu, meddwi, godinebu, a phethau cyffelyb, eto yn fwy euog na Sodom a Gomorrah, Tyrus a Sidon, a Capernaum yn nghyd. Buasai yn well i chwi fyned i'r farn o Sodom nag o wlad efengyl, er byw yn foesol ynddi. O bobl, peth dychrynllyd yw gwrthod Crist yn wyneb goleuni mor eglur! Nis gellwch chwi ddadleu anwybodaeth o Waredwr yn nydd y farn gyda'r paganiaid; nac o oruchwyliaeth dywyll gyda'r Iuddewon; nis gellwch ddadleu anwybodaeth am Dduw, am enaid, am adgyfodiad y meirw, a sefyllfa ddyfodol: y mae y pethau hyn yn fwy eglur i chwi nag i'r paganiaid, nac i'r Iuddewon ychwaith. Y mae "bywyd ac anllygredigaeth" mewn goleuni "trwy yr efengyl." Y mae paganiaid yn pechu yn erbyn goleu natur, yn erbyn deddfau natur, yn erbyn goleu cydwybod, yn erbyn llyfr natur. Mae Iuddewon yn pechu yn erbyn datguddiad eglurach o'r nefoedd; yn erbyn y gyfraith ysgrifenedig, yr hon a roddwyd ar Sinai. Mae y ddeddf foesol a'r prophwydoliaethau yn goleuo fel "canwyll mewn lle tywyll;" ond yr efengyl sydd fel "haul canol dydd."

Yn y greadigaeth y mae dau oleuad mawr; un i lywodr-

aethu y dydd, a'r llall i lywodraethu y nos. Yr haul y dydd, a'r lleuad y nos; felly yn yr eglwys y mae dau oleuad mawr, un yn llywodraethu nos yr oruchwyliaeth gysgodol, a'r llall ddydd yr oruchwyliaeth efengylaidd. Y ddeddf, lleuad yr Iuddewon, i'w goleuo yn y nos; yr efengyl, haul y cristionogion, canol dydd iachawdwriaeth. *The sun in its meridian. They are blind that cannot see by sunshine.* Y mae y cyfryw yn ddall nad ydynt yn gweled wrth oleu haul. Gadewch i baganiaid ddadleu anwybodaeth, gadewch i gristionogion mewn oesau tywyll ddadleu annghrediniaeth o herwydd yr amseroedd; eithr y mae cythraul haner dydd yn ein plith ni; ac yn ddigywilydd yn chwareu yn nghanol tywyniad haul efengyl. Mae ein pechodau ni fel pechodau Absalom, "ger bron holl Israel, a cher bron yr haul." Y mae yn ofnadwy i fyw yn annuwiol yn y tŷ pan nad oes neb yn gweled; ond gallu pechu yn ddigywilydd ger bron pawb sydd yn arwydd o haerllugrwydd a chaledwch dychrynllyd. Er fod y paganiaid yn *pledio* anwybodaeth a thywyllwch, eto y mae yr apostol Paul yn profi eu bod hwy yn ddiesgus. "Canys ei anweledig bethau ef er creadigaeth y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, a welir yn amlwg; sef ei dragywyddol allu ef a'i Dduwdod; hyd onid ydynt yn ddiesgus. Oblegyd a hwy yn adnabod Duw, nis gogoneddasant ef megys Duw, ac na buont ddiolchgar iddo; eithr ofer fuont yn eu rhesymau, a'u calon anneallus hwy a dywyllwyd," Rhuf. i. 20, 21.

Y mae y paganiaid yn ddiesgus yn wyneb goleuni natur; ac os oedd goleu natur yn ddigon i'w condemnio hwy, beth oedd gan yr Iuddewon i ddweyd? Dim; yr oedd eu genau hwy yn cael eu cau ar unwaith; canys yr oeddynt hwy yn pechu nid yn unig yn erbyn goleu natur, ond hefyd yn erbyn goleu datguddiad dwyfol; yn erbyn llewyrch tân mynydd Sinai. "Ni a wyddom hefyd am ba bethau bynag mae y ddeddf yn ei ddywedyd, mai wrth y rhai sydd dan y ddeddf y mae hi yn ei ddywedyd; fel y cauer pob genau, ac y byddo yr holl fyd dan farn Duw," Rhuf. iii. 16. Y mae genau yr Iuddewon ag oedd yn byw yn nyddiau y Gwaredwr wedi eu cau yn llwyrach na'u tadau, canys hwy a glywsant yr efengyl, ac a'i gwrthodasant hi. "Oni bai fy nyfod a llefaru wrthynt, ni buasai arnynt bechod: ond yr awr hon nid oes ganddynt esgus am eu pechod," Ioan xv. 22. Pwy bynag sydd yn ceisio ymesgusodi am bechu sydd yn sicr o fod yn aflwyddianus, oblegyd nid oes ganddynt glogyn i guddio eu hunain.

Y mae yr efengyl yn dynoethi ac yn tynu ymaith bob clogyn yn llwyr oddiam danoch, ac yn eich gosod ger bron cyfiawnder Duw yn fwy noeth nag erioed. Yr ydych yn myned i uffern o oleuni canol dydd, os ewch yno o wlad efengyl, canys nid ydych mewn angen am ddysgawdwr; y mae yr Arglwydd Iesu wedi llefaru wrthych â'i enau ei hun. Mae eich pechodau chwi yn haeddu taran-follt digofaint Duw yn fil mwy na'r Hindwaid, ac na'r Tyrciaid ychwaith. Yr ydych yn sefyll ar drothwy uffern yn awr, yn pwyso drosodd, yn gogwyddo dros y dibyn i'r pwll diwaelod, yn swn ac yn ngoleu efengyl. Yr ydych yn bechaduriaid mwy ofnadwy eich sefyllfa na holl bechaduriaid y byd. Buasai yn well genyf fil o weithiau fod gyda'r Sodomiaid pan aeth y dref ar dân, yn llosgi yn y tân a'r brwmstan, na bod yn eich plith chwi o wlad efengyl yn nydd y farn. Bydd yn esmwythach fod gyda phobl Sodoma a Gomorrah, Tyrus a Sidon, na chyda phobl Mynwy a Morganwg, y dydd hwnw. O ddynion, ddynion, peidiwch â gosod y rhaff am eich gyddfau eich hunain, a chyflawni hunan-laddiad tragywyddol ar eich eneidiau. Paham y teflwch eich hunain, gyrph ac eneidiau, yn wirfoddol i uffern? Yr ydych yn cario canwyll yr efengyl yn eich dwylaw i oleuo eich hunain i uffern. Yr ydych yn carlamu i drueni tragywyddol; yr ydych yn rhedeg at y crogbren dan gario eich *death-warrant* yn eich mynwesau. Y mae y Bibl yn eich cof; y mae y gair a'ch barn yn y dydd diweddaf yn eich meddyliau; y mae hanes Gwaredwr yn adnabyddus i chwi; ond y mae wedi ei wrthod. "Ynddo ef yr oedd bywyd, a'r bywyd oedd oleuni dynion; a'r goleuni sydd yn llewyrchu yn y tywyllwch; a'r tywyllwch nid oedd yn ei amgyffred," Ioan i. 4, 5. Mae yn rhaid y bydd uffern yn boeth ac yn dywyll ofnadwy i chwi, wedi myned yno o'r fath wlad lawn o oleuni. O gwymp erchyll; cwymp o blith ser y goleuni i dywyllwch du; i ganol y fagddu fawr, ac ellyllon y nos. Bobl, diangfa! "O Arglwydd, achub yn awr; pâr yn awr lwyddiant."

Rhyw wely dychrynllyd o anesmwyth fydd wedi ei gyweirio yn uffern i'r annuwiol; nid gwely o *down*, i orphwys a chysgu, eithr o dân, i losgi a chadw ar ddihun mewn pangfeydd tragywyddol. Mae gwlad efengyl, fy nghyfeillion, yn wlad ddrud i fyw mewn pechod; chwi gewch dalu yn ddrud yn uffern am eich lle yn ngwlad dawel yr efengyl. Yr ydych yn myned yn y blaen yn hwylus ac yn ddifater hyd yn hyn;

ond y mae y *bill* heb ddyfod i mewn eto; daw amser talu y *bill* yn y man, a byddwch chwithau heb ddim i'w gyfarfod. Beth all fod wedi hyny ond carchar tragywyddol? Bydd pechod yn ddrud i bawb, ond bydd yn ddrutach i chwi, pobl gwlad efengyl, na neb arall. Bydd gwrando pregethau dan gellwair yn dyfod yn gostus tua'r diwedd. Yr ydych yn dysgu darllen y gair, yr ydych yn ei drysori yn eich cof, yr ydych yn ei adrodd yn gyhoeddus, ac eto yn ei annghredu ac yn anufuddhau iddo. Yr ydych yn cario y Bibl yn eich dwylaw i fflamiau. Yr Arglwydd a drugarhao wrth yr oes hon. Oes ofnadwy yw yr un yr ydym yn byw ynddi; dynion yn codi â goleu yn eu penau, a'u calonau heb eu cyfnewid! Anffyddwyr fydd yn llanw y wlad yn fuan, os na chawn dywalltiad o'r Ysbryd o'r uchelder. Mae goleu a gwres gwlad efengyl yn magu pryf yn eich mynwesau na fydd marw byth.

Y mae anwybodaeth yn rhyw fath o esgus i baganiaid, ond nid yw yn esgus i chwi, canys y mae yn anmhosibl i chwi fod yn anwybodus ond o'ch gwirfodd. Yr ydych yn gwrthod efengyl: ni chafodd Sodom gynyg ar hon; am hyny nis condemnir hi am ei gwrthod. Os ydych yn anwybodus, o'ch gwirfodd yr ydych felly; am hyny ni fydd yn un esgus ddydd y farn. Os troseddwch gyfreithiau Lloegr, nid gwiw i chwi ddadleu anwybodaeth o'r gyfraith; ni wna hyny eich esgusodi rhag y gosp ddyledus, canys dylasech fynu gwybod cyn gweithredu; ac yr oedd yn ddigon hawdd i chwi gael gwybod, pe buasech yn ceisio. Ond, fy ngwrandawyr, nid ydych chwi yn anwybodus, eithr yr ydych yn cau allan y goleu rhag dyfod i mewn; yr ydych yn gosod y *shutters* ar y ffenestri i atal y goleu i dywynu i mewn i'r tŷ, ac yn cau eich llygaid, rhag gweled o honoch y goleuni. "A hon yw y ddamnedigaeth: ddyfod goleuni i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy na'r goleuni: canys yr oedd eu gweithredoedd hwy yn ddrwg. O herwydd pob un a'r sydd yn gwneuthur drwg sydd yn casâu y goleuni, ac nid yw yn dyfod i'r goleuni, fel nad argyhoedder ei weithredoedd ef," Ioan iii. 19, 20. Dywed rhai fod dynion yn y gwledydd poethion yn melldithio yr haul am ei fod yn eu llosgi; felly yr ydych chwithau yn melldithio ac yn casâu goleuni yr efengyl am ei fod yn eich aflonyddu yn eich budreddi a'ch aflendid. Darfu i'r Sodomiaid bechu mewn tywyllwch; nid oedd ganddynt un meddwl am Dduw pan yn cyflawni eu pechodau; eithr yr ydych chwi yn pechu yn mhresenoldeb y Barnwr, ac yn

gorfod teimlo ei bresenoldeb yn fynych yn nghanol eich rhwysg a'ch annuwioldeb, eto yn penderfynu tori trwy bob rhwystr, a phechu yn y blaen. Yr ydych yn gwrthod efengyl y tangnefedd. O Arglwydd, tywallt dy Ysbryd yn fuan ar ein gwlad, onide bydd yn crino yn gyflym i ddinystr a choll-edigaeth dragywyddol yn swn yr efengyl.

Edrychwch ar *natur* eich pechodau chwi, a chydmerwch hwynt ag eiddo Tyrus a Sidon, Sodom a Gomorrah, a chwi welwch eu bod yn waeth o lawer na'r eiddynt hwy. Mae yn wir fod eu pechodau hwy yn frwnt iawn; eithr pechodau cnawdol oeddynt; ond y mae eich pechodau chwi yn gnawdol ac yn ysbrydol hefyd. Yr ydych yn euog fel hwythau o bechodau cnawdol; fe allai nad i'r un graddau; ac yn fwy euog o bechodau yr ysbryd, y rhai ydynt y pechodau gwaethaf o lawer. Pechodau yn taro yn uniongyrchol yn erbyn "Tad yr ysbrydoedd," yw y pechodau gwaethaf o gwbl. Pechodau y corph oedd yr eiddo Sodom fwyaf; pech-odau yr enaid yw eich pechodau mwyaf chwi. Pechod enaid yw enaid pechod. Yr oedd eu pechodau hwy yn eu gwneyd fel anifeiliaid; y mae eich pechodau chwi yn eich gwneyd fel cythreuliaid. Yr oedd eu pechodau hwy yn erbyn yr ail lech o'r gyfraith yn benaf; y mae eich pechodau chwi yn erbyn y llech gyntaf. Yr oedd eu pechodau hwy yn fwy yn eu herbyn eu hunain, yn erbyn eu cyrph; ond y mae yr eiddo ni yn taro yn uniongyrchol yn erbyn Duw. Mae mwy o elyniaeth yn erbyn Duw yn dyfod i'r golwg yn ngwrthod-iad yr efengyl, nag oedd yn eu holl bechodau ffiaidd a brwnt hwy. Mae annghrediniaeth yn drosedd uniongyrchol yn erbyn yr efengyl; poeri yn wyneb Mab Duw ydyw; tynu blew ei gernau o'r newydd ydyw; ail groeshoelio Arglwydd y bywyd ydyw; barnu yn aflan waed y cyfamod ydyw; di-fenwi Ysbryd y gras ydyw. Bobl, "edifarhewch a chredwch yr efengyl."

Cofiwch, wrth wrthod yr efengyl eich bod yn pechu yn erbyn y cymhelliadau tyneraf a thaeraf. "Am hyny yr ydym ni yn genadau dros Grist, megys pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwom ni; yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymoder chwi â Duw." "Oh deuwch i'r dyfroedd, bob un y mae syched arno; ïe, yr hwn nid oes arian ganddo; deuwch, prynwch, a bwytewch; ïe, deuwch, prynwch win a llaeth, heb arian ac heb werth." "Deuwch yr awr hon, ac ymresymwn, medd yr Arglwydd: pe byddai eich pechodau fel ysgarlad, ânt cyn

wyned a'r eira; pe cochent fel porphor, byddant fel gwlan;" 2 Cor. v. 20; Esay lv. 1; i. 18. Os ydych yn penderfynu myned i uffern, y mae yn rhaid i "chwi fyned dan ddiystyru golud ei ddaioni" ef, a dirmygu cymhelliadau tyneraf efengyl gras. Mae y paganiaid yn cael eu cyfarch yn wyneb deddfau natur, Iuddewon yn wyneb deddf Sinai, eithr chwychwi yn wyneb gras yr efengyl. Yr ydych yn cael eich galw i edifeirwch â llef uwch a mwy grymus. "A Duw, wedi esgeuluso amseroedd yr anwybodaeth hon, sydd yr awr hon yn gorchymyn i bob dyn yn mhob man edifarhau. O herwydd iddo osod diwrnod, yn yr hwn y barna efe y byd mewn cyfiawnder, trwy y Gwr a ordeiniodd efe, gan roddi ffydd i bawb, o herwydd ddarfod iddo ei gyfodi ef oddiwrth y meirw," Actau xvii. 30, 31. Y mae yn galw ar "bob dyn yn mhob man;" y mae yn galw arnat ti, pwy bynag ydwyt, trwy ei weision, i edifarhau a dychwelyd oddiwrth dy ffyrdd drygionus, a derbyn maddeuant pechodau trwy gredu yn Mab Duw. Pe byddai brenin daearol yn danfon ei fab i gyfarfod â gwrthryfelwyr, gan ddymuno arnynt roddi eu harfau i lawr; oni fyddai efe yn ystyried y dirmyg yn fwy i wrthod i'w fab na gwrthod i'w weision? Mae y dirmyg yn fawr i wrthod i'w weision, ond y mae yn fwy i wrthod i'w fab. Yr ydych chwi, wrth wrthod yr efengyl, yn gwrthod ymostwng er pawb, y gweision a'r Mab hefyd. Mae Duw wedi "llefaru wrthych yn ei Fab;" ac y mae yr efengyl yn gynygiad parhaus o'r Mab i chwi trwy y gweision. Yr oedd y llafurwyr hyny, y rhai a osodir allan yn nameg ein Harglwydd, yn bechaduriaid mawrion am anmharchu y gweision a ddanfonwyd atynt i geisio y ffrwythau; ond trwy anmharchu a lladd y mab, yr oeddynt wedi eu perffeithio mewn drygioni. "A'r llafurwyr a ddaliasant ei weision ef, ac un a gurasant, ac arall a laddasant, ac arall a labyddiasant. Drachefn efe a ddanfonodd weision eraill mwy na'r rhai cyntaf: a hwy a wnaethant iddynt yr un modd. Ac yn ddiweddaf oll, efe a ddanfonodd atynt ei fab ei hun, gan ddywedyd, Hwy a barchant fy mab i. A phan welodd y llafurwyr y mab, hwy a ddywedasant yn eu plith eu hun, Hwn yw yr etifedd; deuwch, lladdwn ef, a daliwn ei etifeddiaeth ef. Ac wedi iddynt ei ddal, hwy a'i bwriasant ef allan o'r winllan, ac a'i lladdasant. Am hyny pan ddel arglwydd y winllan, pa beth a wna efe i'r llafurwyr hyny? Hwy a ddywedasant wrtho, Efe a ddyfetha yn llwyr y dynion drwg hyny, ac a esyd y winllan i lafurwyr

eraill, y rhai a dalant iddo y ffrwythau yn eu hamserau," Mat. xxi. 35—40. Mae yr Arglwydd wedi danfon atoch ei Fab ei hun; a dyma fel yr ydych yn ei drin—gwrthod yr efengyl. Beth yr ydych chwi yn tybied y gwna Arglwydd nef a daear i'r dynion hyn o'r diwedd? "Efe a ddyfetha yn llwyr y dynion drwg hyn." "Canys os bu gadarn y gair a lefarwyd trwy angylion, ac os derbyniodd pob trosedd ac anufudd-dod gyfiawn daledigaeth; pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymaint, yr hon wedi dechreu ei thraethu trwy yr Arglwydd, a sicrhawyd i ni gan y rhai a'i clywsant ef: a Duw hefyd yn cyd-dystiolaethu trwy arwyddion a rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd, a doniau yr Ysbryd Glân, yn ol ei ewyllys ei hun," Heb. ii. 2, 3.

*High treason* yn erbyn y nefoedd yw gwrthod Mab Duw yn nghynygiad yr efengyl; yr hyn sydd yn galw am y cospedigaethau trymaf i dragywyddoldeb. "Edrychwch na wrthodoch yr hwn sydd yn llefaru; oblegyd oni ddiangodd y rhai a wrthodasant yr hwn oedd yn llefaru ar y ddaear, mwy o lawer nis diangwn ni, y rhai ydym yn troi ymaith oddiwrth yr hwn sydd yn llefaru o'r nef: llef yr hwn y pryd hwnw a ysgydwodd y ddaear: ac yn awr a addawodd, gan ddywedyd, Eto unwaith yr wyf yn cynhyrfu nid yn unig y ddaear, ond y nef hefyd," Heb. xii. 25. 26. Mae eich bod yn parhau yn eich pechodau, yn wyneb rhybyddion y nefoedd, yn ddirmyg ar fygythiadau y Barnwr; fel pe byddai yr oll yn gellwair ac yn wawd: yr ydych yn ymddangos fel pe baech yn chwerthin am ei ben. Yr ydych yn rhoi hèr i Dduw tragywyddoldeb; ac fel yn dywedyd yn iaith eich pechodau, "Gwnaed ei waethaf; dylyn ein pleserau a wnawn ni." Nid ydyw cyhoeddi anathema maranatha yn eich arswydo; nid ydyw bygwth tân uffern, y tywyllwch eithaf, yr wylofain a rhincian danedd, byth yn eich cyffroi a'ch dychrynu; nid yw dywedyd fod y farn fawr wrth y drws, ac y byddwch cyn nemawr o amser yn dyoddef cospedigaeth dragywyddol oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei santeiddrwydd ef, yn effeithio dim arnoch. Yr ydych yn "troi gras Duw i drythyllwch," ïe, gwaeth na hyny, yr ydych yn *dirmygu* gras Duw. Mae troi gras i drythyllwch yn ddigon drwg, ond y mae ei *ddirmygu* yn waeth eilwaith.

Y mae dynion yn medru dyoddef dirmyg ar eu *gallu* yn well nag ar eu daioni, eu cymwynasgarwch, a'u hynawsedd. Mae bod dyn yn dirmygu ei gymydog oddiwrth yr hwn y

mae efe wedi derbyn y cymwynasau mwyaf, yn fwy annyoddefol i'r cymydog hwnw nag un dirmyg arall. Un o'r pechodau gwaethaf yw anniolchgarwch, canys y mae yn cynwys ynddo ddirmyg o ddaioni a chymwynasgarwch, yr hyn sydd fwyaf anhawdd ei faddeu o bob peth. Pa fwyaf o drugareddau mae yr Arglwydd yn rhoddi i ddynion, mwyaf yn gyffredin yw yr anniolchgarwch: ac y mae yr anniolchgarwch mwyaf yn galw am y cospedigaethau trymaf. Mae dirmygu y drugaredd fwyaf yn galw am y farn drymaf. Pan y byddwch yn sefyll o flaen y frawdle yn y dydd diweddaf, chwi ddymunech pe baech yn Dyrciaid, neu yn rhyw baganiaid, heb erioed glywed yr efengyl. Y bedd-argraff oreu i'r cyfryw fyddai, "Gwell fuasai iddo fod heb adnabod ffordd cyfiawnder. Da fuasai i'r dyn hwn pe nas ganesid ef." Bydd "trallod ac ing ar bob enaid dyn sydd yn gwneuthur drwg;" arnoch chwi yn gyntaf, ac yna ar yr Iuddew, ac yn olaf ar y pagan. Chwychwi gaiff y lle isaf yn uffern; chwychwi gaiff deimlo drymaf oddiwrth farnedigaethau Duw. Mae hyn yn gyfiawn; gan mai chwi sydd wedi gwrthod y mwyaf o'i drugareddau i chwi dderbyn y mwyaf o'i farnedigaethau. *The sweetest wine makes the sharpest vinegar.* Mae camddefnyddiad o drugareddau yn troi y barnedigaethau trymaf, a'r tân poethaf. Mae y bedd dyfnaf yn uffern yn nghadw i wrthodwyr yr efengyl. Hon yw y ddamnedigaeth waethaf a mwyaf annyoddefol; bydd y ffwrn i chwi yn saith boethach nag i'r paganiaid. Nid oes lid mor ofnadwy a "llid yr Oen." Nid oes un cwymp i uffern mor erchyll a chwympo dros drothwy tŷ yr Arglwydd; neu gwympo *dros* yr Arglwydd Iesu. *There is no fall into hell so awful as that from a stumble at Christ.* Dyma greadur a gurir â llawer ffonod; dyma un a gaiff yfed gwaddod cwpan erchyll digofaint Duw. "Ond wrth bwy y digiodd efe ddeugain mlynedd? onid wrth y rhai a bechasant, y rhai y syrthiodd eu cyrph yn y diffaethwch? Ac wrth bwy y tyngodd efe, na chaent hwy fyned i mewn i'w orphwysfa ef? Onid wrth y rhai ni chredasant? Ac yr ydym ni yn gweled na allent hwy fyned i mewn o herwydd annghrediniaeth," Heb. iii. 17—19. Mae bod Duw yn tyngu na chaent fyned i mewn i'w orphwysfa yn arwyddo ei anfoddlonrwydd mwyaf. Y mae wedi digio cymaint fel y bydd yn chwerthin yn eich dinystr echryslon. "Minau hefyd a chwarddaf yn eich dialedd chwi; mi a wawdiaf pan syrthio arnoch yr hyn yr ydych yn ei ofni; pan ddel arnoch

yr hyn yr ydych yn ei ofni megys dystryw, ac y del eich dialedd arnoch megys corwynt; a dyfod arnoch wasgfa a chaledi: yna y galwant arnaf, ond ni wrandawaf; yn foreu y'm ceisiant, ond ni'm cânt. Canys cas fu ganddynt wybodaeth, ac ofn yr Arglwydd ni ddewisasant. Ni chymerent ddim o'm cynghor i; dirmygasant fy holl gerydd. Am hyny hwy a gânt fwyta ffrwyth eu ffordd eu hunain, a'u llenwi â'u cynghorion eu hunain," Diar. i. 26—31.

Y maent yn gondemniedig yn mhob llys: y mae llys cyfiawnder wedi cyhoeddi y felldith uwch eu penau er ys llawer dydd. "Melldigedig yw pob un nid yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf i'w gwneuthur hwynt." Maent yn gondemniedig hefyd yn llys yr efengyl fel annghredinwyr. "Eithr y neb ni chredo a gondemnir." Y maent yn gondemniedig hefyd yn llys y gydwybod. Mae y *court of conscience* wedi eu barnu yn euog; ac yma y mae gweinyddiad y farn i ddechreu. Mae annghredinwyr yn euog hefyd yn llys trugaredd; a dyma y llys mwyaf ofnadwy o'r cwbl. Nid oes yr un ddamnedigaeth mor ofnadwy a'r hon a gyhoeddir yn llys trugaredd. Pan y mae trugaredd yn condemnio, y mae yn rhaid fod y trosedd yn arswydus; am hyny fe fydd y farn hefyd yn ddychrynllyd. "Ond os dylynwch ddrygioni, chwi a'ch brenin a ddyfethir," 1 Sam. xii. 25.

Nid yn unig y mae annghrediniaeth yn bechod mawr, ïe, y mwyaf; ond hefyd y mae yn gwneyd y ddamnedigaeth yn anocheladwy; y mae yn gwneyd sefyllfa dyn yn anobeithiol ac yn anfeddyginiaethol. Mae "gwaed Iesu Grist yn glanhau oddiwrth bob pechod;" eithr os gwrthodir yr unig feddyginiaeth, pa beth a wneir wedi hyny? Mae dinystr yn anocheladwy; nid oes un man arall i droi ein hwynebau. Pan y mae y gyfraith yn condemnio, yr ydym yn gallu apelio at lys yr efengyl: pan y mae cyfiawnder yn condemnio, yr ydym yn gallu apelio at lys trugaredd, fel y publican, yr hwn oedd yn teimlo ei hun yn bechadur condemniedig yn llys y gyfraith, eto y mae yn apelio at lys trugaredd am fywyd. "O Dduw, bydd drugarog wrthyf fi bechadur." Dyma lys trugaredd yn cymeryd at yr achos, ac yn *reversio sentence court* Sinai, ac yn gollwng y pechadur yn rhydd. Gogoniant! Eithr os bydd trugaredd yn condemnio, i ba le y gellwch apelio wedi hyny? Y mae y paganiaid yn marw o eisiau meddyg, ond yr ydych chwi yn marw pan yn dirmygu y meddyg, a

gwrthod y feddyginiaeth. Yr ydych yn poeri y cyfferi allan o'ch genau. Yr ydych yn mynu marw; yr ydych trwy annghredu yn cyflawni hunan-laddiad ar eich cyrph a'ch eneidiau. Yr ydych yn dinystrio eich hunain yn wirfoddol, "ac yn eich barnu eich hunain yn annheilwng o fywyd tragywyddol," Act. xiii. 46. O Arglwydd, mae y bobl yn gwrthod eu trugaredd eu hunain; y maent nid yn unig yn *haeddu*, ond hefyd yn *selio* eu damnedigaeth. Y mae pob pechod yn ddamniol y mae yn wir; ond y mae gwrthod ac annghredu yr efengyl yn agos iawn at y pechod yn erbyn yr Ysbryd Glân, yr hwn sydd yn anfaddeuol.

Y mae annghredu y gwirionedd, a thuedd i gredu celwydd, yn nod y cyfryw sydd yn wrthodedig gan Dduw, neu wedi eu rhoddi "i fyny i amryfusedd cadarn." Mae melldith y ddeddf foesol yn symudadwy trwy waed croes Crist, eithr melldith yr efengyl, anathema maranatha y Testament Newydd, ni symudir byth; y mae y ddedryd yn ansymudadwy. Nid oes iachawdwriaeth mwy i'r cyfryw ddyn, canys y mae wedi gwrthod yr unig iachawdwriaeth dan y nef. "Nid oes iachawdwriaeth yn neb arall." "Canys os o'n gwirfodd y pechwn, ar ol derbyn gwybodaeth y gwirionedd, nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach; eithr rhyw ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth, ac angerdd tân, yr hwn a ddifa y gwrthwynebwyr. Yr un a ddirmygai gyfraith Moses a fyddai farw heb drugaredd, dan ddau neu dri o dystion: pa faint mwy cospedigaeth (debygwch chwi) y bernir haeddu o'r hwn a fathrodd Fab Duw, ac a farnodd yn aflan waed y cyfamod, trwy yr hwn y santeiddiwyd ef, ac a ddifenwodd Ysbryd y gras? Canys nyni a adwaenom y neb a ddywedodd, Myfi biau dial, myfi a dalaf, medd yr Arglwydd," Heb. x. 26—30. Daeth Mab y dyn "i geisio ac i gadw yr hyn a gollasid;" ac y mae efe wedi cael y dryll arian a gollwyd, a'r ddafad a gollwyd, a'r mab afradlon a gollwyd; eithr dirmygwyr efengyl sydd yn golledig byth; y mae Mab y dyn wedi troi ei gefn arnynt; nid yw efe yn eu ceisio mwyach.

Mae efe wedi anfon allan ei weision, un ar ol y llall, trwy y blynyddau i'ch galw, ond nid ydych wedi dychwelyd ato; nid oes ganddo ddim i'w wneyd mwyach ond danfon byddin arfog o angylion i'ch cyrchu at ei orseddfainc, ac i'ch rhwymo draed a dwylaw, a'ch bwrw i'r tywyllwch eithaf. "A phan glybu y brenin efe a lidiodd; ac a ddanfonodd ei luoedd, ac a ddinystriodd y lleiddiaid hyny, ac a losgodd eu dinas hwynt.

Yna efe a ddywedodd wrth ei weision, Yn wir y briodas sydd barod, ond y rhai a wahoddasid nid oeddynt deilwng," Mat. xxii. 7, 8. Nid oes dim wedi ei adael mwyach ond "dysgwyl ofnadwy am farnedigaeth ac angerdd tân." Bydd marwolaeth dragywyddol yn cymeryd gafael yn y rhai a wrthodasant gymeryd gafael yn y bywyd tragywyddol. Bydd yn rhaid iddynt wrando byth yn uffern y pethau y gwrthodasant eu credu ar y ddaear. Bydd y rhai sydd yn cysgu dydd gras allan yn dihuno wedi i'r haul fyned i lawr am byth, a hwythau i fodoli yn y tywyllwch eithaf mwy. Byddant yn dihuno o'u cwsg cnawdol gyda y cwymp erchyll i bydew uffern, ac ni chysgant byth mwyach. Bydd eu llygaid yn cael eu dal yn agored i edrych yn wyneb y Barnwr, yr hwn sydd yn dyfod gyda "thân fflamllyd, gan roddi dial i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufuddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist. Y rhai a ddyoddefant yn gospedigaeth ddinystr tragywyddol oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei gadernid ef; pan ddel efe i'w ogoneddu yn ei saint, ac i fod yn rhyfeddol yn y rhai oll sydd yn credu, yn y dydd hwnw," 2 Thes. i. 8—10. Daeth Iesu Grist i'n byd ni fel goleuni dysglaer, fel y seren foreu eglur, fel haul tyner â meddyginiaeth yn ei esgyll; goleuni i oleuo y Cenedloedd; eithr gwrthodwyd ei oleuni a'i wres; ond yn y diwedd y mae yn dyfod gyda "thân fflamllyd, i roddi dial," ac i losgi ei wrthwynebwyr i dragywyddoldeb. Y mae tri pheth mawr yn y testun:—

1. Rhagorfreintiau mawrion: dyrchafiad "hyd y nefoedd."

2. Diystyrwch mawr ar ragorfreintiau mawrion: "Efe a edliwiodd i'r dinasoedd, yn y rhai y gwnaethid y rhan fwyaf o'i weithredoedd nerthol ef, am nad edifarhasant."

3. Cospedigaethau mawrion: "Eithr meddaf i chwi, Esmwythach fydd i Tyrus a Sidon, yn nydd y farn, nag i chwi." Bydd uffern y Sodomiaid yn fwy cymedrol na'ch uffern chwi. Mae nos dywyll digofaint Duw yn canlyn dydd goleu rhagorfreintiau yr efengyl, i'r rhai sydd yn annghredu. Mae y goleu hyfryd a ddibrisiwyd ac a ddiystyrwyd, o'r diwedd yn myned o'r golwg mewn cwmwl du dychrynllyd, ac yn tori allan yn ystorm ddychrynllyd ac ofnadwy o ddigofaint, ac yn syrthio yn gawod echryslon o dân a brwmstan byth. "Ar yr annuwiolion y gwlawia efe faglau, tân a brwmstan, a phoeth-wynt ystormus: dyma ran eu phiol hwynt," Sal. xi. 6. Cododd yr haul yn ddysglaer ar Sodom lawer boreu, ond o'r

diwedd gwelwyd ef yn encilio o dan gwmwl, a dyna y gawod o dân a brwmstan yn dechreu dyfod i lawr, ac yn llosgi y cwbl yn ulw. Mae ein Hiachawdwr yn dyfod y tro cyntaf i gynyg achubiaeth i chwi; yr ail waith i ddial ar y rhai sydd yn gwrthod ei gymwynasau. Mae ei ail ddyfodiad yn ddial ac yn gospedigaeth ar y rhai a ddirmygasant ei ddyfodiad cyntaf. Mae trugaredd i'w chael yn nydd trugaredd; ond nid oes dim yn nydd y farn ond dialedd am wrthod trugaredd yn nydd gras. Yr wyf yn meddwl fy mod yn awr yn clywed telynorion yn canu ar eu telynau; y mae swn yr angylion yn fy nghlustiau y fynyd hon, yn bloeddio canu ar ddydd genedigaeth Ceidwad y byd: dyma ei ddyfodiad cyntaf, dyma ddydd gras ac iachawdwriaeth. Eithr chwychwi ddirmygwyr Mab Duw yn ei ddyfodiad cyntaf, cewch glywed cyn hir nid telynorion yn canu ar eu telynau, ond "llef yr archangel, ac udgorn Duw;" llef yr udgorn diweddaf yn galw pawb o flaen y fainc.

"Gwelir Iesu'n ogoneddus
Yn ei ail ddyfodiad glân;
Gwelir miloedd iddo'n plygu,
Na phlygasant iddo o'r bla'n."

Yr oedd seren yn nodi allan ei ymddangosiad cyntaf; eithr bydd ser y nef yn syrthio yn ei ail ddyfodiad. Fel llew y bydd ei ymddangosiad y pryd hwnw, nid fel baban Bethlehem, nac fel oen diniwed yn cael ei arwain i'r lladdfa. Ofnadwy a dychrynllyd y bydd yr ymddangosiad hyn i'r annuwiol; byddant yn ddyoddefwyr annirnadwy.

1. Byddant yn ddyoddefwyr oddiwrth eu cydwybodau eu hunain. Bydd hon yn fwy ofnadwy i'w pherchenog nag oedd Goliath o Gath i Israel, ac yn fwy grymus na Samson. Yr oedd cofio y pethau da, a thrugareddau y bywyd hwn a fwynhawyd, yn mwyhau dyoddefaint y goludog yn uffern yn annhraethol. "Ac efe a lefodd, ac a ddywedodd, O dad Abraham, trugarha wrthyf, a danfon Lazarus i drochi pen ei fys mewn dwfr, ac i oeri fy nhafod: canys fe'm poenir yn y fflam hon. Ac Abraham a ddywedodd, Ha fab, coffa i ti dderbyn dy wynfyd yn dy fywyd." Coffa i ti loddesta, ac yfed, a meddwi, ddydd a nos. Coffa am yr *horse races*, coffa am y *balls*, coffa am y gwyl mabsantau, a phethau llygredig eraill. Bydd cof am wynfyd y ddaear yn fflam yn dy fynwes byth yn uffern. Ond y peth fydd yn enyn y fflam yn fwy dychrynllyd na dim fydd cofio dydd gras, cofio cynygion yr

efengyl, cofio gwaed y groes wrthodwyd ac a gablwyd; bydd hyn yn enyn y fflamiau yn wyllt, ac yn gwneyd uffern yn saith poethach nag arferol. Bydd cofio unrhyw ddaioni a thrugaredd yn arswydus, eithr cofio cymhelliadau yr efengyl fydd y mwyaf annyoddefol. *The clearer the light, the hotter the fire.* Pa uchaf y dyrchafiad, dyfnaf y darostyngiad.

2. Bydd y drygionus yn ddyoddefwyr oddiwrth anfoddlonrwydd yr Arglwydd Iesu am wrthod yr efengyl. Yr efengyl, o'r hon y mae miloedd wedi tynu bywyd tragywyddol yn nydd gras, y bydd myrddiynau yn tynu angau tragywyddol o honi yn nydd y farn. "Yna y dywed efe hefyd wrth y rhai a fyddant ar y llaw aswy, Ewch oddiwrthyf, rai melldigedig, i'r tân tragywyddol, yr hwn a barotowyd i ddiafol ac i'w angylion. A'r rhai hyn a ânt i gospedigaeth dragywyddol." Cristionogion mewn enw fydd yn cael eu gyru yn gyntaf, Iuddewon wedi hyny, a phaganiaid yn olaf. Chwychwi, hen wrandawyr yr efengyl, fydd yn y carchar nesaf i mewn.

3. Bydd y drygionus yn ddyoddefwyr oddiwrth ddiafol. Bydd gelyn dyn yn poenydio ychwaneg ar y rhai a ragorfreintiwyd uchaf na neb arall. Mae y cythreuliaid yn cael eu defnyddio yn weinyddwyr digofaint Duw, er eu bod o dan ei ddigofaint eu hunain. "A'i Arglwydd a ddigiodd, ac a'i rhoddodd ef i'r poenwyr, hyd oni thalai yr hyn oll oedd ddyledus iddo. Ac felly y gwna fy Nhad nefol i chwithau, oni faddeuwch o'ch calonau bob un i'w frawd eu camweddau," Mat. xviii. 34, 35.

Gwrandawyr yr efengyl! fe fydd mwy o dystion yn codi yn eich erbyn chwi yn nydd y farn na neb dynion eraill. Bydd paganiaid yn codi eu dwylaw ac yn arswydo rhagoch. "Gwŷr Ninefeh a gyfodant yn y farn gyda'r genedlaeth hon, ac a'i condemniant hi; am iddynt hwy edifarhau wrth bregeth Jonas; ac wele fwy na Jonas yma. Brenines y deheu a gyfyd yn y farn gyda'r genedlaeth hon, ac a'i condemnia hi, am iddi hi ddyfod o eithafoedd y ddaear i glywed doethineb Solomon; ac wele fwy na Solomon yma," Mat. xii. 41, 42. Bydd paganiaid, y rhai a wnaethant yn well â goleu natur nag a wnaethoch chwi â goleu efengyl, yn codi i fyny i'ch condemnio. Byddwch yn gas gan bawb, ac yn gas genych eich hunain hefyd yn y dydd hwnw. Bydd llawer yn gweddio am ras a thrugaredd wedi i ddydd gras fyned heibio. Fy ngwrandawyr, y mae eich eneidiau yn agored i ddigofaint byth, a dyma chwithau heb yr un cysgod. Nid yw pech-

odau eich ieuenctyd wedi eu maddeu; y mae eich holl bechodau yn aros hyd y dydd hwn; ac os gwnewch farw felly, byddant yn gorwedd ar eich esgyrn yn y bedd; ac och! byddant fel mynyddau mawrion, trymion ger eich bron yn dragywydd; byddant yn dduwch ac yn dywyllwch byth; yn gadwynau i'ch rhwymo yn y carchar yn oes oesoedd; yn fflamiau tân i'ch llosgi yn ddidrugaredd.

Byddwch yn cael eich hunain yn y byd mawr yn fuan, fy ngwrandawyr, ac yr wyf yn ofni llawer o honoch yn anmharod, pryd y byddwch yn dywedyd, "Dyma dragywyddolfyd mawr o fy mlaen byth mwyach; dyma ddydd yr ymweliad, am yr hwn y clywsom lawer gwaith, ond yn ddifater, wedi dyfod. O, pa beth a wnawn? Cysgod! cysgod!" Mae yn rhy ddiweddar! Mae dydd gras wedi myned heibio; ni ddychwel byth mwyach. O gof arswydus, cofio am yr holl gymhelliadau, a'r cwbl wedi eu gwrthod! O bobl, ffowch i gymeryd gafael yn "y gobaith a osodwyd o'ch blaen." "Cymerwch afael yn y bywyd tragywyddol." "Ofnwn gan hyny, gan fod addewid wedi ei adael i ni i fyned i mewn i'w orphwysfa ef, rhag bod neb o honoch yn debyg o fod yn ol."

## PREGETH XVII.

### Y TLODION YN YR YSBRYD YN ETIFEDDION Y DEYRNAS.

"Gwyn eu byd y tlodion yn yr ysbryd; canys eiddynt yw teyrnas nefoedd," Mat. v. 3.

Hon yw y frawddeg gyntaf o bregeth ryfeddol yr Arglwydd Iesu Grist. "Efe a agorodd ei enau;" a'r gair cyntaf a ddaeth allan oedd gwynfydedigrwydd. Dyma berl o enau Duw mewn cnawd; y mae pob gair o'r bregeth yn berl, ac yn fwy gwerthfawr na thir a môr. "Gwyn eu byd y tlodion yn yr ysbryd; canys eiddynt yw teyrnas nefoedd." Y cyfoethogion a fendithir yn gyffredin yn y byd hwn. Gwyn fyd y breninoedd, gwyn fyd y tywysogion, gwyn fyd y bobl gyfoethog, y rhai nad oes arnynt eisiau plygu i neb; eithr y mae Crist yn myned heibio i'r cyfoethogion a'r rhai galluog, ac yn dechreu gyda chyhoeddi gwynfydedigrwydd i'r tlodion yn yr ysbryd; "canys eiddynt yw teyrnas nefoedd." Chwychwi, y rhai ydych dlodion yn yr ysbryd, biau y deyrnas. Y mae llawer wedi myned yn falch wrth fod yn berchenogion ychydig o'r ddaear, er eu bod mewn perygl o golli y cwbl bob moment. Yr ydych chwi yn berchenogion nid yn unig ar y ddaear, ond ar yr holl nefoedd; chwi biau y cwbl, ac heb un perygl o golli eich etifeddiaeth byth. Gogoniant! Tlodi yn yr ysbryd yw y frawddeg gyntaf yn mhregeth ein Hiachawdwr, a thlodi yn yr ysbryd yw y cam cyntaf i deyrnas nefoedd. Mae y tlodi ysbryd hwn yn deilliaw—

1. O olwg ar fawredd Duw. Pan yr ydym yn gweled Duw yn fawr, yr ydym yn dyfod i weled ein hunain yn fychain ac yn wael. Pan yr ydym yn gweled Duw yn santaidd, yr ydym yn gweled ein hunain yn halogedig; pan yr ydym yn ei weled ef yn bob peth, yr ydym yn gweled ein hunain yn ddim, ac yn llai na dim. Yr ydym yn edrych ar fawredd Duw, ac yn ymostwng; yr ydym yn edrych ar gyfiawnder Duw, ac yn crynu; yr ydym yn edrych ar santeiddrwydd Duw, ac yn cywilyddio, ac yn ein ffieiddio ein hunain mewn llwch a lludw. Y mae golwg briodol ar Dduw, fel y mae yn datguddio ei hun yn ei air, yn dyfod â'r enaid mor isel, fel y mae mewn teimlad o heddwch a thawelwch tuag at ei holl oruchwyliaethau. Pwy a all ddatgan gwynfydedigrwydd y dyn sydd yn teimlo felly? Gwledd wastadol ydyw. Mae Job yn dlawd yn yr ysbryd pan y mae yn dywedyd, "Noeth

y daethum o groth fy mam, a noeth y dychwelaf yno. Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a gymerodd ymaith; bendigedig fyddo enw yr Arglwydd." "Y mae yn ffiaidd genyf genyf fi fy hun."

Y gareg gyntaf yn yr adeilad ysbrydol yw tlodi yn yr ysbryd; dyma y cam cyntaf yn ol at Dduw. Mae Crist yn dechreu ei bregeth a'r Ysbryd Glân yn dechreu ei waith yn yr un man. Y frawddeg gyntaf yn y bregeth yw y weithred gyntaf yn ngoruchwyliaeth yr Ysbryd Glân. Mae y pechadur yn cael ei doddi yn gyntaf yn ffwrnes argyhoeddiad, a'i falu yn melin ymostyngiad; ac ar ol ei ddryllio yn ddarnau, y mae yn cael ei gyfansoddi o'r newydd. Cychwynir y gwaith ynddo yn nyfnder tlodi yr ysbryd; ac wedi dwyn dyn ato ei hun, codir ef i ogoniant mewn gobaith, a rhoddir ernes bywyd tragywyddol yn y galon. Gosodir sail dedwyddwch yn isel, yn nyfnder tlodi y pechadur. Mae hyn yn groes ac uwchlaw syniadau y byd; mae y byd yn anadnabyddus o wynfydedigrwydd mewn tlodi, a gobaith gogoniant mewn trueni. Mae yn rhaid gweled Duw i ddyfod ag enaid i'r agwedd meddwl yma; ni wna clywed am dano y tro. Mae llawer wedi clywed, ac eto yn aros yn falch a phen-uchel; ond os cewch ei weled, yr ydych yn sier o ddyfod i lawr. "Myfi a glywais â'm clustiau son am danat: ond yn awr fy llygad a'th welodd di. Am hyny y mae yn ffiaidd genyf fi fy hun; ac yr ydwyf yn edifarhau mewn llwch a lludw," Job xlii. 5, 6. Diffyg gweled ei fawredd ef yw yr achos eich bod yn gweled mawredd ynoch eich hunain. Ond i chwi ei weled ef ar ei orseddfainc oruchel, bydd yn ddigon hawdd i chwi fyned i'r llwch a'r lludw. "Yna y dywedais, Gwae fi; canys darfu am danaf: o herwydd gwr halogedig o wefusau ydwyf fi, ac yn mysg pobl halogedig o wefusau yr ydwyf yn trigo: canys fy llygaid a welsant y Brenin, Arglwydd y lluoedd," Esay vi. 6. Fy nghyfeillion, tynwch yn nes i'w anfeidrol Fawrhydi, fel y'ch todder ac y'ch ffurfier i'r agwedd ddymunol hon.

2. Y mae teimlad o dlodi yn yr ysbryd yn wir angenrheidiol. Ni byddai gras Duw yn werthfawr i'ch teimladau heb yn gyntaf deimlo eich tlodi ysbrydol. Teimlad o dlodi a cholledigaeth sydd yn rhoddi gwerth ar ras Duw, yr hyn sydd yn eich codi i fyny, ac yn darpar teyrnas nefoedd i chwi gael preswylio ynddi byth. Y teimlad hwn yn unig sydd yn dysgu i werthfawrogi y deyrnas, ac yn galluogi i roddi y gogoniant i Dduw byth am y ddarpariaeth. Pe byddai Duw

yn rhoddi maddeuant pechodau heb edifeirwch am bechod, ni byddai y maddeuant hwnw yn un mwynhad i'r pechadur, ac ni chelai yr Arglwydd ddim gogoniant am ei weinyddu. Felly ni byddai yn hyfrydwch i neb, i'r Rhoddwr na'r derbyniwr. Mae yn rhaid teimlo y tlodi cyn y gwerthfawrogir byth gyfoeth yr efengyl. Os na theimlir clwyfau a doluriau yr enaid, ni werthfawrogir y Meddyg a'r balm sydd yn Gilead. Mae yr Ysbryd Glân yn dyfod â dynion i deimlo eu hangen o'r pethau cyn y gweinyddir hwynt, fel y byddo i'r claf ganmawl y Meddyg, y tlawd ganmawl y cyfoeth, a'r adfydus ganmawl y cysur a'r tangnefedd uwchlaw pob peth. Peidiwch â meddwl fod yr Arglwydd yn rhoddi y bendithion mawrion hyn i ddynion, heb gael ei gydnabod yn ddiolchgar. Nid ydych i fod fel y moch, y rhai sydd yn bwyta y mes sydd yn syrthio oddiar y derw, ac heb erioed godi eu llygaid i fyny i edrych o bà le y maent yn dyfod. Na; y mae yr Arglwydd yn dyfod â phechadur i gyfyngderau mawrion yn gyntaf, fel y byddo agoriad drws o obaith yn yr efengyl yn werth annhraethol yn ei olwg. Y mae yn dyfod â phechaduriaid i deimlo eu trueni mawr, fel y byddo i'w enw gael gogoniant mawr yn eu gwaredigaeth.

Lle y mae Duw yn meddwl rhoddi gwynfydedigrwydd, y mae yn dechreu gyda thlodi yn yr ysbryd. Mae yn gwneyd fel physygwr doeth, yn dyfod â dyn i deimlo ei glefyd yn gyntaf, a gwneyd yn iach wedi hyny. Mae yn rhaid lladd cyn bywhau, dwyn i lawr i'r bedd cyn codi i fyny. Mae yn gwneyd fel y llawfeddyg da; yn tori yn gyntaf, ac yna yn cymhwyso y feddyginiaeth i iachau. Mae fel adeiladydd doeth, yn cloddio yn gyntaf, ac wedi hyny yn adeiladu. Y mae efe yn dadwneyd dyn i'r dyben o'i wneyd drachefn yn well; y mae yn ei ddad-gymalu, i'w asio o'r newydd. Mae yn dadwneyd Zaccheus, ac yn ei wneyd o'r newydd, cyn iddo gael amser i ddisgyn oddiar ben y pren. Mae efe yn myned i fyny i'r sycamorwydden yn hen bublican, ond dyma ef yn dyfod i lawr yn sant. *Quick work*, fy nghyfeillion, onide? "A phan ddaeth yr Iesu i'r lle, efe a edrychodd i fyny, ac a'i canfu ef, ac a ddywedodd wrtho, Zaccheus, disgyn ar frys; canys rhaid i mi heddyw aros yn dy dŷ di. Ac efe a ddisgynodd ar frys, ac a'i derbyniodd ef yn llawen. A Zaccheus a safodd, ac a ddywedodd wrth yr Arglwydd, Wele, haner fy na, O Arglwydd, yr ydwyf yn ei roddi i'r tlodion; ac os dygais ddim o'r eiddo neb trwy gam-achwyn, yr ydwyf yn ei

dalu ar ei bedwerydd," Luc xix. 5—8. Dyma ddyn wedi ei ddadwneyd a'i wneyd o'r newydd ar ben y sycamorwydden; y mae wedi dyfod yn foddlon i ymadael â'i dda er mwyn crefydd; y mae pob peth ag oedd yn anwyl ganddo er ys ychydig yn ol wedi myned "yn dom ac yn golled," er mwyn "ynill Crist."

Y mae y tlawd yn yr ysbryd yn cael ei ddwyn i ryfeddu ei fod yr ochr hyn i uffern, ac i synu uwch ben y gras a'r drugaredd sydd wedi ei arbed cyhyd. A phan ddywedir wrtho fod Duw yn meddwl rhoddi teyrnas nefoedd iddo, y mae yn syrthio ar ei wyneb i'r llwch, gan waeddi, "O Arglwydd, y mae yn ormod i mi ddysgwyl." Dywedir am ryw ddyn, yn wyneb fod Alexander Fawr yn dywedyd wrtho y rhoddai iddo ddinas, iddo waeddi allan, "Y mae yn ormod." "Nid yw yn ormod i mi roddi," ebe Alexander. Mae y pechadur, y tlawd yn yr ysbryd, yn wyneb teimlad o'i annheilyngdod, yn gweled teyrnas nefoedd yn ormod iddo ef ddeibyn; eithr y mae Duw yn dywedyd, "Cymer y deyrnas, nid yw yn ormod i mi roddi." Eiddot ti yw teyrnas nefoedd.

3. Y mae y tlawd yn yr ysbryd yn cymeryd plaid yr Arglwydd yn ei erbyn ei hun. Pan y mae Duw yn ei guro, y mae yntau yn ei guro ei hun hefyd: y mae yn barod i daflu y gareg gyntaf ato ei hun; fel y gof a'i weithiwr; y mae y gof yn taro ergyd, a'r gweithiwr yn ei ddylyn a'i ergyd yn yr un man; felly pan y mae Duw yn taro ergyd ar bechod, y mae y tlawd yn yr ysbryd yn taro ergyd yn yr un man. Pan y ceryddir ef, y mae yntau yn troi arno ei hun, ac yn ei geryddu ei hun, ac yn gwneyd ei oreu i ddryllio ei galon ei hun. Mae yr annuwiol yn taro Duw yn ol bob ergyd, yn ymladd nes y mae wedi ei ddinystrio; ond y tlawd yn yr ysbryd sydd yn curo ei hun, ac yn cyfiawnhau goruchwyliaethau ei Dad nefol. Mae yr Arglwydd yn dywedyd wrtho, "Yr ydwyt yn bechadur, ac mewn eithaf trueni." "Gwir, Arglwydd," meddai y tlawd yn yr ysbryd; "myfi yw y penaf o bechaduriaid." "Yr ydwyt yn haeddu bod yn uffern," ebe Duw. "Gwir, Arglwydd; yr wyf yn cydnabod fy mod yn haeddu bod yno, ac yn y lle poethaf yno hefyd." "Y mae yn rhaid i ti ddisgyn ar frys," ebe Duw, "o'r uchelderau melldigedig yr wyt wedi dringo trwy bechod." "O'r goreu," medd y pechadur; "dyma fi yn dyfod gynta' gallwyf;" ac, eb efe wrtho ei hun, "Brysia, disgyn ar frys, i lawr â thi; i lawr, i lawr." "Mi dy achubaf di byth," medd Duw. "Yr

ydwyf yn annheilwng, O Arglwydd," ebe y pechadur; "eto os gweli di yn dda i'm hachub o dy ras anfeidrol, ti gei y clod yn dragywyddol." Mae y dyn hwn wedi dyfod mor ystwyth, fy nghyfeillion, fel ag y mae yn dywedyd, Amen, yn wyneb holl oruchwyliaeth y Goruchaf.

4. Goleu Ysbryd Duw trwy y gair santaidd sydd yn dyfod â phechadur i'r tir hwn. Yn nrych y gair y mae yn gweled ei hun fel y mae yn gywir, ac yn gweled yr Anfeidrol hefyd fel y mae; ac y mae hyn yn darostwng dyn i'r llwch yn wirfoddol wrth ei draed. Yn y drych hwn y mae yn gweled y 'gwahaniaeth anfeidrol rhwng Duw ag ef ei hun: y Creawdwr mawr a'r creadur bach; ïe, mwy o wahaniaeth na hyny yn annhraethol! Y gogoneddus mewn santeiddrwydd, a'r telpyn anferth o halogedigaeth. Mae golwg ar ogoniant a santeiddrwydd natur y Bod mawr, yn peri i'r pechadur gywilyddio, arswydo, a syrthio i lawr ar ei wyneb, a gwaeddi allan gyda Pedr, "Dos ymaith oddiwrthyf; canys dyn pechadurus wyf fi, O Arglwydd," Luc v. 8. Mae efe yn lladd i gael bywhau drachefn, yn dad-gymalu i gael ail-gysylltu am byth. Mae yn rhaid gwaghau o lawnder annghyfreithlon cyn llanw â phethau da; nid oes le i ddim da os bydd y dyn yn llawn eisoes o bethau drwg. Mae yn rhaid i'r dyn sydd yn tybio ei hun yn ddoeth gael ei arllwys allan, a'i wneyd yn ffol, cyn y gellir ei wneyd yn gall; rhaid i Dduw gael y sylfaen yn dda; nid yw efe yn meddwl adeiladu dim ar hen sylfaen y cythraul. "Na thwylled neb ei hunan; od oes neb yn eich mysg yn tybied ei fod yn ddoeth yn y byd hwn, bydded ffol, fel y byddo ddoeth," 1 Cor. iii. 18.

Y mae yn rhaid arllwys y dyn allan o'i wag-orfoledd; y mae yn "gorfoleddu yn ei ymffrost. Pob cyfryw orfoledd drwg ydyw." Nid oes le i ddim gorfoledd gwirioneddol yma; y mae y llestr yn rhy lawn o grechwen a gorfoledd y byd hwn, a gwynt y diafol; rhaid ei arllwys allan i gyd cyn y gellir rhoddi y gwir orfoledd yn ei le. A ydyw y pechadur yn uchel? Mae yn rhaid ei ddarostwng, i'r dyben o'i ddyrchafu yn wirioneddol. Mae Crist yn dywedyd wrth eglwys Laodicea ei bod yn rhy gyfoethog i fyned i'r nefoedd, ac yn ddigon tlawd i fyned i uffern. "Oblegyd dy fod yn dywedyd, Goludog wyf, a mi a gyfoethogais, ac nid oes arnaf eisiau dim; ac ni wyddost dy fod yn druan, ac yn resynol, ac yn dlawd, ac yn ddall, ac yn noeth." Yr oedd gan yr eglwys hon bob peth yn dybiol; ond nid oedd ganddi ddim yn syl-

weddol. Mae Crist yn rhoddi *recipe* at y dolur iddi: "Yr wyf yn dy gynghori i brynu genyf fi aur wedi ei buro drwy dân, fel y'th gyfoethoger. Tafla yr hen aur o'r pwrs i'r domen; *counterfeits* yw y cwbl; nid yw *bank* y nef yn derbyn dim o hono; a llanw dy bwrs â'r aur a burwyd trwy dân o Fethlehem i Galfaria." Gogoniant! dyma y *coin* sydd yn pasio yn mhob gwlad. "Tafla hefyd yr hen ddillad a halogwyd gan y cnawd i'r cŵn, a thyred yma i mi gael dy wisgo â'r dillad gwynion, fel nad ymddangoso gwarth dy noethder di. A dyma eli llygaid i ti; cymer hwn, ac ira dy lygaid ag ef, nes y gwelych."

Y mae yn rhaid i chwi ddeall eich sefyllfa dlawd, fy nghyfeillion, onide ni ddewch byth yn gyfoethog. Gwaith cyntaf yr Ysbryd Glân yw dyfod â dynion yn gydnabyddus â'u tlodi ysbrydol; y mae yn rhaid cael argyhoeddiad cyn cael darostyngiad. Yr ydym yn gweled hyn yn eglur yn Manasseh, y pechadur ofnadwy hwnw, yr hwn a wnaeth i heolydd Jerusalem lifo fel afonydd â gwaed y saint. Mae yr Arglwydd yn ei ddanfon yn gyntaf i gaethiwed ac i garchar, a chadwynau digon pwysig am dano i'w gadw rhag gwingo llawer. Ac wedi ei ddarostwng fel hyn, ac i'r pechadur mawr ddyfod i ymostwng ger bron yr Arglwydd, y mae efe yn ymweled ag ef wedi hyny â maddeuant. Yr ydym yn gweled yr un oruchwyliaeth tuag at Paul. Edrychwch am fynyd ar Saul yn myned ar gefn y ceffyl yn Jerusalem, i farchogaeth ar ffrwst tua Damascus i ladd pob un oedd yn galw ar enw yr Arglwydd Iesu. Mae y ceffyl yn un uchel iawn; *presumption* yw ei enw—rhyfyg; dacw ef yn *mountio* wrth dŷ yr arch-offeiriad, ar gefn y ceffyl pen-uchel, yn dodi yspardynau o eiddo sel ar ei sodlau, yn cymeryd chwip erledigaeth yn ei law, ac yn gyru fel cythraul yn nghroen dyn, yn llawn malais a chynddaredd uffernol tua Damascus i gael gwneyd hafog a dystryw o'r saint. Ond ar y ffordd rhwng Jerusalem a Damascus, dyma ryw un ar farch gwyn yn dyfod i gyfarfod ag ef, ac yn gollwng saeth oddiar ei fwa i galon y *general* o Tarsis, nes ydoedd yn cwympo oddiar gefn y ceffyl i'r llawr yn glwyfedig. Gogoniant! bendigedig byth! mae y gwr ar y march gwyn yn fwy na digon o *fatch* i'r cadlywydd o Tarsis. Yr oedd Saul yn dyfod yn nerth holl awdurdod yr arch-offeiriaid a'r henuriaid; ond y mae Gwr ar y march gwyn yn dyfod yn holl nerth ac awdurdod yr orsedd fry, wedi "derbyn pob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear."

Diolch, y mae ein Iesu ni wedi llorio y cawr; y mae yn gwaeddi allan ar ei hyd, "Pwy wyt ti, Arglwydd?" "Myfi yw Iesu." Gyda hyn dyma ef yn datod yr yspardynau oddiam ei draed, ac yn taflu y chwip o'i law; y mae yn rhoddi ei hun i fyny, ac yn cael ei gymeryd yn *brisoner of war;* ac yn fuan yr ydym yn clywed ei fod yn dechreu edifarhau am wrthryfela yn erbyn Immanuel, ac yn gweddio am drugaredd. "Wele, y mae efe yn gweddio." Dyma bob gobaith wedi darfod os na chymer y Goruchaf drugaredd. "Saul, pa le y mae y *stock* fawr o hunan-gyfiawnder ag oedd genyt er ys meityn?" "Och, mae y cwbl wedi myned; collais y cwbl o hono yn yr ymdrech â'r Iesu." Y peth cyntaf a wnaeth yr Arglwydd Iesu oedd ei dynu i lawr oddiar gefn ei geffyl, ac wedi hyny ei gadw mewn tywyllwch am ychydig, gan ei lanw â dychryn ac â syndod, a'i haner newynu; canys nid yn unig yr oedd yn ddall, ond hefyd yr oedd heb na bwyta nac yfed am dri diwrnod. Wedi ei feistroli fel hyn yn dda, y mae yr Arglwydd yn estyn trugaredd iddo, ac yn ei gysuro.

Pan edrychwn ar daith Joseph yr ydym yn barod i ofyn i'r Duw mawr, Llywodraethwr nef a daear, "Beth yr ydwyt ar fedr wneyd ag ef o'r diwedd? a ydwyt yn meddwl lladd y llanc tyner trwy ryw res o greulonderau fel yna? a ydwyt yn meddwl suddo y bachgen tlawd i dir annghof na welir ef byth mwy?" "Na, yr ydwyf yn meddwl ei wneyd am byth; yr ydwyf yn meddwl ei gadw yn fyw; yr ydwyf yn meddwl ei godi yn llywydd ar holl wlad yr Aipht." "Ië, Arglwydd mawr, ond nid dyna y ffordd, yr ydwyt yn myned y ffordd chwith i weithio; y ffordd i ddystryw yw hona; tro yn ol, yr ydwyt wedi camsynied." "Na, dyma ffordd y nefoedd, trwy y pydew, trwy gaethiwed yr Ismaeliaid, a charchar yr Aipht i gymydogaeth gorsedd y Goruchaf." Wrth ei ddanfon y ffordd hon, ni bydd ei ben yn rhy ysgafn i ddal anrhydedd wedi y caiff ei ddyrchafu i fyny. Felly y gwelwn fod y llwybr i ogoniant ac anrhydedd yn myned trwy "lawer o orthrymderau." Hon oedd llwybr Duw gynt tuag at Job, yn ei ddwyn yn gyntaf drwy gystuddiau er ei gymhwyso i ddal ychwaneg o ddyrchafiad. "Canys y mae Duw yn llefaru unwaith, ïe, ddwywaith; ond ni ddeall dyn. Efe a geryddir trwy ofid ar ei wely; a lluaws ei esgyrn â gofid caled: fel y ffieiddio ei fywyd ef fara, a'i enaid fwyd blasus. Derfydd ei gnawd ef allan o olwg: saif ei esgyrn allan y rhai ni welid

o'r blaen. Nesâu y mae ei enaid i'r bedd, a'i fywyd i'r dinystrwyr." Mae pawb yn dywedyd ei fod yn cael ei arwain i angau, ac y sudda o'r golwg i'r bedd yn fuan iawn. Eithr y ffordd sydd yn angau yn ngolwg dynion, sydd yn ffordd bywyd yn ngolwg Duw. "Yna efe a drugarha wrtho, ac a ddywed, Gollwng ef, rhag disgyn o hono i'r clawdd; myfi a gefais iawn. Ireiddiach fydd ei gnawd na bachgen; efe a ddychwel at ddyddiau ei ieuenctyd. Efe a weddia ar Dduw, ac yntau a fydd boddlawn iddo; ac efe a edrych yn ei wyneb ef mewn gorfoledd: canys efe a dâl i ddyn ei gyfiawnder," Job xxxiii. Wedi i'r Arglwydd ei aredig yn dda, y mae wedi hyny yn hau yr had nefol ynddo. Dyma drefn natur, a dyma drefn gras hefyd. Mae efe yn gweithredu tuag at holl lestri gogoniant fel mae y gof-arian tuag at yr hen lestri; sef eu curo i fyny, eu toddi o'r newydd, a'u rhedeg i ffurfiau gwahanol, ac yna y maent yn gymhwys i fwrdd y brenin eilwaith. Mae yr Arglwydd, fy nghyfeillion, yn curo y pechadur i fyny yn llaprau, yn ei daflu i'r ffwrnes, yn ei doddi, ac yn ei *foldio* o'r newydd, ac yn gosod arwyddlun o anrhydedd arno, sef ei ddelw ei hun; ac y mae yn gosod y ddelw hon yn ddwfn arno. Dyma yr arwyddair a'r argraff wrth ba un yr adnabyddir ef mwy mewn amser ac yn nydd y farn, pan y bydd yn gwneyd ei dlysau i fyny.

Mae y saint, fy nghyfeillion, drwy oruchwyliaethau yr Ysbryd Glân, wedi eu cymhwyso a'u gwneyd yn llestri trugaredd, ac wedi eu darparu i ogoniant, yn addas at wasanaeth Brenin y breninoedd yn ei lys bendigedig; yn ei balas ardderchog fry, y tu draw i'r byd a'r bedd. Dyna y pryd y bydd delw ac argraff Cesar yn eiddo Cesar, a delw ac argraff Duw yn eiddo Duw. Y mae dyn wrth natur yn anwybodus o'r tir hwn, sef tlodi yn yr ysbryd; nid yw y planhigyn hwn yn tyfu yn ngardd natur; y mae dynion y byd, a'r rhagrithwyr yn eglwys Dduw hefyd, yn ddyeithriaid i'r teimlad hwn. Nid ydyw hwn i'w gael trwy oleuni natur, trwy reswm, na thrwy ddysgeidiaeth ychwaith. Nid yw y goleuadau hyn yn goleuo y ffordd i ddyffryn gostyngeiddrwydd. Nid yn y dyffryn hwn y ganwyd neb dynion. "Yn mha le, ynte, y mae dyn wedi ei eni?" Ar ben mynydd balchder a rhyfyg. "Wel, os ydyw dyn wedi ei eni ar ben y mynydd, y mae yn ddedwydd ac mewn sefyllfa o ddyogelwch, ac yn haner y ffordd i'r nefoedd yn barod." Na, na; y mae pen y mynydd hwn yn mhell o'r nefoedd, yn sefyll yn agored i'r peryglon

mwyaf; y mae dynion yn agored i ystormydd tragywyddol; ac os na chipier hwy oddiyno trwy drugaredd dwyfol, bydd y "poethwynt ystormus" wedi eu gyru yn fuan dros y dibyn i'r llyn. Y mae miloedd wedi gwneyd eu trigfanau yn mhlith ser y nefoedd, ar ben bryniau balchder, ac wedi gwneyd eu gwelyau wedi hyny yn y fflamiau. Mae yn rhaid i chwi gofio, fy nghyfeillion, mai yr ochr hwnt i'r mynydd hwn y mae dyffryn dystryw yn gorwedd, lle mae y pydew diwaelod; ac mai oddiar yr uchelderau hyn y mae ystorm digofaint Duw yn ysgubo rhyw dyrfaoedd bob blwyddyn i ddystryw. Mae dyffryn gostyngeiddrwydd yr ochr hyn i'r mynydd; a phawb na ddygir i'r dyffryn hwn trwy ras y Nefoedd, sydd yn sicr ryw ddiwrnod o gael eu gyru bendramwnwgl i lawr yr ochr draw, a thori eu gyddfau wrth gwympo i bydew dinystr. "Uchel drem dyn a iselir, ac uchder dynion a ostyngir; a'r Arglwydd yn unig a ddyrchefir yn y dydd hwnw. Canys dydd Arglwydd y lluoedd fydd ar bob balch ac uchel, ac ar bob dyrchafedig, ac efe a ostyngir. A dinystr y troseddwyr a'r pechaduriaid fydd yn nghyd; a'r rhai a ymadawant â'r gyfraith a ddyfethir. Canys byddwch fel derwen â'i dail yn syrthio, ac fel gardd heb ddwfr iddi. A'r cadarn fel carth, a'i weithydd fel gwreichionen: a hwy a losgant ill dau yn nghyd; ac ni bydd a'u diffoddo."

Ni a welwn fod dyn wedi ei eni a'i fagu ar uchelder balchder; bydd yn rhaid ei gael i lawr ryw ochr i'r mynydd; naill ai ei ddenu trwy ras i ddyffryn ymostyngiad, neu ei hyrddio yr ochr arall gan wynt cryf digofaint Duw i'r pydew diwaelod. Mae y beilchion i ddyfod i lawr ryw ochr neu gilydd i'r mynydd, a hyny cyn bo hir; Duw lwyddo yr efengyl i gael pechaduriaid i lawr yr ochr hyn. Yr ydych chwi sydd yn rhy falch i osod eich traed ar y ddaear, yn sicr o ddyfod yn ddigon isel yn y man; ond y pwnc pwysig yw, pa ochr i'r mynydd yr ydych yn debyg o syrthio; pa un ai yr ochr hyn i freichiau trugaredd, neu yr ochr hwnt i fflamiau uffern? O Arglwydd Dduw, danfon dy Ysbryd i ddarostwng "uchel drem dyn," ac nid pwysau dy ddigofaint i'w wasgu yn îs na'r bedd. Fy nghyfeillion, onid ydyw yn mron pryd i chwi ystyried i ba ddyffryn yr ydych yn debyg o ddyferu; pa un ai dyffryn gostyngeiddrwydd yr ochr hyn, neu ynte dyffryn dystryw yr ochr draw. Ond hyn y wyddom, pa ochr bynag y byddwch yn cwympo, y bydd y Duw anfeidrol yn cael ei "ddyrchafu yn y dydd hwnw." Os disgynwch i uffern, bydd

yr Arglwydd yn cael ei ddyrchafu yn eich damnedigaeth; ac os syrthiwch i lawr i ddyffryn gostyngeiddrwydd, caiff ei ddyrchafu byth yn eich cadwedigaeth. "Yr Arglwydd yn unig a ddyrchefir yn y dydd hwnw."

Y mae "balchder yn myned o flaen cwymp," ebe y gwr doeth. Chwychwi sydd yn preswylio ar ben mynydd balchder, a chlogwyn ymchwydd, yr ydych mor sicr o syrthio oddiyno a'ch bod yn preswylio yno heddyw. Mae balchder y wlad yn ofnadwy yn y dyddiau hyn; mae cwymp gerllaw; hi ddaw yn wasgfa arnoch ar ol yr holl wastraff ar drugareddau Duw i borthi blys a balchder. Chwi syrthiwch yn ddiau; a "lle syrthio y pren, yno yr erys efe." Nid oes neb ond Duw ei hun, fy nghyfeillion, a all effeithio y cyfnewidiad mawr hwn mewn dyn: ei droi, dyfod ag ef o ben y mynydd i'r pant, dyfod ag ef o fod yn un mawr i fod yn un bach; o feddwl ei fod yn rhywbeth i feddwl nad yw yn ddim. Mae hwn yn orchwyl mawr, yn rhy fawr i neb byth ei wneyd ond yr Hollalluog Dduw. Mae y Jehofah bendigedig yn cylchynu y balch o amgylch â chyfraith danllyd ei ddeheulaw, yn cyfeirio holl fagnelau Sinai ato, ac yn eu gollwng fel taranau at ei ben, nes gosod ei dŷ ar dân gwyllt o amgylch ei glustiau, ac yntau yn nghanol y mwg a'r pelenau tanllyd yn gwaeddi, "O Arglwydd, darfu am danaf." Mae y gau gysgod yn yr hwn yr ymgysgododd, a'r *prop* ar yr hwn y pwysodd, wedi eu chwythu i fyny. Gogoniant! mae y castell wedi ei gymeryd, y mae y cadlywydd satan yn ffoi o flaen ergydion cyfraith danllyd deheulaw Duw. *A well directed volley indeed.* Bendigedig! dacw dywysog y fyddin ddu wedi codi y gwarchae, ac yn ffoi am ei fywyd, a'r pechadur balch yn syrthio yn ostyngedig ar ei liniau, ac yn gwaeddi am *quarter*, ac yn ofni bob moment gawod arall o fwledi i'w yru yn bendramwnwgl i ddystryw. Eithr, rhyfeddol yw adrodd, wele y Jehofah, yn lle saethu ergyd arall ato, a'i yru i uffern, yn cyfeirio ato lewyrch â'i ras, a'i achub o ganol y mwg a'r tân. Dyma y "pentewyn wedi ei achub." Mae yn awr wedi ei ddwyn yn isel, a'i wneyd yn dlawd yn yr ysbryd, yn foddlon i dderbyn trugaredd ar ryw delerau. Mae yn foddlon i adael nid yn unig ei bechodau aflan, ond hefyd ei hunan-gyfiawnderau; ïe, yn foddlon i adael pob peth er mwyn enill Crist. Mae yn fwy anhawdd cael dyn oddiwrth ei hunan-gyfiawnder na'i bechodau mwyaf ysgeler; eithr unwaith y dygir ef yn dlawd yn yr ysbryd, y mae yn edrych ar ei ddyled-

swyddau goreu gyda chywilydd. Mae yn cyfrif y cwbl yn "dom ac yn golled, er mwyn ardderchogrwydd gwybodaeth Crist Iesu yr Arglwydd," ac yn dymuno ei "gael ynddo ef" heb edafen o'i "gyfiäwnder ei hun." Nid oes eisiau edafen, fy nghyfeillion, i wneyd cyfiawnder ein Harglwydd Iesu Grist yn fwy perffaith; y mae yn berffaith a digonol byth ynddo ei hun; yn wyn a glân, ac yn ddigonol i guddio y saint am dragywyddoldeb. Gogoniant! dyma ddigon byth.

Y mae yr Arglwydd hefyd, er mwyn darostwng pechadur, yn ei alw ger ei fron, ac i wyddfod ei Fawredd anfeidrol, ac yn cynal cymdeithas neillduol rhyngddynt ill dau, pryd y mae y Bod mawr yn egluro ei ogoniant i'r creadur tlawd; ac y mae y gogoniant a'r dysglaerdeb annhraethadwy hyn yn treiddio i mewn i holl gelloedd tywyll yr enaid. Yna y mae yr enaid yn dechreu crynu ger bron y golygfeydd hyn, wedi hyny, y mae y Jehofah yn dechreu ei ddysgu nad yw efe ddim, ïe, yn llai na dim. Mae yn dangos iddo y pellder anfeidrol sydd rhyngddynt ill dau. Mae efe yn dywedyd wrth y pechadur, "Yr ydwyt ti yn bryfyn gwael; yr ydwyf fi yn Dduw gogoneddus; yr ydwyt ti yn greadur, yr ydwyf fi yn Greawdwr; yr wyf fi yn y nefoedd, yr ydwyt tithau ar y ddaear." Yna y mae efe yn myned yn y blaen, ac yn ei ddysgu yn mhellach, nid yn unig y gwahaniaeth naturiol sydd rhyngddynt, ond hefyd y gwahaniaeth moesol. Y mae hwn yn anfeidrol fwy. "Bechadur," medd Duw, "edrych ar Dduw santaidd, cyfiawn, a phur, nes cywilyddio o honot, a ffieiddio dy hun." Pan y dygir y pechadur i weled y Duw noeth fel y mae, a'i hunan noeth fel y mae yn sefyll yn mhresenoldeb y Goruchaf, y mae yr olygfa yn peri iddo gwympo ar ei wyneb yn y teimlad o'i noethder a'i warth, a gwaeddi allan am drugaredd fel y penaf o bechaduriaid. Mae yr hunan sydd mewn dyn yn toddi yn wyneb tanbeidrwydd gogoniant y Bod anfeidrol.

Mi glywaf ryw un yn dweyd, "Yr ydych yn dyrysu." Paham y dywedwch hyny? "Wel, y mae eich testun yn dywedyd fod y tlodion yn yr ysbryd yn wynfydedig; eithr yr ydwyf fi yn dweyd eu bod yn felldigedig; nid wyf yn ol eich desgrifiad chwi yn gallu gweled dim ond trueni a gwae yn eu sefyllfa. Mae eich testun yn addaw teyrnas nefoedd iddynt, ond yr wyf fi yn tybied mai uffern ar y ddaear yw eu sefyllfa. Beth ond uffern yw i ddyn gael ei ddal i edrych ar Dduw noeth, allan o'i Fab, ac edrych ar

drueni a damnedigaeth dragywyddol?" Gwir. Y mae ystorm ddychrynllyd yn yr ysbryd hyd nes y mae wedi ei ddarostwng yn llwyr; yna y mae hindda a thawelwch yn dychwelyd, ac y mae yr enaid helbulus a therfysglyd yn cael gorphwys yn Nghrist. *After a storm cometh a calm.* Mae yr Arglwydd yn amlygu ei hun i'r pechadur yn gyntaf fel Duw noeth, yn santaidd a chyfiawn, yn "lanach ei lygaid nag y gall edrych ar ddrwg," ac yn dyfod ag ef i weled ei drueni yn wyneb hyn, nes myned yn ddim yn ei wyddfod; yna y mae yn amlygu ei hun yn nghyfryngdod yr Arglwydd Iesu fel Duw iachawdwriaeth. Byddai golwg ar ogoniant noeth Duw y tu allan i Gyfryngwr yn sicr o suddo y creadur i uffern obry cyn hir; eithr nid yw yn cael ei ddal o flaen y drych hwn yn hŵy nag y bydd iddo weled ei lun a'i agwedd ei hun yn briodol, a chael ei ddarostwng i'r llwch; ac yna dygir ef i edrych ar ogoniant yr Arglwydd mewn drych arall nes ei gyfnewid i'r unrhyw ddelw "o ogoniant i ogoniant, megys gan Ysbryd yr Arglwydd." Yn wyneb Iesu Grist y mae hi yn gwella; y mae yn gweled yma bob peth ag sydd arno eisiau, am amser ac i dragywyddoldeb. Yma y mae yn gweled sylfaen i'w gadw rhag suddo, noddfa i'w gadw rhag y dialydd, ffynon i'w ddisychedu yn amser sychder, ac i'w olchi yn wyn oddiwrth ei holl aflendid.

Yn wyneb ei fod yn gweled y pellder anfeidrol sydd rhyngddo a Duw wrth natur, y mae yr olwg nesaf yn dyfod â Iesu Grist i'r golwg, Cyfryngwr y Testament Newydd, yn ddigon yn y canol, ac yn dyfod â'r ddau oedd gynt yn mhell oddiwrth eu gilydd yn agosach nag erioed trwy ei waed. Mae y pechadur yn gweled Iesu yn ei Dduwdod cyfuwch a'r uchaf, ac fel dyn yn is na'r iselaf; yn Gyfryngwr cymhwys i uno y ddwy blaid ynddo ei hun. Mae yn ei weled yn ddigon i Dduw, ac yn gymhwys i ddyn; yn cynwys y ddwy blaid ynddo ei hun mewn perffaith dangnefedd. Bendigedig am un cymhwys i "osod ei law arnom ein dau." Diolch! fe gaiff y Duw santaidd a chyfiawn a'r pechadur gwael drigo mwy gyda'u gilydd yn oes oesoedd. Gogoniant! Chwi welwch, fy nghyfeillion, fod y tlawd yn yr ysbryd yn wir wynfydedig; ac nad ydym wedi cyfeiliorni na dyrysu mewn perthynas iddo. Mae pob peth wedi ei wneyd o'r newydd; y mae wedi ei symud o gyflwr natur; y mae ei ddedwyddwch yn gynwysedig mewn pethau gwahanol, nad oedd yn wrthddrychau ei bleser mewn cyflwr natur. Nid yw y tlawd yn

yr ysbryd y peth fu gynt; nid yw yn byw ar yr un pethau, nid yw yn caru yr un gwrthddrychau ag ydoedd yn ei gyflwr natur. Mae ysbryd dyn wrth natur yn dywyllwch, eithr trwy ras yn oleuni yn yr Arglwydd: wrth natur y mae yn uchel ac yn falch, trwy ras y mae wedi ei ddarostwng i'r llwch; wrth natur y mae yn galed a chyfan, trwy ras y mae yn doddedig a meddal; wrth natur yn mhell oddiwrth Dduw, trwy ras wedi ei ddwyn yn agos. Felly y mae y tlawd o ysbryd wedi ei wneyd y peth nad oedd wrth natur. Mae y tlodi ysbryd hwn yn sefyll yn holl wrthwynebol i sefyllfa natur. Mae gan y tlawd yn yr ysbryd lygaid yn ei ben, ond y mae dyn wrth natur yn ddall, canys y mae satan yn dal ei law fawr, ddu rhyngddo a gogoniant pethau dwyfol ac ysbrydol; ond y mae y tlawd yn yr ysbryd yn gweled i raddau fel y mae Duw yn gweled, y mae llygaid ei feddwl wedi eu hagor trwy ras, fel y mae yn gweled mawredd Duw, gwerth enaid, a phwysigrwydd sefyllfa dragywyddol. Mae y tlawd yn yr ysbryd wedi ei wneyd yn gydnabyddus â'r pethau canlynol:—

1. Y mae yn gweled ei gyfeiliornadau ei hun.

2. Y mae yn gweled ei sefyllfa golledig.

3. Y mae yn gweled yr angenrheidrwydd am ras a thrugaredd er ei achub i fywyd tragywyddol.

1. Y mae yn gweled ei gyfeiliornadau ei hun. Mae dyn yn ddarostyngedig i gyfeiliornadau dychrynllyd wrth natur. Mae ganddo feddyliau uchel a pharchus am dano ei hun; mae yn meddwl ei fod yn wr boneddig, ac yntau yn dlawd; mae yn credu ei fod yn ddedwydd, ac yntau yn y trueni mwyaf. Mae Solomon yn dywedyd fod "cenedlaeth lân yn ei golwg ei hun, er nas glanhawyd oddiwrth ei haflendid," Diar. xxx. 12. Cyfeiliornad ofnadwy! Maent yn meddwl eu bod wedi eu gwaredu allan o'u holl drueni, a hwythau ar yr un pryd mewn "bustl chwerwder, a rhwymedigaeth anwiredd." Yr oedd Laodicea fel y sylwasom o'r blaen, yn y cyfeiliornad mwyaf am dani ei hun. Mae yr apostol Paul yn siarad yn y goleu; yr oedd yn un o'r tlodion yn yr ysbryd; eithr yr oedd Laodicea yn dlawd ysbrydol, ac yn gyfoethog yn yr ysbryd. Yr oedd Paul yn rhagori mewn gras a doniau ysbrydol ar y rhan fwyaf, eto yn ei deimlad ei hun yn llai na'r holl saint, ac yn fwy na'r holl bechaduriaid. Mae penau a chalonau y tlodion yn yr ysbryd wedi eu gwaghau o'r tybiau gau oedd yn llanw ymenyddau eglwys Laodicea, a'r gen-

edlaeth y mae Solomon yn son am dani, ag oedd lân yn ei golwg ei hun; ac yn lle y rhai hyny y mae ganddynt yr unrhyw feddyliau cywir am bethau ag oedd gan yr apostol Paul; fe allai nid i'r un graddau, eithr yn hollol yr un natur.

Mae y balch yn yr ysbryd yn byw yn annibynol, yn byw arno ei hun; mae yn caru bod yn *independent gentleman, living on his own property;* y mae yn rhy foneddig i guro wrth ddrws trugaredd fel cardotyn. Mae y balch yn yr ysbryd yn dywedyd yn ei ymddygiadau, "Yr oedd fy nhad yn wr boneddig yn Eden, paham na allaf finau fod yn wr boneddig hefyd?" Nid wyt yn ystyried i dy dad dori yn Eden, a myned yn *fankrupt*, a methu talu haner coron y bunt; ïe, methu talu dim y bunt; ac nid oedd ganddo ddim i'w adael iddo ei hun nac i'w hiliogaeth ond dyled, a gwarth, a chywilydd wynebau. Buasai dy dad, hen wr boneddig Eden, wedi newynu byth ei hun, oni buasai iddo gael trugaredd oddiwrth y Nefoedd. Mae tlodi yn yr ysbryd yn ras, a gras rhyfedd ydyw hefyd. Mae yn dysgu dyn yn gyntaf dim ei fod heb ras, heb ddim daioni ynddo; eithr yn llawn o bob drygioni, halogedigaeth, a thrueni. Felly ni a welwn fod y tlawd yn yr ysbryd yn ddyn sydd wedi ei "droi o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant satan at Dduw." Mae wedi ei "droi o gyfeiliorni ei ffordd;" mae y niwl a'r pendro wedi eu tynu o'i ben; y mae yn "eistedd wrth draed yr Iesu yn ei ddillad ac yn ei iawn bwyll."

2. Y mae y tlawd yn yr ysbryd yn gweled ei sefyllfa golledig. Nid yn unig y mae yn gweled ei gyfeiliornad wrth goleddu y fath dybiau am dano ei hun, ond hefyd y mae wedi dyfod i edrych arno ei hun yn wyneb goleu gair Duw; ac y mae yn gweled yn eglur yn ngair yr Arglwydd ei fod yn sypyn o bechod a thrueni. Y mae yn barod i waeddi allan, "Mi dreuliais lawer o flynyddoedd yn y tywyllwch; ond bendigedig fyddo Duw am agor fy llygaid cyn iddi fyned yn rhy ddiweddar; yr oedd yn drugaredd na adawyd fi i gysgu hûn marwolaeth, ac agoryd fy llygaid yn y fflamiau. Buasai Duw yn gyfiawn byth pe buasai yn eu gadael heb eu hagoryd, nes eu hagor yn y poenau tragywyddol gyda'r goludog. Diolch! nid yn unig yr wyf wedi gweled pechod yn dra phechadurus, eithr wyf hefyd wedi gweled y 'dystryw sydd yn dyfod o bell,' ac wedi cuddio fy mhen am byth yn nghlwyfau y croeshoeliedig Oen, tra y mae miloedd o fy nghyfoedion wedi dylyn eu ffyrdd drygionus, ac wedi eu damnio byth."

3. Y mae y tlawd yn yr ysbryd yn gweled ei hun yn annheilwng o un drugaredd. Felly y mae efe yn awr yn ddyn yn y goleu; y mae ganddo lygaid i weled, ac y mae ganddo glustiau i glywed hefyd. Mae ei glustiau wedi eu gwneyd yn deneu i wrando gorchymynion ei Dduw. Os ydyw yr Arglwydd yn dywedyd am gadw yn santaidd y dydd Sabbath, nid ydyw yn amheu dim, eithr yn ufuddhau yn union, gan ddywedyd, "Nid oes genyf ddim i wneuthur â'r gyfraith ond ufuddhau iddi." Nid dyn byddar ydyw mwy, na mud chwaith; mae ganddo glustiau tenau i glywed, a thafod ystwyth i lefaru dros Dduw, a dywedyd wrth y rhai sydd o'i amgylch beth a wnaeth i'w enaid. Nid dyn marw ond byw yw y tlawd yn yr ysbryd; y mae ganddo galon i deimlo; y mae ei gydwybod yn dyner, yn deimladwy o'r pechod lleiaf. Y peth nad yw yn effeithio dim ar yr annuwiol, a ddifeddiana y dyn hwn o'i gwsg. Mae yn dyner ac yn ostyngedig yn ymdrechu rhodio gyda Duw. Y mae ei draed yn sefyll ar yr un tir a'i Arglwydd; y mae yn cerdded yn ei lwybrau, ac yn gorphwys am iachawdwriaeth yn yr un man ag y mae Efe yn gorphwys am iawn a boddlonrwydd.

Y mae dyn wrth natur yn uchel ei feddwl, ac yn isel ei sefyllfa; a phan y mae yr Arglwydd yn myned i'w achub, nid yw yn codi ei sefyllfa i fyny at ei feddwl uchel, ond yn darostwng ei feddwl at ei sefyllfa isel. Pan yr oedd y pechadur yn dlawd, ac heb Dduw yn y byd, yr oedd yn byw yn y gwynt, ar fryniau uchel balchder; eithr yn awr y mae yn nyffryn gostyngeiddrwydd, yn rhodio gyda Duw, ac yn ei fwynhau. Nid pechadur hunan-ddigonol ydyw mwyach, eithr pechadur teimladwy a gostyngedig, yn derbyn trysorau gras yn ddiolchgar. Mae gogoniant Duw a dedwyddwch dyn wedi eu huno â'u gilydd yn hyn; y mae yr Arglwydd yn cael gogoniant am ei fod yn cael lle i weinyddu gras, a'r pechadur yn ddedwydd wrth ei dderbyn. Mae y tlawd hwn â'i wyneb ar Dduw, a Duw â'i wyneb arno yntau: maent yn edrych ill dau ar eu gilydd, ac yn ymhyfrydu yn eu gilydd. Y tlawd yn edrych ar gyfoeth yr Holl-gyfoethog, ac yn ei dderbyn; a'r Holl-gyfoethog yn edrych ar dlodi y tlawd, yn tosturio wrtho, ac yn cyfranu trugaredd iddo. Bendigedig! mae y Jehofah anfeidrol yn edrych ar hwn gyda hyfrydwch. "Er fod yr Arglwydd yn uchel, eto efe a edrych ar yr isel." Gwnaeth y nefoedd yn orseddfa iddo ei hun; a'r lle nesaf at

y nefoedd yw calon y tlawd yn yr ysbryd; dyma ei orseddfa a'i breswylfod ar y ddaear.

Yn awr, fy nghyfeillion, yr wyf am i chwi daflu ail olwg dros y bregeth ardderchog hon o eiddo ein Hiachawdwr. Ni bydd yn waeth o edrych drosti eilwaith ac eilwaith; hi ddeil adolygiad ac ymchwiliad y beirniaid mwyaf; mae ei chyfoeth a'i thrysorau yn anhysbyddadwy.

Edrychwch ar dduwinyddiaeth y bregeth hon: y mae yn taflu holl philosophi y byd i ddyryswch a thywyllwch tragywyddol. Mae philosophyddiaeth yn methu cyfrif pa fodd y mae tlodi yn cynyrchu cyfoeth, yn gymaint ag mai peth hollol groes i gyfoeth yw tlodi; dau beth gwrthwynebol i'w gilydd. Yma, chwi welwch, y mae y tlodion yn gyfoethogion; yn berchenogion "teyrnas." "Eiddynt yw teyrnas nefoedd." Mae y galarwyr yn byw mewn cysur: "Hwy a ddyddenir." Mae dwfr yn arfer diffodd y fflamiau; eithr yma y mae dyfroedd dagrau yn enyn fflamiau llawenydd. Y mae erledigaeth yn arfer troi gwynfydedigrwydd dros y drws; eithr yma y mae yn cynyrchu dedwyddwch. "Gwyn eu byd y rhai a erlidir." Mae athrawiaeth yr Arglwydd Iesu a meddyliau dynion y byd hwn yn gwahaniaethu yn ddirfawr. Y byd sydd yn dywedyd, "Gwyn eu byd y rhai sydd yn gyfoethog, y rhai sydd â digon o aur ac arian, tai a thiroedd ganddynt;" ein Hiachawdwr sydd yn dywedyd, "Gwyn eu byd y tlodion yn yr ysbryd." Y byd sydd yn dywedyd, "Gwyn eu byd y rhai sydd ar ben y pinaclau;" ein Hiachawdwr, "Gwyn eu byd y rhai sydd yn y dyffryn." Nid yw y byd a Christ yn cytuno yn nghylch natur gwir grefydd. Yn y bregeth hon "tlodi yn yr ysbryd" sydd yn arwain blaen y fyddin, ac erledigaeth sydd yn dyfod i fyny â'r ol-fyddin. *Poverty leads the van, and persecution brings up the rear.* Etifeddion y groes yw y gwir gristionogion; y mae llawer yn gwisgo coron a thlysau yr Arglwydd Iesu yn y byd, eithr yn ysgoi y groes. Mae tlodi yn yr ysbryd ac erledigaeth o achos cyfiawnder yn belenau rhy chwerw iddynt hwy lyncu. *You must take the pill, otherwise you cannot be cured.* Dim croes dim coron, yw athrawiaeth y bregeth hon. *No cross no crown.* Mae cysylltiad agos, fy nghyfeillion, rhwng gras a gogoniant. Y tlodion yn yr ysbryd sydd i gael y deyrnas, y galarwyr sydd i gael dyddanwch; y rhai sydd yn newynu ac yn sychedu a gânt eu diwallu; y pur o galon a gânt weled Duw.

Lle y mae un gras y mae pob gras; y maent oll yn dylyn eu gilydd, ac yn cydweithredu. Lle y mae tlodi yn yr ysbryd y mae syched yn yr ysbryd, a newyn yn yr ysbryd; a lle y mae newyn a syched yn yr ysbryd, y mae purdeb yn yr ysbryd; a lle y mae purdeb yn yr ysbryd y mae trugaredd yn yr ysbryd; y mae grasusau yr Ysbryd Glân wedi eu hasio oll fel hyn wrth eu gilydd yn ysbrydoedd y tlodion yn yr ysbryd. Mae y tlawd yn yr ysbryd yn alarwr; y mae y galarwr yn addfwyn; y mae yr addfwyn yn bur o galon; y mae y pur o galon yn drugarog: y mae y baban newydd eni hwn yn berffaith yn ei holl ranau, er nad yw yn ei gyflawn faintioli. Lle y mae yr Arglwydd yn bwriadu gwynfydedigrwydd, y mae yn dechreu gyda dyfod â dynion i gydnabod eu trueni. Mae yn gweithio yr enaid i edifeirwch, yn peri iddo wylo yn chwerw-dost, ac yna yn sychu ei ddagrau trwy amlygu trugaredd a maddeuant. Mae edifeirwch yn angenrheidiol nid yn unig yn nechreu ein crefydd, ond hefyd yn barhaus ar ein ffordd tua'r nefoedd; oddieithr i ni gael hyn byddwn yn debyg o fyned i deimlo yn hunan-ddigonol, fel Laodicea. Yn awr, wedi i Dduw doddi y pechadur, a'i wneyd yn ddim yn ei deimladau, y mae yn ei godi i fyny o'r dyfnderoedd i'r uchelderau, ac yn rhoddi hawl iddo i deyrnas nefoedd. "Efe sydd yn codi y tlawd o'r llwch, ac yn dyrchafu yr angenus o'r domen; i'w osod gyda phendefigion, ïe, gyda phendefigion ei bobl. Yr hwn a wna i'r anmhlantadwy gadw tŷ, a bod yn llawen-fam plant," Sal. cxiii. 7—9.

Wedi y dygir pechadur oddiar ei waelod ei hun, a'i wneuthur yn ddim yn ei olwg ei hun, yna y mae y Creawdwr mawr yn dyfod allan â chreadigaeth newydd o'r dryblith a'r dyddimder hyn; fel y gwnaeth yn y greadigaeth gyntaf. Gogoniant! Dyma "nefoedd newydd a daear newydd lle y mae cyfiawnder yn cartrefu." Athrawiaeth y cythraul, i beri i ddynion oedi cymeryd crefydd, yw dywedyd fod crefydd yn annedwyddwch a gwae. Mae athrawiaeth Crist yn y bregeth hon yn hollol groes i dduwinyddiaeth y cythraul. Mae ein Hiachawdwr yn dechreu ei bregeth gyntaf gyda chyhoeddiad o wynfydedigrwydd, a'r bregeth olaf gyda dywedyd, "Wele, yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd." Fe ddysgodd yr Arglwydd Iesu y wers o ddyoddef, a bod yn dlawd yn yr ysbryd, yn ymarferol yn gystal ag yn athrawiaethol. Nid yn unig fe ddywedodd, ond felly hefyd y rhodiodd. Os ydym am enill pechaduriaid, mae yn rhaid i ni fyw

yr efengyl yn gystal a'i phregethu; mae yn rhaid i'n cynghorion gael eu gwlychu yn olew cariad a chydymdeimlad. Mae yn rhaid fod genym y crochan aur a'r manna, yn gystal a gwialen Aaron; yr oedd y ddau yn yr arch gynt, ac y mae yn rhaid iddynt fod gyda'u gilydd yn yr efengyl eto. Mae yn rhaid rhoddi olew yn y lampau yn gystal a defnyddio y *snuffers*. Rhaid yw bod fel y wenynen, yr hon sydd â mêl yn gystal a cholyn; ac fel y fam dda, yr hon sydd â llaeth yn gystal a gwialen i'r plant. Mae eisiau bod yn feibion dyddanwch yn gystal a meibion y daran. Yr oedd Iago mab Zebedeus, ac Ioan brawd Iago, yn feibion y daran, Marc iii. 17; yr oedd Joseph, yr hwn a gyfenwid Barnabas gan yr apostolion yn fab dyddanwch, Act, iv. 36. Mae y cwbl i fod yn yr efengyl: y daran-follt gryf a'r "llef ddystaw fain." Mae eisiau canu pibellau weithiau i beri dawnsio, yn gystal a chanu galarnad i beri cwynfan, Mat. xi. 17.

Yn olaf. Sylwn ar ragorfreintiau y tlodion yn yr ysbryd. "Eiddynt yw teyrnas nefoedd." "Gwyn eu byd," canys y mae teyrnas nefoedd yn eiddo iddynt yn bresenol, yn y byd hwn; y mae eu hawl yn berffaith, er nad ydyw eu mwynhad eto ond mewn rhan, a rhan fechan hefyd. Mae perffaith wynfydedigrwydd yn gydgyfarfyddiad o bob rhagoriaeth, ac yn gyflawnder didrai i gyfarfod â holl angenion creadur, er ei ddiwallu byth. Mae hyny wedi cymeryd lle mewn rhan yn awr; eithr fe fydd yn berffaith yr ochr draw i'r byd a'r bedd. Gogoniant! "Digonir fi pan ddihunwyf â'th ddelw di." Nid oes neb ond Duw yn wynfydedig ynddo ei hun, yr hwn yn unig a all fod yn ddedwydd heb neb arall. Mae yn rhaid i ni gael cyflawnder y Duwdod i'n gwneyd ni yn ddedwydd; ond nid oes eisiau dim ag sydd ynom ni i'w wneyd ef yn ddedwydd; y mae efe yn Ffynonell ac Awdwr dedwyddwch; ac y mae wedi gweled yn dda o'i ras i wneyd tlodion yn yr ysbryd yn wrthddrychau dedwyddwch. Mae dau beth yn ymddangos yn y rhagorfraint anmhrisiadwy sydd yn ein testun.

(1.) Natur yr etifeddiaeth: "Teyrnas nefoedd."

(2.) Sicrwydd eu hawl: "*Eiddynt* yw teyrnas nefoedd."

(1.) Natur yr etifeddiaeth: teyrnas nefoedd. Mae y sant tlotaf ar y ddaear yn frenin y fynyd hon, a chanddo deyrnas yn bresenol; ond yn fuan bydd wedi dyfod i'w oed, a chaiff deyrnasu byth gydag Abraham, Isaac, a Jacob, ïe, gyda Christ ei hun, yn nheyrnas nefoedd. Cofiwch, rhaid i chwi

fyned i mewn trwy y "pyrth i'r ddinas;" y mae amryw o byrth i fyned i deyrnas nefoedd; mae y tlodion yn yr ysbryd wedi myned drwy rai o honynt. Maent wedi myned trwy byrth argyhoeddiad ac adenedigaeth; mae yn rhaid myned trwy byrth angau eto cyn y ceir golwg glir ar y deyrnas yn ei gogoniant. Gelwid un o byrth y deml "y porth prydferth." Os oedd y porth, y fynedfa i mewn, mor brydferth, beth allasai y deml ei hun fod? O fewn yr oedd y cysegr santaidd a'r santeiddiolaf, y *sanctum sanctorum*, lle yr oedd y Duw mawr yn datguddio ei ogoniant. Os yw porth adenedigaeth yn y byd mor brydferth, lle y mae delw Duw yn dysgleirio mor wanaidd, beth all fod pyrth y ddinas nefol, ïe, y ddinas ei hun? Os yw y cyntedd oddiallan mor ogoneddus, beth am y nef ei hun, lle y mae mawredd a gogoniant y Jehofah yn dysgleirio yn ddilen? Uwchlaw gwybodaeth! Yno y cawn weled "wyneb yn wyneb, ac adwaen megys y'n hadwaenir," a bod byth yn "gyffelyb iddo." Mae ein calonau yn gorlifo o lawenydd yn fynych wrth ei adwaen a'i weled mewn rhan; ei weled trwy y dellt; ond beth fydd y llawenydd, y gorfoledd, a'r dedwyddwch tragywyddol, o'i "weled fel y mae, a bod yn gyffelyb iddo?" Beth fydd y mwynhad hwnw, pan y cawn yfed byth o'r digonolrwydd llawenydd sydd ger ei fron? Os yw cymydogaeth y ddinas mor ardderchog, beth all fod y ddinas ei hun, a'r palas breninol sydd o'i mewn? Mae y Jerusalem nefol hono uchod yn dra ardderchog, y tu hwnt i unrhyw ddesgrifiad; mae yn "anhraethadwy a gogoneddus."

Gwelodd Ioan y ddinas, ac y mae yn gwneyd ei oreu i'w desgrifio hi, trwy grynhoi yn nghyd holl bethau gwerthfawr, prydferth, a gogoneddus y byd hwn, a'u defnyddio yn gydmariaethau; eithr wedi yr holl orchest, mae y cwbl yn anfeidrol rhy fyr. "Ac efe a'm dyg i ymaith yn yr ysbryd i fynydd mawr ac uchel, ac a ddangosodd i mi y ddinas fawr, Jerusalem santaidd, yn disgyn allan o'r nef oddiwrth Dduw, a gogoniant Duw ganddi: a'i goleu hi oedd debyg i faen o'r gwerthfawrocaf, megys maen jaspis, yn loyw fel grisial; ac iddi fur mawr ac uchel, ac iddi ddeuddeg porth, ac wrth y pyrth ddeuddeg angel. Ac yr oedd mur y ddinas â deuddeg sylfaen iddo, ac ynddynt enwau deuddeg apostol yr Oen. Ac adeilad ei mur hi sydd o faen jaspis; a'r ddinas oedd aur pur, yn debyg i wydr gloyw. A seiliau mur y ddinas oedd wedi eu harddu â phob rhyw faen gwerthfawr. Y sail cyntaf

oedd o faen jaspis; yr ail, saphir; y trydydd calcedon; y pedwerydd, smaragdus; y bumed, sardonyx; y chweched, sardius; y seithfed, crysolithus; yr wythfed, beryl; y nawfed, topazion; y degfed, crysoprasus; yr unfed ar ddeg, hyacinthus; y ddeuddegfed, amethystus. A'r deuddeg porth, deuddeg perl oeddynt; a phob un o'r pyrth oedd o un perl; a heol y ddinas oedd aur pur, fel gwydr gloyw. A theml ni welais ynddi, canys yr Arglwydd Dduw Hollalluog, a'r Oen, yw ei theml hi," Dat. xxi. Dyma le hyfryd i fyw byth, fy nghyfeillion. Gogoniant! y mae gobaith dyfod yn berffaith iach, canys nid oes neb yn glaf yno: y mae gobaith diwrnod hir, heb nos dywyll yn canlyn: "ni bydd nos yno." Bendigedig! henffych y boreu y caf fod yn mhlith y preswylwyr yn yr "aneddle lonydd, y babell na thynir i lawr." Pwy na ddymuna fod yn dlawd yn yr ysbryd i gael mwynhau y gogoniant hyn ar ol marw? Yn bresenol gwnaf ychydig o gasgliadau oddiwrth yr hyn a ddywedwyd.

(1.) Nac ofnwch galedwch dyledswyddau crefydd. Peidiwch er dim a throi oddiwrth yr ymdrech sydd yn nglŷn â myned i mewn i'r bywyd; mae y gogoniant a ddatguddir i ni yn fwy na digon o dâl am yr holl lafur yn yr anialwch. "Yr wyf yn arswydo," medd rhyw un, "y meddwl o fod yn grefyddol; nis gallaf oddef y meddwl o gael fy nyosg o'r cwbl, fy arllwys allan yn hollol, a fy nhroi fel yn wyneb i waered. Mae cymaint o ystafelloedd tywyll mewn crefydd, am hyny y mae yn rhaid i mi ffarwelio â hi. Mae ystafell o alar am bechod, mae yn rhaid myned trwy hono." Rhaid; ond cofiwch yr ystafell nesaf; ystafell dyddanwch. Mae ystafell galar yn borth i ystafell cysur, ac nid oes ond un porth iddi. "Mae ystafell hefyd—newyn a syched y gelwir hi; ond nid wyf yn caru myned drwy hono." Mae yn wirfod hon yn galed; ond mae y nesaf ati yn gyfoethog,—ystafell diwallrwydd. Gwthiwch yn y blaen trwy ystafell newyn a syched; y mae digon i gael yn y *room* nesaf, ac fe fydd eich cylla mewn hwyl i'w gymeryd erbyn hyny. "Ië, ond y mae cymaint o drafferth gyda y sylfaen; y fath gloddio i lawr, a'r fath lafurwaith caled, fel yr wyf yn digaloni cyn dechreu." Gwir, y mae trafferth; ond y mae tâl yn fil mwy. Peidiwch â chwyno am y tipyn gwaith cloddio, fy nghyfeillion, nid yw hyny fawr o beth. Cofiwch yr uchder sydd genych i fyned i fyny; mae y fath uchder anferth i fod yn yr adeilad fel y mae yn rhaid cael sail ddyogel. Ac os

saif eich adeiladaeth i dragywyddoldeb, fe wna fwy nag ad-dalu am yr holl drafferth.

Pa ddyfnaf yr eloch â'r sylfaen, uchaf y gellwch fyned â'r adeiladaeth. Mae y sylfaen yn isel yn y testun—yn nhlodi yr ysbryd; ond mae y pen yn uchel; mae yn y nefoedd, "eiddynt yw teyrnas nefoedd." Yr wyf yn cofio clywed am ddyn yn myned haner cant o filltiroedd i wrando pregeth, trwy y rhew a'r eira, a thywydd garw iawn; bu yn agos iddo farw ar y ffordd cyn cyrhaedd yno; ond yr oedd yn adrodd wrth gyfaill wedi hyny, ac yn dywedyd, "Cyn fy mod wedi bod pum mynyd yn y cwrdd, yr oedd y drafferth yn ddim, yr oedd yr elw yn fwy fil o weithiau."

"Ond yn y nef fe fydd yn fwy."

Yr wyf yn dywedyd wrthych, fy nghyfeillion, y bydd un diwrnod mewn gogoniant yn fwy na thâl am holl lafur yr anialwch o benbwygilydd. Bendigedig!

"Beth am yr awr cawn fyn'd i'r môr!"

(2.) Chwychwi y rhai ydych yn dlodion yn yr ysbryd, rhowch ddiolch i'r Nefoedd am eich codi i fyny i'r sefyllfa ddedwydd a gwynfydedig hon. Yr oeddych gynt yn ddim gwell eich cymeriad na chythreuliaid yn nghrwyn dynion; yn awr yr ydych yn saint ac yn deulu Duw; yn aelodau anrhydeddus yn eglwys y Duw byw; a chewch fod yn "freninoedd ac yn offeiriaid byth yn y nefoedd." Gweithred ryfeddol o eiddo Duw oedd codi Joseph o'r pydew, a'i waredu o'r caethiwed Ismaelaidd, a'i ddwyn drachefn o'r carchar, ac yn y diwedd ei godi i gymydogaeth gorsedd yr Aipht. Cododd Dafydd hefyd o fod yn fugail defaid i orsedd Israel. Aeth Saul i chwilio am yr asynod, a chafodd deyrnas; eithr nid yw y pethau hyn oll gyda'u gilydd yn ddim mewn cymhariaeth i'r pethau y mae efe wedi ei wneyd i chwi, os ydych wedi eich dwyn yn etifeddion y deyrnas hon. Darfu i ti guro wrth ddrws uffern dros flynyddau am dderbyniad i mewn; nid yn unig ni agorodd efe y drws i ti, eithr bolltiodd ef yn dy erbyn, fel yr oedd yn anmhosibl i ti fyned i mewn; cipiodd di fel "pentewyn o'r gyneu dân;" ac wedi dy wneyd yn blentyn i Dduw yma, a theyrnas nefoedd yn dy aros mor gynted ag y byddi farw. "Yn barod i'w datguddio." *Heaven is in reserve for your perpetual inheritance.* "Fy enaid, bendithia yr Arglwydd, a chwbl sydd ynof ei enw santaidd ef." Am ba beth? "Am iddo waredu fy enaid o ddystryw; am iddo fy nghoroni â thrugaredd ac â thosturi." Mae yr Arglwydd mawr wedi gwneyd yr un peth â rhai o honoch chwi

ag y gwnaeth â Dafydd, am hyny ymunwch gyda Dafydd i'w folianu.

(3.) Gair o gysur i alarwyr. Galarwyr Sïon, peidiwch ag ofni, peidiwch â digaloni, peidiwch â llesmeirio; chwychwi biau y deyrnas. Gosodwch hyn gyferbyn â'ch cwbl; cyferbyn â'ch holl galedi, eich holl drueni, a'ch colledion; a chymerwch gysur. Mae yn wir fy mod yn dlawd yn y byd hwn; yn wylofus, yn gystuddiol, ac yn wan-galon; yn cael fy mwrw i lawr yn aml, ac yn cael fy nhaflu gan y tonau yn fynych; ond mae y plencyn hwn o dan fy nhraed o hyd yn fy nghadw rhag boddi, "Eiddynt yw teyrnas nefoedd." Caf y deyrnas er gwaethaf y gwynt a'r dyfroedd. Diolch! mae yr hawl yn sicr, mae y titl yn eithaf goleu; ti yw yr etifedd iawn i deyrnas nefoedd.

Yr wyf yn cofio darllen am ryw frenin ag oedd â hawl i'r orsedd bedair ffordd:—Yn gyntaf, Trwy enedigaeth. Yn ail, Trwy roddiad mewn ewyllys. Yn drydydd, Trwy briodas. Yn bedwerydd, Trwy goncwest.

Y mae gan y saint hawl i deyrnas nefoedd y pedair ffordd hon:—Yn gyntaf, Trwy enedigaeth. Maent wedi eu geni oddiuchod; mae gwaed breninol y nefoedd yn llifo yn eu gwythienau. Yn ail, Mae gan y saint hawl trwy roddiad mewn ewyllys. "Nac ofna, braidd bychan, canys rhyngodd bodd i'r Tad roddi i chwi y deyrnas." "Y Tad, y rhai a roddaist i mi, yr wyf yn ewyllysio lle yr wyf fi, fod o honynt hwythau hefyd gyda myfi, fel y gwelont fy ngogoniant a roddaist i mi; oblegyd ti a'm ceraist cyn seiliad y byd." Yn drydydd, Mae gan y saint hawl trwy briodas. Maent wedi priodi yr etifedd; gan hyny y mae pob peth yn eiddo iddynt. Maent yn "etifeddion i Dduw, ac yn gyd-etifeddion â Christ." Yn bedwerydd, Mae ganddynt hawl trwy goncwest. "Y rhai sydd yn gorchfygu a etifeddant bob peth."

Bydded i hyn, fy nghyfeillion, eich cynal yn wyneb holl ymffrost yr annuwiol. Mae teyrnas nefoedd yn anfeidrol fwy o werth na'r cwbl ag sydd ganddo ef. Pan danfonodd Charles y bumed, ymerawdwr Germani, hèr i frenin Ffrainc, gorchymynodd i'w genad gyhoeddi â'i holl nerth ei holl ditlau. Felly yr oedd hwnw yn cyhoeddi, "Y mae Charles, ymerawdwr Germani, brenin y lle a'r lle, ac yn y blaen, yn herio brenin Ffrainc i'r maes." Gorchymynodd brenin Ffrainc o'r tu arall gyhoeddi, "Brenin Ffrainc, brenin Ffrainc, brenin Ffrainc, yn anfon anerch i Charles, ymerawdwr Ger-

mani, ac yn dywedyd fod teyrnas Ffrainc ei hun yn annhraethol fwy o werth na'r holl ditlau gweigion sydd mewn cysylltiad â'i enw ef." Felly, fy nghyfeillion, mae teyrnas nefoedd yn fwy o werth na holl deyrnasoedd y byd a'u gogoniant, a'r holl ditlau gweigion sydd ynddynt. Pan y mae dynion y byd yn gwaeddi, "Arian, arian, arian; trysorau y byd presenol, ac anrhydedd;" gwaeddwch chwithau, "Nefoedd, nefoedd, nefoedd;" y mae hyn yn fwy na digon i gyfarfod â'r cwbl. Mae dynion y byd, yn eu balchder a'u rhyfyg, yn rhanu yr ysbail rhyngddynt o bethau y ddaear; y maent yn derbyn eu gwobr, tra mae y tlawd yn yr ysbryd yn meddianu teyrnas nefoedd mewn gostyngeiddrwydd a dystawrwydd.

(4.) Gair wrth y cyfryw ag sydd mewn gofidiau mewn cysylltiad â'r byd hwn. Maent yn dywedyd mai y ffordd oreu i atal y trwyn rhag gwaedu yw taro gwaed mewn man arall. Y mae llawer yn druenus o dlawd gyda golwg ar bethau y bywyd hwn; ac y mae "tristwch y byd yn gweithio angau." Beth all waredu y tlawd rhag marw, rhag gwaedu i farwolaeth? Ei *lansio* mewn man arall; try hyn lwybr y gwaed ffordd arall. Y mae gwaedu yr ysbryd yn esmwythau dolur y corph; mae y bywyd yn ddyogel, ond cael gwaed o'r ysbryd. Os dygir ef i weled ei dlodi ysbrydol, ac i deimlo yn dlawd yn yr ysbryd, a gweled fod teyrnas nefoedd yn nglŷn â'r agwedd meddwl hwn, fod gogoniant yn eiddo iddo byth y tu draw i'r byd a'r bedd, bydd hyn yn ei gadw yn mhob amgylchiad rhag suddo yn rhy isel, ac i "ormod tristwch."

(5.) Os mynwch fyned i'r nefoedd ar ol marw, mae yn rhaid i chwi ddyfod i'r ysgol hon yn gyntaf. Hunanymwadiad yw y wers gyntaf y cewch ddysgu yn ysgol Crist; mae yr holl rasusau eraill yn gwreiddio yn y tir hwn. Yr ydych i godi yn uchel, gan hyny gwreiddiwch yn isel. Os ydych yn dysgwyl cyfoeth tragywyddol, rhaid i chwi fod yn dlodion yn yr ysbryd mewn bywyd. Rhaid i chwi gael tlodi yn yr ysbryd, addfwynder yn yr ysbryd, purdeb yn yr ysbryd, a thangnefedd yn yr ysbryd, onide ni chewch ogoniant yn eich ysbrydoedd yn y byd a ddaw. Y mae tri math o dlodion yn bod:—1. Tlodion y byd hwn. 2. Tlodion y cythraul. 3. Tlodion Duw.

1. Tlodion y byd hwn. Mae y rhai hyn yn ddau fath. Mae rhai yn cael eu geni yn dlodion; ac y mae yn ddyledswydd ar ddynion mewn sefyllfaoedd gwell eu cynorthwyo.

"Gwyn ei fyd a ystyria wrth y tlawd; yr Arglwydd a'i gwared ef yn amser adfyd. Yr Arglwydd a'i ceidw, ac a'i bywha; gwynfydedig fydd ar y ddaear: na ddod dithau ef wrth ewyllys ei elynion. Yr Arglwydd a'i nertha ef ar ei glaf-wely; cyweiri ei holl wely ef yn ei adfyd," Sal. xli. 1—3. Mae tlodion yn y byd hefyd o herwydd afradlonrwydd; wedi treulio y cwbl wrth fyw yn annuwiol. Maent yn dweyd y dylai fod gan law-feddyg ddwylaw boneddiges, a chalon gwryw; ond yr wyf yn meddwl y dylai fod gan ynadon heddwch galon boneddiges, a dwylaw fel palfau y llew i gospi y drwg-weithredwyr sydd yn dinystrio eu hunain.

2. Tlodion y cythraul. Mae y rhai hyn fe allai mewn cerbydau, palasau, a phwlpudau; ïe, yn yn mhob man. Tlodion y cythraul yw y cybyddion cyfoethog, yr hunan-gyfiawn, y balch, a'r coel-grefyddol. Mae y tlodion cybyddlyd bob amser mewn eisiau, er fod ganddynt filoedd o bunau yn y *bank;* mae y cythraul bron a'u newynu hwynt. Maent fel ceffyl y melinydd, yr hwn sydd yn cario blawd i eraill, ac yn bwyta ebran ei hunan. Mae tlodion coel-grefyddol hefyd gan ddiafol, y rhai y mae wedi eu perswadio fod ffurfiau yn ddigon heb Iesu Grist. Mae gan y rhai hyn grefydd, ond ûn lwyd iawn ydyw; y mae satan yn eu cadw mewn bywioliaeth dlawd yr ochr hyn, a thlodi tragywyddol sydd yn eu haros yr ochr draw. Tlodion y diafol yw y monachod Pabaidd, y rhai sydd yn suddo yn bwrpasol i dlodi, er mwyn gwneyd iawn am eu pechodau.

3. Tlodion Duw. Mae gan Dduw ei dlodion hefyd; y maent yn mhob sefyllfa yn y byd, ond yn dlodion yn yr ysbryd. Mae y rhan fwyaf o honynt yn dlodion yn y byd hwn, mewn cystuddiau a gofidiau mawrion; ac y maent yn deimladwy o hyny hefyd, ond yn goddef yn amyneddgar. Maent yn dysgwyl gwynfydedigrwydd am byth y tu draw i'r bedd. Nid yw tlodion y byd, fel y cyfryw, yn wynfydedig; canys y mae llawer wedi eu darostwng gan dlodi o ran eu hamgylchiadau, eto heb eu darostwng o ran eu meddyliau. Er eu bod wedi eu darostwng, nid ydynt yn ostyngedig. Mae tlodion y diafol yn uchelfrydig, nid ydynt wedi eu darostwng yn eu hamgylchiadau, nac yn ostyngedig yn eu meddyliau. Tlodion Duw yn unig sydd yn wynfydedig, y tlodion yn yr ysbryd, pa un ai tlawd ai cyfoethog ydynt yn y byd hwn. "Eiddynt yw teyrnas nefoedd." Rhodiwn yn y cyfryw fodd, fy nghyfeillion, fel y gallwn ddysgwyl gwynfydedigrwydd ar ol marw. Amen.

## PREGETH XVIII.

### DYDDANWCH I ALARWYR SION.

"Gwyn eu byd y rhai sydd yn galaru; canys hwy a ddyddenir," Mat. v. 4.

Y MAE y gwirionedd hyn, fy nghyfeillion, yn teilyngu ein sylw manylaf. Y mae yn rhan o bregeth ogoneddus ac annghydmarol ein Harglwydd ar y mynydd. Yr oedd y cyfarfod yn gyfarfod mawr; yr oedd tyrfaoedd mawrion yn gwrando; a Phregethwr y pregethwyr yn pregethu gair y bywyd iddynt. Mae y mater a drinir yn y bregeth hon yn nefolaidd a gogoneddus; ac y mae holl drefn y bregeth yn berffeithrwydd. Yn y bregeth y mae genym wyth o risiau i'w dringo er cyrhaedd dedwyddwch a gwynfydedigrwydd gwirioneddol a sylweddol. Gellir eu cydmaru i ysgol Jacob, un pen ar y ddaear, a'r llall yn y nefoedd. Yr ydym wedi bod ar un o'r grisiau er ys ychydig yn ol, sef "tlodi yn yr ysbryd;" yn awr gadewch i ni gael myned at yr ail; sef "Y rhai sydd yn galaru."

Y mae yn rhaid i ni fyned trwy lyn wylofain i baradwys. Buasai yn annghysurus i ni draethu a sefyll uwch ben yr ymadrodd hwn, "y rhai sydd yn galaru," oni bai fod gwynfydedigrwydd yn cerdded o'i flaen, a dyddanwch yn rhodio o'i ol. "Gwyn eu byd y rhai sydd yn galaru;" dyna wynfyd yn cerdded o'r blaen; "canys hwy a ddyddenir;" dyna ddyddanwch yn rhodio ar ol. Mae galar yn byw yn y canol, rhwng gwynfydedigrwydd a dyddanwch. Os bydd arnoch eisiau cyfeirio llythyr at y rhai sydd yn galaru, cyfeiriwch ef i'w adael yn yr heol rhwng gwynfydedigrwydd a dyddanwch, yr heol a elwir uniawn; y maent yn sicr o'i gael gyda brys. Mae galaru yn y testun hwn o'r un ystyr ag edifarhau yn y rhan fwyaf o destunau. Tristwch duwiol ydyw; a thywallt dagrau am bechod. Tristwch yw y cwmwl, a dagrau yw y gwlaw yn dyferu o'r cwmwl. Mae y testun yn cynwys dau beth cyffredinol.

I. Fod galarwyr y testun yn wynfydedig: "Gwyn eu byd y rhai sydd yn galaru."

II. Natur a sicrwydd eu dedwyddwch: "Hwy a ddyddenir."

I. Fod galarwyr y testun yn wynfydedig: "Gwyn eu byd." Y mae yn wir fod dagrau y saint yn fynych yn rhai heilltion; er hyny y maent yn ddagrau bendigedig. "Gwyn eu byd y rhai sydd yn galaru." "A ydych yn meddwl," medd rhyw

un, "y gwna pob math o alar roddi hawl i wynfydedigrwydd?" Na; y mae llawer math o alar nad oes na gwynfydedigrwydd na chysur yn myned byth o'i flaen nac ar ei ol; nid oes dafn o ddyddanwch yn nglŷn ag ef byth.

1. Y mae galar dieflig. Mae hwn yn ddeublyg.

(1.) Pan y bydd dynion yn galaru oblegyd na allant foddhau eu nwydau llygredig. Y mae hyn fel y diafol ei hunan, poen mwyaf yr hwn yw na all fod yn fwy drygionus, a chwblhau ei amcanion melldigedig yn fwy effeithiol. Mae dynion yn galaru yn ddirfawr, yn wylo yn chwerw dost, ïe, yn myned yn glaf am na allant foddhau yn fwy cyflawn eu nwydau pechadurus ac aflan. Nid oes gwell enw ar hwn na galar dieflig. "Ac yr oedd mor flin ar Ammon, fel y clafychodd efe o herwydd Tamar ei chwaer," 2 Sam. xiii. 2. Yr oedd galar Ahab yn fawr, a'i dywydd yn flin a thymhestlog iawn, am na allai ddyfod o hyd gafael i winllan Naboth. Yr oedd y creadur ofnadwy hwn yn methu cysgu y nos na gorphwys y dydd, o awydd boddhau ei dueddiadau pechadurus. "Ac Ahab a ddaeth i'w dŷ yn athrist ac yn ddigalon, o herwydd y gair a lefarasai Naboth wrtho ef; canys efe a ddywedasai, Ni roddaf i ti dreftadaeth fy hynafiaid. Ac efe a orweddodd ar ei wely, ac a drodd ei wyneb ymaith, ac ni fwytäai fara," 1 Bren. xxi. 4. Dyma alar uffernol; nid oes dyddanwch yn ei ganlyn byth: eithr galar yn cynyddu ac yn mwyhau fydd i dragywyddoldeb. Mae hwn yn rhagredegydd yr "wylofain a'r rhincian danedd" fydd byth yn y pwll diwaelod. Duw a'n gwaredo rhag hwn trwy ddarostwng ein tueddiadau pechadurus, ac a'n santeiddio a'n golcho yn ngwaed y groes oddiwrth ein pechodau.

(2.) Nid oes dyddanwch yn nglŷn â galar o herwydd rhyw ddaioni a wnawd mewn amser a aeth heibio. Mae y galar hwn yn ddrwg; gan hyny nid oes cysur mewn cysylltiad ag ef. Galarodd Pharaoh iddo ollwng plant Israel allan o'r Aipht; edifarhaodd o herwydd y weithred, a gwnaeth bob ymdrech i'w galw yn ol trwy erlid ar eu hol. Yr oedd y galar hwn yn ddrwg; a drwg fu y canlyniad. Mae yn ddiamheu fod llawer o wrthgilwyr oddiwrth grefydd wedi galaru ac edifarhau yn ddirfawr iddynt weddio gymaint, colli cymaint o amser i ddylyn moddion gras, yn nghyda chyfranu rhyw gymaint tuag at gynal achos crefydd. Pe byddai yn bosibl, tynent y cwbl yn ol y fory. Maent yn addaw yn bresenol hefyd i gymeryd gofal na wrandawant ychwaneg o bregethau,

na gwneyd un gymwynas eto i achos crefydd tra fyddont byw. Mae dynion o'r *stamp* hyn yn y byd, fy nghyfeillion, ac nid ychydig o'r cyfryw sydd i'w cael ychwaith. Rhag y fath deimladau, "gwared ni, Arglwydd daionus." Maent yn edifarhau am eu hedifeirwch gynt, am eu gweddiau, ac am eu helusenau. Os ydych chwi yn edifarhau am y da yr ydych wedi ei wneuthur, ni edifarha Duw am y drwg a ddygir arnoch yn y man.

2. Y mae galar cnawdol nad ydyw y dyddanwch hwn mewn cysylltiad ag ef. Mae y cnawd yn wylo yn fynych am ryw groesau a cholledion yn y bywyd hwn. "Llef a glybuwyd yn Rama, galar ac wylofain ac ochain mawr; Rahel yn wylo am ei phlant, ac ni fynai ei chysuro, am nad oeddynt," Mat. ii. 18. Nid ydyw yn bechod, cofiwch, i wylo ar ol cyfeillion ymadawedig, o fewn cylch cymedroldeb; ond y trueni yw fod llawer yn meddu ar deimladau tyner i wylo uwch ben plentyn marw, ac heb allu wylo uwch ben Gwaredwr yn marw. Prysuro eich angladdau y mae galar cnawdol; canys y "mae tristwch y byd hwn yn gweithio angau." Mae dagrau y dyn naturiol yn cael eu gwasgu allan o dan wialenodau barnedigaethau y Jehofah. Anfoddlonrwydd Duw cyfiawn oedd yn peri i Cain wylo a gwaeddi allan gyda phob gwialenod, "Mwy yw fy mhechodau nag y gellir eu maddeu." Ei ddyoddefaint, nid ei bechodau, oedd yn ei boeni waethaf. Pe cawsai lonydd gan euogrwydd ei gydwybod ei hun, ni fuasai yn prisio gymaint am ei bechodau. Mae llawer yn galaru yn chwerw rhag ofn myned i uffern; nid ydynt yn galaru dim oblegyd eu pechodau. Mae y lleidr wedi ei ddal mewn gofid, nid o herwydd iddo ladrata, ond oblegyd y carchar. Mae dagrau y drygionus yn cael eu berwi allan drwy rym tân euogrwydd a chystuddiau.

3. Y mae galar rhagrithiol. Mae hwn yn alar crefyddol, ond nid o'r iawn ryw: nid yw yn bwysau yn nghlorian y cysegr; eto y mae mor debyg i'r peth gwirioneddol ag sydd yn bosibl i satan ei ffurfio. Galar allanol ydyw, yr hwn sydd yn anffurfio wynebau, nid yn rhwygo calonau. "Hefyd, pan ymprydioch, na fyddwch fel y rhagrithwyr, yn wyneb-drist: canys anffurfio eu hwynebau y maent, fel yr ymddangosont i ddynion eu bod yn ymprydio. Yn wir meddaf i chwi, y maent yn derbyn eu gwobr. Eithr pan ymprydiech di, eneinia dy ben, a golch dy wyneb, fel nad ymddangosech i ddynion dy fod yn ymprydio, ond i'th Dad yr hwn sydd yn y

dirgel: a'th Dad sydd yn gweled yn y dirgel, a dâl i ti yn yr amlwg," Mat. vi. 16—18. Rhagrithwŷr, medd Crist, yw y rhai hyn, y rhai sydd yn gwneyd ymddangosiad allanol o alar yn unig er mwyn cael eu gweled gan ddynion. Yn wylo oddiallan, nid o fewn; ger bron dynion, nid ger bron Duw. Yr oedd eu llygaid yn dyner, a'u calonau yn gelyd fel "maen isaf y felin." Rhwygodd Ahab ei ddillad, eithr yr oedd ei galon yn gyfan; gwisgodd sach-lian am ei gnawd, a cherddodd yn araf, ac eto heb y galar lleiaf am bechod yn ei galon: ymostyngodd a phlygodd ei ben fel brwynen, ac ar yr un pryd ei galon fel adamant. Mae llygaid llawer fel ffynonau yn llifo o hyd, a'u calonau fel marmor yn ddigyffro ac yn oer. Maent fel *weeping marbles*, yn ddyfrllyd ac yn gelyd. "Ond yr awr hon, medd yr Arglwydd, dychwelwch ataf fi â'ch holl galon, ag ympryd hefyd, ac ag wylofain, ac â galar. A rhwygwch eich calon, ac nid eich dillad; ac ymchwelwch at yr Arglwydd eich Duw." Joel ii. 12, 13. Mae y galon, fy nghyfeillion, yn galed ac yn dwyllodrus iawn; gall fradychu â deigryn yn gystal â chusan. Mae Saul, brenin Israel, yn ymddangos un amser fel galarwr, y mae yn mhlith y prophwydi ac yn mhlith yr edifeiriol am bechod. "A Saul a ddywedodd wrth Samuel, Pechais: canys troseddais air yr Arglwydd, a'th eiriau dithau, o herwydd i mi ofni y bobl, a gwrando ar eu llais hwynt. Ond yn awr, maddeu, atolwg, fy mhechod, a dychwel gyda mi fel yr addolwyf yr Arglwydd," 1 Sam. xv. 24, 25. "Pechais:" dyma gyffes ragorol; dyma iaith yr edifeiriol yn mhob oes; eto nid ydyw Saul ond chwareu y rhagrithiwr yn mhob peth. Gwisgodd glogyn crefydd yn allanol, eithr cybydd-dod oedd yn llywodraethu y galon. Gorchymynodd yr Arglwydd iddo ddinystrio Amalec yn llwyr o herwydd y drwg a wnaeth i Israel pan y daeth i fyny o'r Aipht; eithr efe a arbedodd y goreu o'r praidd i foddhau ei galon gybyddlyd ei hun; a gwnaeth hyny o dan glogyn crefydd; canys dywedodd wrth Samuel, "Y bobl a gymerth o'r ysbail ddefaid a gwartheg, blaenion y ddifrodaeth, i aberthu i'r Arglwydd dy Dduw yn Gilgal." A dywedodd Samuel, "O herwydd i ti fwrw ymaith air yr Arglwydd, yntau a'th fwrw dithau ymaith o fod yn frenin." "Erbyn hyn y mae Saul yn gwaeddi allan, "Pechais." Dyma ei gyfaddefiad; ond edrychwch fel y mae yn ceisio esgusodi ei bechod, ac yn ymdrechu ei wneyd yn llai. Mae yn ei daflu i fesur mawr ar y bobl; "O herwydd i mi ofni y bobl." Nid yw gwir

alarwr am bechod yn amcanu esgusodi ei hun, na lleihau ei bechodau â rhyw ffug-esgusodion; ond yn y gwrthwyneb, yn ei dynu allan, ac yn ei ddangos yn ei liw mwyaf haerllug a gwaedlyd, ac yn ei ffurfiau mwyaf dinystriol, ac yn ymostwng yn isel ger bron yr Arglwydd mewn edifeirwch o'i blegyd. Mae cyffes Ezra yn gymhwysiadol iawn at y mater hwn. "Ac ar yr aberth prydnawnol mi a gyfodais o'm cystudd; ac wedi i mi rwygo fy nillad a'm gwisg, mi a ostyngais ar fy ngliniau, ac a ledais fy nwylaw at yr Arglwydd fy Nuw, ac a ddywedais, O fy Nuw, y mae arnaf gywilydd a gorchwyledd godi fy wyneb atat ti, fy Nuw; o herwydd ein hanwireddau ni a aethant yn aml dros ben, a'n camwedd a dyfodd hyd y nefoedd. Er dyddiau ein tadau yr ydym ni mewn camwedd mawr hyd y dydd hwn; ac am ein hanwireddau y rhoddwyd ni, ein breninoedd, a'n hoffeiriaid, i law penaethiaid y gwledydd, i'r cleddyf, i gaethiwed, ac i anrhaith, ac i warthrudd wyneb, megys heddyw," Ezra ix. 5—7.

Chwi welwch, fy nghyfeillion, fod y galarwr gwirioneddol am bechod yn gwneyd y gwaethaf o bechod, ac nid y goreu; yn edrych arno fel y mae mewn gwirionedd, "yn dra phechadurus." Mae Saul yn llafurio yn galed i wneyd y goreu o'i bechodau, trwy eu gwneyd yn bechodau bychain, fel nad ydyw yn ddrwg mawr eu coleddu yn y galon. Mae yn dywedyd, "Pechais" â'i dafod, ac ar yr un pryd yn cofleidio ei bechod yn ei galon. Mae yn beth posibl i ddyn i wylo ei hunan i dân uffern; yn gwaeddi, "Pechais," ac yn rhedeg i fflamiau ar yr un pryd. O Arglwydd, trugarha wrthym, a gwared ni rhag i'n calonau ein hunain ein twyllo i golledigaeth! Achub ni rhag twyll ein calonau annghrediniol. Gwared ni, O ein Duw, rhag wylo ein hunain i fflamiau, ac yno i wylo byth!

Yr ydych yn cofio i Agrippa ddyfod o fewn "ychydig i fod yn gristion" o dan weinidogaeth Paul; llanwyd ef â theimladau angerddol, ond gadawyd ef heb gyfnewidiad calon. Yn wyneb fod yr apostol yn "ymresymu am gyfiawnder, dirwest, a'r farn a fydd, Felix a ddychrynodd;" tywalltodd ddagrau, fe allai; eithr gwrthododd yr efengyl wedi y cwbl. Mae ein Hiachawdwr hefyd yn son am ryw ddyn heb fod yn "mhell oddiwrth deyrnas Dduw," eto yr ydoedd yn rhy bell i fyned i mewn iddi. Mae yn boddi byth yn ymyl yr arch; y mae allan yn yr ystorm yn ymyl y noddfa: y mae yn cael ei ddal gan ddialydd y gwaed wrth ddrws y ddinas

gaerog; y mae yn newynu yn ymyl bara y bywyd; y mae yn trengu o syched yn ymyl y ffynon sydd yn tarddu o ystlys Mab y dyn; y mae yn syrthio i fflamiau â swn efengyl yn ei glustiau. O Arglwydd, diangfa, diangfa i'r bobl yma oll sydd ger dy fron. Mae yn beth posibl i ddychrynu wrth y gair fel Felix, a chael eich colli byth, a bod o fewn ychydig i fod yn gristionogion gydag Agrippa, a bod gyda chythreuliaid yn y diwedd; a bod heb fod "yn mhell oddiwrth deyrnas nefoedd," a syrthio i deyrnas y tywyllwch eithaf yn oes oesoedd. Nid â o fewn ychydig i fod yn gristion byth i deyrnas Dduw; ni wna o fewn ychydig y tro; mae yn rhaid bod yn gwbl oll. Ni chedwir y dyn, er ei fod yn agos i deyrnas Duw; er ei fod heb fod yn mhell, y mae yn rhy bell. Mae yn rhaid myned "trwodd o farwolaeth i fywyd" cyn y gellir myned i mewn i deyrnas Dduw. Ni chedwir y galarwr allanol, y dyn â'r llygaid gwlybion, a'r wyneb rhagrithiol; os cedwir ni, rhaid rhwygo ein calonau, dryllio y graig nes y byddo dwfr yn pistyllio allan o'r gallestr sydd o'n mewn. Arglwydd daionus, gwared ni rhag myned yn waredwyr i ni ein hunain. Pwy bynag sydd yn cymeryd at y gorchwyl o waredu eu hunain a gyfrgollir byth. Y mae pwys tragywyddol yn y mater hwn, fy nghyfeillion. Yr Arglwydd a'n gwaredo rhag gorphwys ar ychydig o ddagrau o'n llygaid am achubiaeth ein heneidiau, a'r galon yn aros yn llonydd heb gyffwrdd â hi. O Arglwydd, taro y graig hon sydd yn y fynwes, fel y pistyllio dwfr allan, ac y byddom yn alarwyr tu mewnol a gwirioneddol, yn gystal ag yn allanol.

4. Y mae galar anobeithiol. Rhywbeth o'r galar yma oedd galar Judas; fe welodd ei bechod ofnadwy, ac y mae yn ei gyffesu hefyd; y mae yn datgan diniweidrwydd yr Arglwydd Iesu, ac yn ei gyfiawnhau, ac yn ymdrech hyd yr eithaf i ddadwneyd yr hyn oll a wnaeth, ond yr ydoedd wedi myned yn rhy bell; yr ydoedd wedi cellwair gormod, yr oedd wedi rhwymo cadwynau uffern am dano ei hun, fel yr oedd yn anmhosibl eu dadrys. Gwnaeth Judas, yr hwn sydd yn awr yn uffern, fwy na llawer ag sydd yn meddwl myned i'r nefoedd yn ein dyddiau ni. "Yna pan welodd Judas, yr hwn a'i bradychodd ef, ddarfod ei gondemnio ef, bu edifar ganddo, ac a ddyg drachefn y deg ar ugain arian i'r arch-offeiriad a'r henuriaid, gan ddywedyd, Pechais, gan fradychu gwaed gwirion. Ac wedi iddo daflu yr arian yn y deml, efe a ymadawodd, ac a aeth ac a ymgrogodd," Mat. xxvii. 3—5. Y

mae Judas, chwi welwch, yn edifarhau, ac yn ad-dalu yr arian, yn gweddio, ac yn rhedeg i'r crogbren ac i uffern. Aeth Judas y tu hwnt i lawer mewn crefydd; eto y mae wedi ei golli. Edifarhaodd, nid yn dduwiol, ond yn anobeithiol; fe dybiodd fod ei glwyf yn fwy na phlastr Duw, a boddodd mewn dagrau am ychydig, ac wedi hyny suddodd i ddystryw byth. Nid edifeirwch i fywyd oedd hwn, fy nghyfeillion, ond yn hytrach i farwolaeth. Mae uffern yn llawn o anobaith; yn llawn o wylo a thywallt dagrau anobeithiol. Y mae yno wylo, rhincian danedd, a chablu y Goruchaf ar yr un pryd. Yr holl le sydd yn llawn o alarwyr o dan gosp pechod; eithr nid oes yno yr un galarwr *am* bechod. Nid ydynt yn casâu y pechodau o herwydd pa rai y maent yn dyoddef, ond yn gruddfan o dan bwys y cadwynau sydd yn eu dal yn y fflamiau tragywyddol. Mae llonaid uffern o galonau celyd, er yr holl dân a'r brwmstan sydd yn berwi yn gyson; nid oes yr un galon dyner o'i mewn. Mae yn wir fod yno wylo parhaus; ond wylo ydyw heb dynerwch calon. Maent wedi eu cau i fyny mewn anobaith tragywyddol, i wylo byth heb waredigaeth. O Arglwydd, gwared ni rhag wylo o'r natur hyn; gwared ni rhag bod yn alarwyr tragywyddol.

Yr ydym wedi bod yn ceisio nodi allan beth nad yw galar ysbrydol a gwirioneddol; yn bresenol ymdrechwn ddangos beth yw y galar sylweddol ac efengylaidd, ag y mae dyddanwch a gwynfydedigrwydd yn nglŷn ag ef. Sylwn ar ddau beth mewn perthynas iddo: yn—

1. Galar am beth ydyw.
2. Ei natur.

1. Galar o herwydd peth ydyw. Yr ydym i wylo am ein pechodau ein hunain, a phechodau eraill hefyd.

(1.) Ein pechodau ein hunain. Mae yn rhaid i ni wylo am bechod, fel y mae yn ddrwg mawr yn erbyn Duw da; ac y mae yn rhaid i ni alaru am dano hefyd, fel y mae yn ddrwg yn ein erbyn ein hunain, ac yn ein dinystrio byth. Y mae drwg pechod yn fawr yn mhob ystyr, fel y mae yn erbyn Duw, ac fel y mae yn erbyn ein hunain hefyd. Edrychwch ar bechod trwy y tri drych canlynol; ac edrychwch, fy nghyfeillion, nes y byddo eich eneidiau yn toddi, a'ch llygaid yn dyferu dagrau.

Yn gyntaf, Edrychwch ar bechod yn fawr, fel y mae yn taro yn uniongyrchol yn erbyn Duw cyfiawn a daionus. Y mae yn codi i fyny yn erbyn uchafiaeth y Nefoedd, ac yn

rhoi hèr i Dduw hollalluog. Y mae pob pechod yn uchel-drosedd; y mae yn erbyn Person y Brenin. "Pa fodd," ebe Joseph, "y gwnaf y mawr-ddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw?" "Pechais," ebe yr afradlon, "yn erbyn y nef, ac o'th flaen dithau." "Yn dy erbyn di, tydi dy hunan, y pechais, ac y gwnaethum y drwg hwn yn dy olwg," ebe Dafydd. "Pechais yn erbyn y ddaear." Nage, "yn erbyn y nef, ac o'th flaen dithau. Yr wyf wedi gwrthyfela yn erbyn y Duw sydd yn y nefoedd, am hyny y mae yn rhaid fod pechod yn ddrwg annhraethol."

Yn ail, Edrychwch ar bechod fel y mae yn farwol. Mae rhai pechodau yn fwy na'u gilydd, mae yn wir; eithr y mae pob pechod yn farwol. Mae pechod "yn esgor ar farwolaeth." Yr ydych yn cymeryd gwenwyn marwol i'ch lladd yn dragywyddol, wrth "fwyta pechod fel bara, ac yfed anwiredd fel dwfr." Mae "uffern a marwolaeth" yn dylyn pechod. Mae rhai yn edrych ar rai pechodau yn fach; eithr os canlynir hwy gan uffern a marwolaeth, nis gellir edrych arnynt fel rhai bychain iawn. "Beth ydoedd i Adda gymeryd un afal oddiar y pren yn Eden?" medd y dyn. "Beth oedd cymaint a hyny? pa ddrwg mawr oedd mewn bwyta afal?" Troseddodd orchymyn Duw wrth hyny, o ganlyniad yr oedd yn bechod yn erbyn y Nefoedd, ac yn dwyn canlyniadau dychrynllyd. Collodd ei goron ardderchog o herwydd ei anufudd-dod, a chollodd ei holl hiliogaeth eu coronau hefyd gydag ef ar yr un pryd. Cyflawnodd gymaint o ddrwg yn yr un weithred hon, mewn ychydig amser, nas gall ei holl hiliogaeth ei ddadwneyd byth: bydd miliynau yn teimlo byth oddiwrth yr un weithred hono a gyflawnwyd mewn ychydig eiliadau; ïe, teimlir y canlyniadau i bob tragywyddoldeb. Buasai pawb yn teimlo yn uffern byth oni buasai gras pen-arglwyddiaethol Duw. Mae pechod YN FARWOL. Edrychwch drwy yr yspienddrych hwn arno nes dychrynu ac wylo o'i blegyd. Bydd y pechod lleiaf, os heb edifeirwch, yn glo a bollt i'ch cau allan o deyrnas nefoedd yn dragywydd. Edrychwch, fy nghyfeillion, ar bechod trwy y drych hwn nes y byddo eich llygaid yn dyferu dagrau, ac y byddoch yn wylo ddydd a nos hyd oni ddewch o hyd i feddyginiaeth yn nghlwyfau y croeshoeliedig Oen.

Yn drydydd, Edrychwch ar bechod yn nrych coch dyoddefaint Crist. Yma yr ymddengys pechod yn ddu, yn ffiaidd, yn bwysig, ac yn ddychrynedig. Mae yn rhaid cael "gwaed

Iesu Grist ei Fab ef" cyn y gellir dileu y pechod lleiaf. Nis gellwch gymeryd golwg gywir ar bechod heb fyned i Golgotha. Gwnaeth pechod i'r Arglwydd Iesu daflu llen dros ei ogoniant, colli ei gysur, colli ei waed, tywallt ei enaid i farwolaeth yn bech-aberth dros y pechod lleiaf fel y pechod mwyaf. Darllenwch fawredd eich pechodau yn nyfnder clwyfau Immanuel. Edrychwch! y mae pechod wedi gwneyd argraff ddwfn yn nghnawd Mab Duw! Cadwed yr Arglwydd ni rhag satan, yr hwn sydd yn taflu y fath niwl tew dros ein llygaid fel nad ydym yn gweled pechod yn y goleu priodol. Bydded i ni edrych, fy nghyfeillion, drwy ddrych dyoddefaint yr addfwyn Oen; *the red glass of Immanuel's sufferings.* Edrychwch ar eich Ceidwad yr hwn a wanasoch, galerwch "hefyd am dano fel un yn galaru am ei unig-anedig; ac ymofidiwch am dano ef megys un yn gofidio am ei gyntaf-anedig." Cofiwch fod nentydd bychain, yn gystal ag afonydd mawrion, yn ymarllwys i'r môr hallt; felly y mae pechodau bychain, fel rhai mawrion, yn cario dynion i lyn marwolaeth.

Yn awr, gan fod pechod yn ddrwg mor fawr, y mae o ganlyniad yn galw am alar ac wylofain mawr. Mae Duw, yn erbyn yr hwn y mae pechod yn taro yn uniongyrchol, yn anchwiliadwy mewn mawredd, am hyny dylai galar ac edifeirwch am bechod yn erbyn Duw mor fawr fod yn *wir* alar a thristwch; a bod yn ddwfn iawn hefyd. Y gyfraith hefyd, yn erbyn yr hon y mae pechod yn drosedd, sydd "yn dra eang;" am hyny y mae yn canlyn fod drwg y pechod yn dra eang hefyd. Mae Duw a'i gyfraith yr un peth, y naill mor eang a'r llall: ac y mae pechod yn taro yn erbyn yr oll o Dduw. Y mae yn groes i'w natur, ac yn groes i'w ewyllys. Pan y bydd yr Arglwydd yn dywedyd, "Gwna hyn," y mae y pechadur yn dywedyd, "Na wnaf." Pan y mae y Goruchaf yn dywedyd, "Paid gwneyd y peth aflan hwn ag y mae fy enaid yn ffieiddio;" y mae y pechadur yn dywedyd yn haerllug, "Mi a'i gwnaf." Fel hyn yr ydym wedi myned yn y blaen yn erbyn yr Arglwydd: onid ydyw hi yn llawn bryd i edifarhau?

Y mae yn anmhosibl dweyd y filfed ran o ddrwg pechod; y mae yn drosedd o bob iot o'r gyfraith bur a santaidd; ïe, y mae yn gabledd ymarferol ar holl enwau y Duw goruchaf. Balchder calon dyn sydd yn ei ddianrhydeddu yn bwrpasol; yn amcanu ergydio at ei orsedd fawr, ysbeilio ei goron ardderchog, a'i gosod ar ei phen ei hun. Y mae balchder

yn amcanu at fodolaeth y Goruchaf; ei ladd, cymeryd yr orsedd, ac eistedd arni ei hun. Mae pechod yn gwadu hollwybodaeth a hollbresenoldeb, ac yn herio hollalluogrwydd a chyfiawnder y Bod mawr. Ië, y mae yn anymddiried yn ei ffyddlondeb, yn sathru ar ei ddeddfau, yn dirmygu ei gariad, yn gofidio ei Ysbryd, yn rhoddi y celwydd i'w wirionedd, ac yn cyfrif ei ddoethineb yn ffolineb. A pha beth a all pechod wneuthur yn rhagor na saethu yn gyson at enw da, gorsedd, coron, a bodolaeth y Duw anfeidrol? O syndod, na baem wedi ein dryllio yn chwilfriw â'i wialen haiarn! O amynedd y Duw anfeidrol! Diolch i ti, y Duw mawr, am ein harbed hyd yma, na fuasit wedi ein tori i lawr yn ein pechodau pan yn gwrthryfela yn dy erbyn. Brysiwn i alaru, i dywallt dagrau, ac i ymostwng mewn llwch a lludw ger bron yr uchel Dduw.

Y mae pechod nid yn unig yn ein gwneyd yn annhebyg i Dduw, ond hefyd yn wrthwyneb iddo; a rhaid i ni alaru yn ddwys oblegyd pechod fel y mae yn weithred o elyniaeth yn erbyn Duw. Y mae pechaduriaid yn rhodio yn wrthwyneb iddo ef. "Chwi rai gwar-galed a dienwaededig o galon ac o glustiau, yr ydych chwi yn wastad yn gwrthwynebu yr Ysbryd Glân; megys eich tadau, felly chwithau," Act. vii. 51. Mae pechod yn wrthwyneb i bob person yn yr hanfod ddwyfol. Y mae yr Arglwydd Iesu yn dywedyd am y pechod o gabledd yn erbyn y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân. Mae yr hanfod ddwyfol o un meddwl; y mae pechod o feddwl arall, ac yn gwrthwynebu nid yn unig yr Ysbryd Glân, eithr y Tad a'r Mab hefyd. Mae yn anmhosibl i bechod wneyd rhagor nag y mae i ddigio a gwrthwynebu, dirmygu ac ymladd yn erbyn y Bod goruchaf. Fy nghyfeillion, yr ydym wedi gwrthryfela yn erbyn y nefoedd ein holl ddyddiau; y mae yn llawn bryd i ni alaru ac wylo ger bron Duw bellach. Mae gwir alarwr am bechod wedi ei ddwyn i rodio yn wrthwyneb i bechod a satan; mae wedi troi ei gefn ar ddiafol, y byd, a phob gwagedd, a'i wyneb ar Dduw a bywyd tragywyddol. Mae ei wyneb yn awr tua gwlad o wynfyd, a'i gefn ar ddinas dystryw: mae yn teithio tua'r nefoedd, "dan gerdded ac wylo."

Y mae pawb sydd wedi adnabod pechod yn galaru o'i blegyd am ei fod yn cynwys yr anniolchgarwch mwyaf. Y mae yn anmhosibl i ddyn faddeu iddo ei hun am ei anniolchgarwch yn wyneb derbyn cymaint o ddaioni a gwaredig-

aethau oddiar law yr Arglwydd. Mae pechod fel y plentyn, yn taro ac yn clwyfo y fron y mae yn sugno ac yn derbyn cynaliaeth o honi. O Arglwydd, cynorthwya fi i wylo am fy anniolchgarwch; y mae fy mhechod wedi taro a chlwyfo bronau tyner trugaredd. O drugaredd anfeidrol, yn danfon y Mab i'r byd i'n prynu, a'r Ysbryd Glân i'n santeiddio a'n dyddanu; eithr yr ydym wedi pechu yn erbyn y cwbl. Yr ydym wedi pechu yn erbyn gweddiau tyner yr Arglwydd Iesu, ac yn erbyn dylanwadau a graslondeb yr Ysbryd Glân; a phaham na alarwn? Yr ydym yn cwyno yn ddirfawr oblegyd annghared igrwydd *dynion* tuag atom ni; eithr pa beth yw hyny at ein hannghared igrwydd ni tuag at y Nefoedd! Derbyniodd Cesar ei glwyfau marwol oddiwrth ei gyfeillion. Oni all yr Arglwydd ddywedyd wrthym gan ddangos ei glwyfau, "Dyma y rhai y'm clwyfwyd â hwynt yn nhŷ fy nghar edigion?" Mor fynych yr ydym wedi agor clwyfau Mab Duw o'r newydd, ac wedi ei ail groeshoelio trwy ein cam-ymddygiadau yn y byd! Gadewch i ni syrthio ar ein hwynebau a galaru, fy nghyfeillion. Yr ydych yn cofio i Israel gymeryd ei dlysau a'i fodrwyau i wneyd llo aur; felly mae y pechadur yn cymeryd tlysau trugaredd Duw i wneyd ceffyl aur i redeg ymaith oddiwrth yr Arglwydd; ac ar gefn trugareddau dwyfol y mae y creadur haerllug yn marchogaeth dros y perthi a'r cloddiau, gan sathru deddfau Duw a gras yr efengyl dan draed ar ei ffordd i uffern. Mae anniolchgarwch yn bechod ag sydd wedi ei liwio â phorphor ac ysgarlad. Y mae trosedd yn erbyn cariad Duw yn amlygedig yn yr efengyl yn waeth mewn rhyw ystyr na phechodau y cythreuliaid, canys ni chawsant gynygiad o ras a thrugaredd wedi iddynt syrthio. Yn awr, os ydym yn galaru yn wirioneddol am bechod, yr ydym yn teimlo yn fawr o herwydd ein hanniolchgarwch i Dduw yn wyneb ei holl ddaioni a'i drugareddau i ni trwy ein hoes. Y mae yr enaid yn cwyno am hyn ger bron y Nefoedd bron uwchlaw dim arall. O ein calonau anniolchgar, dryllia hwynt yn chwilfriw â'th gariad, fel y byddo i afonydd o ddwfr lifo allan o'n llygaid am i ni bechu erioed yn erbyn Duw mor dda.

2. Dylem alaru am bechod nid yn unig am ei fod yn taro yn erbyn Duw, ond hefyd am ei fod yn taro yn ein herbyn ein hunain. Yr ysgrythyr sydd yn dywedyd, "Y neb a becho yn fy erbyn, sydd yn gwneyd cam â'i enaid ei hun." "Yr enaid a becho a fydd marw." "Cyflog pechod yw marw-

olaeth." Dylem wylo ddydd a nos uwch ben ein sefyllfa ddychrynedig drwy bechod, a ffoi i gymeryd gafael mewn bywyd, cyn syrthio i lyn marwolaeth am byth. Y mae pechod wedi ein hysbeilio o'n holl harddwch; wedi tynu oddiam danom ein harddwisg o gyfiawnder, wedi ein dyosg o'n *robes* ardderchog, ac wedi ein gadael yn noethlymun i ymdrybaeddu yn ein gwaed mewn gwarth. Tarawodd y goron oddiar ein penau yn mharadwys. "Syrthiodd y goron oddiar ein pen: gwae ni yn awr bechu o honom." Y mae wedi ein hysbeilio o ddelw brydferth a gogoneddus Duw, yr hon oedd yn gynwysedig mewn gwybodaeth, santeiddrwydd, a chyfiawnder. "Gwae ni bechu o honom." Y mae wedi ein hysbeilio o gymundeb a chymdeithas ein hanwyl Arglwydd; wedi dinystrio pob heddwch a thangnefedd rhwng ein heneidiau ag ef; wedi ein gwneyd yn noeth, a llychwino ein gogoniant. Y mae pechod wedi gwneyd tŷ Dduw yn "ogof lladron;" ïe, nid yn unig wedi ysbeilio y tŷ ar y ddaear o'i holl gysuron lawer gwaith, eithr y mae hefyd wedi tori i mewn i'r palas tragywyddol uchod, preswylfa y gwynfydedig; ac ysbeilio hyd y nod yr angylion eu hunain o'u holl ogoniant yn mhresenoldeb Duw ei hun. Dyma leidr con; cymerwch ofal rhagddo, bechaduriaid. Yr angylion, y rhai sydd wedi eu hysbeilio o'u gogoniant, sydd yn dyfod yn gythreuliaid duon, ac yn ellyllon melldigedig; y maent wedi cymeryd plaid pechod, wedi dyfod yn *Bartners and Co.* yn yr un fasnach uffernol. Yn awr y mae pechod a chythreuliaid wedi cychwyn y fasnach o ysbeilio yn mhob man; y maent yn lladron pen ffordd fawr. Chwi glywsoch am *highwaymen; highway devils* yw y rhai hyn yn lladrata cyrph ac eneidiau, a'u gadael yn farw byth. Dyma y lladron pen-heolydd sydd yn mhob rhan o'r byd yn gwneyd hafog a dinystr arswydus yn mhlith plant dynion oddiar y dechreu. Y maent wedi cymeryd miloedd o eneidiau yn ysglyfaeth, ac wedi rhanu yr ysbail yn y pwll diwaelod.

Nid yn unig y maent yn ysbeilio y byd, ond hefyd y maent yn tori i mewn i'r eglwys, yn ysbeilio y saint o'u cysuron a'u defnyddioldeb, ac yn myned â lluaws o ragrithwyr yn eu côl i'r fflamiau. Yr ydym yn darllen yn Dat. xii. 3, am satan, "y ddraig goch fawr, â saith pen iddi, a deg corn: ac ar ei phenau saith goron. A'i chynffon hi a dynodd draian ser y nef, ac a'u bwriodd hwynt i'r ddaear." Wrth y nefoedd yma, yr ydym i ddeall yr eglwys ar y ddaear; y ser yw

gweinidogion yr eglwys, a blaenoriaid tŷ Dduw. Mae y ddraig goch yn tynu traian ser y nef, a'i bwrw i'r ddaear; hyny yw, y mae satan yn llwyddo i gwympo un rhan o dair o swyddogion yr eglwys, a'u bwrw allan i'r byd yn ddiwerth, yn warthus, ac yn ddirmygedig. Pan y mae gweinidogion yr efengyl a blaenoriaid tŷ yr Arglwydd yn cael eu cwympo gan ddiafol, y mae yn barod i waeddi allan, "Dyma ysglyfaeth ragorol o'r diwedd; dyma ser y nef yn debyg o syrthio i uffern!" Os dygwydd i ddyn syrthio oddiar ucheldерau Sïon i bechodau gwarthus, gorchwyl mawr yw dringo i fyny i'r ucheldерau eilwaith o'u crafangau uffernol hwynt. Cymerwch ofal, fy nghyfeillion, rhag y lladron hyn, pan yr ydych yn dyfod adref o foddion gras, canys y mae yr Iesu yn dywedyd fod yr un drwg, sef diafol, yn rhodio o amgylch, ac yn rhedeg ymaith â'r gair a hauwyd yn y galon. Mae y cythraul weithiau mor gyfrwys, fel y mae yn ysbeilio y gair cyn ei hau; y mae yn ei ladrata o'r had-lestr, ac yn rhedeg ymaith â'r bregeth oddiar y pregethwr, nes y mae y meddwl yn wag, heb ddim ynddo ond hadau aflan yr un drwg, ac felly y mae heb ddim i hau. Ond fe allai mai y llwybr mwyaf cyffredin yw ei gipio allan o galonau y gwrandawyr. Gwyliwch rhag y lladron hyn; gweddiwch am ddyfnder daear i'r had, fel y byddo iddo dyfu i fywyd tragywyddol er gwaethaf satan. Bydded i'r gair syrthio mor ddwfn fel na allo y gelyn ddyfod o hyd iddo. Gwyliwch, fy nghyfeillion, rhag y lladron dynion hyn, y marsiandwyr uffernol yma mewn caeth-fasnach ysbrydol. Hwy a'ch ysbeiliant o'ch eneidiau, ac a'ch dygant gyda hwynt i bydew uffern, oddieithr eich galluogi i ddianc o dan amddiffyn yr Arglwydd Iesu. Y mae yn llawn bryd i ni godi gwaedd gyffredinol yn erbyn y lladron hyn, a galaru gyda Mair o herwydd dwyn ein "Harglwydd ymaith." Yr ydym wedi colli mwy na'r ddaear; yr ydym wedi colli ein Duw; y maent wedi dwyn ein Harglwydd oddiarnom. Y mae pechod a satan wedi ein difeddianu o bresenoldeb grasol a melus y Nefoedd lawer gwaith. Pwy na alara ag sydd wedi cael ei ysbeilio o berl gwerthfawr? Ond pa le y mae perl sydd y filfed ran o werth presenoldeb hyfryd ein Harglwydd? ac a beidiwn â galaru pan wedi colli y gymdeithas anmhrisiadwy hyn? Mae pechod wedi achosi i Haul cyfiawnder beidio â llewyrchu arnom. O, y golled fawr! Nid ydym yn galaru cymaint ar ol y byd hwn; eithr

yr ydym yn wylo yn dost am fod ein Harglwydd wedi cilio oddiwrthym.

"Mae y lladron hyn, pechod a satan, yn chwareu y cadnaw â ni; y mae dichell a thwyll ynddynt; y maent yn ein hudo heb yn wybod i ni. Beth a wnawn?" Gweddiwch gyda'r eglwys yn y Caniadau, "Deliwch i ni y llwynogod bychain, y rhai a ddifwynant y gwinllanoedd; canys y mae i'n gwinllanoedd egin grawnwin," Can. ii. 13. Rhaid i ni lefain yn erbyn pechod, a gwylio rhagddo fel y lleidr penaf. Galarwch a gweddiwch gyda Jehosaphat: "O ein Duw, oni ferni di hwynt? canys nid oes genym ni nerth i sefyll o flaen y dyrfa fawr hon sydd yn dyfod i'n herbyn, ac ni wyddom ni beth a wnawn: ond arnat ti y mae ein llygaid," 2 Cron. xx. 12. Wylwch am eich pechodau, a ffowch at Dduw, onide bydd yn sicr o'ch lladd yn farw. Y mae yn eich canlyn â chleddyf noeth yn ei law; efe a'ch trywana yn ddidrugaredd; y mae yn amcanu taro y gyllell trwy eich calonau. Y mae pechod, fel ceidwad y carchar, wedi tynu ei gleddyf i ladd y pechadur ei hun. Mae y pechadur wedi ei ddifeddianu o'i reswm, fel y mae yn debyg i'r dyn yn yr efengyl ag oedd wedi ei feddianu gan ddiafol, yr hwn oedd a'i drigfan yn mhlith y beddau, ac yn ei dori ei hun â cheryg; "ac ni allai neb, ïe, â chadwynau, ei rwymo ef. O herwydd ei rwymo ef yn fynych â llyffetheiriau, ac â chadwynau; a darnio o hono y cadwynau, a dryllio y llyffetheiriau: ac ni allai neb ei ddofi ef. Ac yn wastad nos a dydd yr oedd efe yn llefain yn y mynyddoedd, ac yn mhlith y beddau, ac yn ei dori ei hun â cheryg," Mat. v. 3—5. Tori y *cnawd* â cheryg oedd hwn; eithr mae y pechadur, wrth bechu yn erbyn Duw, yn lluchio ceryg at ei enaid gwerthfawr i'w ladd byth. Mae pob pechod yn gareg yn cael ei lluchio at galon yr enaid, gydag amcan i'w lofruddio. Yr ydych yn llabyddio eich eneidiau â meini i farwolaeth; a pha fwyaf o bechodau a gyflawnir, mwyaf o glwyfau a roddir iddo. Yr ydych yn tori eich eneidiau i lawr megys â bwyell wrth gyflawni eich pechodau; ac y mae pob pechod yn ergyd arno, ac yn dyfod ag ef yn nes i dân uffern. Ymateliwch rhag taro llawer o ergydion eto, canys y mae yn gogwyddo yn drwm eisoes i'r fflamiau: ergyd neu ddau eto ddaw ag ef i lawr i ganol cythreuliaid. Os oes cymaint o ddrwg mewn pechod a hyn, os oes calon mor chwerw gan y ffrwyth gwaharddedig hwn, oni ddylem alaru? Oni ddylai ein calonau fod yn ffynonau, a'n llygaid

yn ffrydiau, yn wylo ddydd a nos? Dylai afonydd o ddagrau lifo o'n llygaid o herwydd pechu o honom yn erbyn Duw, ac yn ein erbyn ein hunain.

Y mae pechod, fy nghyfeillion, nid yn unig wedi ein hysbeilio o'n hardd-wisg, a'n gwneyd yn noeth, ond hefyd wedi ein gwneyd yn aflan. Nid yn unig y mae wedi cymeryd oddiwrthym y wisg auraidd, ond hefyd wedi rhoi am danom y wisg aflan. Gwnaeth yr Arglwydd ni ar ei ddelw ei hun; eithr trwy bechod yr ydym "fel yr anifeiliaid a ddyfethir." Yr ydym wedi ein gwneyd yn anifeilaidd yn ein teimladau. Nid yn unig yr ydym drwy bechod wedi ein gwneyd yn anifeiliaid, ond hefyd yn ddieflig; y mae pechod wedi tynu llun y cythraul yn nghalon dyn. Dywedodd Crist wrth yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid, "O'ch tad diafol yr ydych chwi, a thrachwantau eich tad a fynwch chwi eu gwneuthur. Lleiddiad dyn oedd efe o'r dechreuad; ac ni safodd yn y gwirionedd, oblegyd nid oes gwirionedd ynddo ef. Pan yw yn dywedyd celwydd, o'r eiddo ei hun y mae yn dywedyd: canys y mae yn gelwyddog, ac yn dad iddo," Ioan viii. 44. Y mae Crist yn dywedyd wrth ei ddysgyblion, "Oni ddewisais i chwychwi y deuddeg, ac o honoch y mae un yn ddiafol?" Yr oedd enaid dyn unwaith yn ddysgleirdeb angylaidd; ond y mae pechod wedi ei wneuthur cyn ddued ag uffern ei hunan. Mae dyn, o herwydd pechod, islaw y llyffaint a'r seirph; nid oes gan sarph ddim gwenwyn ond yr hyn mae y Creawdwr wedi ei roddi ynddi; ac y mae gwenwyn y sarph yn feddyginiaeth: ond gwenwyn y cythraul yw pechod, ac heb ddim ynddo ond marwolaeth dragywyddol. Cofiwch beth a ddywed Pedr wrth Ananias: "Paham y llanwodd satan dy galon di i ddywedyd celwydd wrth yr Ysbryd Glân, ac i ddarn-guddio peth o werth y tir?" Act. v. 3.

Y fath wedd-newidiad dyeithr y mae pechod wedi ei wneyd ar ddyn! Y fath anghenfil aruthrol y mae wedi dyfod drwy bechod! Ië, yn waeth nag anghenfil; yn gythraul aflan yn nghroen dyn. Mae hadau y pechod anfaddeuol yn nghalonau pawb o honom; ïe, y mae hadau pob pechod ynom o herwydd pa rai mae y damnedigion yn dyoddef yn uffern y mynydau presenol. Pwy na alara am bechod? Yr hwn sydd yn gallu peidio wylo sydd wedi colli ei reswm; dylai gael ei rwymo â llyffetheiriau ac â chadwynau. Y mae halogedigaeth pechod yn bla yn yr enaid; ac a wnewch chwi ddim ymdrechu ei olchi ymaith â'ch dagrau? Mae halog-

edigaeth pechod yn gywilydd ac yn warth i ni; am hyny dylai yr aflendid hyn eich gyru at ddyfroedd edifeirwch, ac yna fe yr edifeirwch chwi at waed Iesu Grist ei Fab ef. Y mae euogrwydd pechod yn galw arnom i alaru yn ddwys, o herwydd y mae yn ein rhwymo drosodd i ddigofaint byth. Yr ydym yn euog ger bron Duw, yr ydym yn rhwym i gospedigaeth dragywyddol; mae yn rhaid ein dinystrio yn oes oesoedd, oddieithr i ni edifarhau a chael maddeuant yn nydd gras. Ai ni wna dyn euog, yr hwn sydd wedi ei rwymo drosodd i'r sesiwn, wylo? Bydd yn rhaid i ni yn fuan iawn sefyll o flaen y Barnwr, ac "ymddangos ger bron brawdle Crist." Mae pob un o honom yn myned i sefyll ei brawf am ei fywyd, a bydd y pechadur anedifeiriol yn sicr o golli y *trial;* ac yna bwrir ef am byth i'r pydew diwaelod, i afael yr ail farwolaeth. Och! Yr Arglwydd a dosturio wrth ddynion. Ceisiwch iachawdwriaeth trwy ddagrau ac ymbil, cyn y bydd yn rhy ddiweddar. Dywedwch, "Iesu anwyl, cymer fy mhlaid; pledia fy achos o flaen y Tad; bydd i mi yn Eiriolwr, yn Ddadleuwr ger bron y frawdle." Yn awr, fy nghyfeillion, gwnawn ychydig sylwadau mewn ffordd o gymhwysiad. Yn

1. Y mae yn rhaid i bechodau gael dagrau. Tra yr ydym yn cario tân pechod yn ein mynwesau, y mae yn rhaid i ni hefyd gario dyfroedd edifeirwch i daflu arno. Nid oes neb yn wynfydedig ag sydd yn galaru am gospedigaeth pechod; y galarwyr am bechod yn ei aflendid a'i euogrwydd yn unig sydd yn wynfydedig. I'ch cynorthwyo i alaru, gwnewch fel Dafydd, gosodwch eich pechodau "yn wastad ger eich bron," ac edrychwch arnynt yn gyson; bydd hyn yn sicr o'ch cadw i alaru dros eich dyddiau o'u plegyd. Mae y llygaid yn sicr o ddyferu dagrau ond eu cadw i edrych ar bechod. Nid wyf yn gwybod pa enw i ddodi ar bechod sydd yn ddigon drwg; beth bynag, cedwch o flaen eich llygaid blentyn y diafol hwn; edrychwch ar ei lun uffernol, ac yna yr wyf yn meddwl y gwelwch ddigon o achos wylo uwch ei ben tra fyddoch ar y ddaear.

2. Galerwch bob dydd yn gyson; canys fel y dywed Paul, "Yr wyf beunydd yn marw;" dylai y cristion hefyd ddywedyd, Yr wyf beunydd yn wylo ac yn galaru. Mae rhai wedi bod yn tywallt dagrau yn y boreu, a chyn y prydnawn yr oeddynt wedi sychu yn llwyr. Gwelsom lawer yn wylo yn hidl wrth wrando yr efengyl y boreu, a chyn canol dydd

y dagrau wedi sychu yn llwyr. Yr oedd llwyddiant y byd wedi oeri a rhewi y grefydd. Fy nghyfeillion, cedwch ffynonell o dristwch duwiol yn agored yn wastadol, a pheidiwch gadael y ffynon i atal tywallt dyfroedd allan hyd angau. Maent yn dywedyd fod ymdrochi mewn dwfr hallt yn feddyginiaethol i lawer o ddoluriau; yr wyf yn gwybod hyn, fy nghyfeillion, fod ymolch bob dydd yn nyfroedd heilltion edifeiriol yn feddyginiaeth rhag y rhan fwyaf o ddoluriau ysbrydol. Edifarhewch; dyma y peth sydd yn gwella yr *epilepsy*, clefyd y syrthio a'r gwrthgilio. Mae pethau yn y cristion goreu sydd yn wrthwyneb i'r Arglwydd, pethau sydd yn haeddu uffern; am hyny dylai wylo a galaru am ei bechodau yn gyson, nes y mae wedi ei lanhau yn llwyr oddiwrthynt oll. Os bydd llong yn cymeryd dwfr i mewn, mae yn sicr o suddo oddieithr iddynt ei *bumpio* allan; os na all yr enaid, yr hwn sydd yn wastad yn *leakio* drwy bechod, *bumpio* dyfroedd allan trwy y llygaid, y mae yn sicr o suddo ryw ddydd i'r dyfnder mawr. Mae yn rhaid i ni *bumpio* yn gyson wrth y *leak*, trwy edifeirwch, i gadw y llong rhag suddo. Ni wna ychydig o ddagrau dan y bregeth y tro; y mae y rhai hyn yn sychu i fyny yn fuan. Maent yn dywedyd fod y gair Hebraeg am lygaid yn arwyddo hefyd ffynonau, i ddangos fod yn rhaid i'r llygaid, fel ffynonau, lifo yn gyson. Nid yw ffynonau y llygaid i ymatal cyn eu cau yn yr angau: eithr maent i dywallt allan ddyfroedd o hyd. Yn angau, pan ein rhyddheir ni oddiwrth bechod, y bydd llwch y bedd yn llanw ein llygaid, ac yn sychu y ffynonau; yna y sychir ymaith ein holl ddagrau am byth. Y pryd hwnw, a dim cyn y pryd hwnw, y bydd galaru drosodd. Bendigedig! Henffych y boreu y bydd "galar a chystudd wedi ffoi ymaith."

3. Dylai yr olwg yr ydym wedi ei chymeryd ar bechod ein gwneyd yn alarwyr ysbrydol a gwirioneddol. Fe allai fod rhai o honoch wedi bod yn ceisio galaru, ac yn methu; yn debyg i ddyn ag sydd wedi cloddio cynifer o latheni o ddyfnder am ddwfr, ac yn methu ei gyrhaedd; eithr nid ydyw yn gadael a rhoi i fyny, ond yn cloddio yn ddyfnach, ac o'r diwedd y mae yn myned mor ddwfn nes y mae yn taro wrth darddiad. Felly y mae rhai o honoch wedi bod yn cloddio am ddyfroedd edifeirwch, ac wedi methu cael gafael arnynt; yn methu wylo, yn methu galaru, yn methu edifarhau, yn methu pob peth; y mae fel pe byddai yn anmhosibl

cael deigryn o'r llygaid, nac uchenaid o'r galon; y cwbl wedi ei gau i fyny. Pwyswch, fy nghyfeillion, yr hyn oll a ddywedwyd; edrychwch yn deg a difrifol dros y cwbl, a gosodwch eich calonau i weithio eto; peidiwch rhoi fyny; cloddiwch yn ddyfnach, gweithiwch yn y blaen, yn y cyfarfodydd gweddi, a'r cyfarfodydd pregethu, ïe, yn holl foddion gras; fel y dyn yn yr efengyl, yn cloddio a pheidio rhoi fyny cloddio "nes myned yn ddwfn iawn, a chael gafael ar y graig." Trwy gloddio yn galed, a pheidio rhoi fyny, fe ddaeth i afael y sylfaen, ac adeiladodd dŷ arni am bob tragywyddoldeb. Bendigedig! y mae y graig i gael, ac y mae gerllaw. Felly y dywedaf, Cloddiwch yn ddyfnach: cewch y pleser o ddywedyd fel gweision Isaac cyn hir, "Cawsom ddwfr;" y mae ein calonau yn dechreu tori oblegyd pechod, ac yn toddi i ddagrau santaidd: y mae dyfroedd edifeirwch yn dechreu cael eu gwasgu allan o'r graig sydd o fewn, ac yn llifo allan yn ddagrau trwy y llygaid. Bendigedig fyddo Duw byth am fodd i wylo am ein pechodau; y mae yn iechyd i ni ar y ddaear; yr ydym yn teimlo ysgafnhad oddiwrth ein beichiau trymion; ac y mae yn olew ar ein holwynion.

Yn olaf. Gair o gysur i'r galarwyr: "Hwy a ddyddenir." Lle y mae dyfroedd edifeirwch wedi dechreu rhedeg, y mae gwaed Iesu Grist yn wastad yn rhedeg tuag ato i lanhau oddiwrth bob pechod. Mae rhyw undeb agos rhwng y dwfr a'r gwaed o'r dechreu. Yr oedd dwfr a gwaed yn aml o dan yr hen oruchwyliaeth; yr oeddynt fel pe buasent yn ymbriodi â'u gilydd y pryd hwnw. Yr oedd Moses yn cymeryd "gwaed lloi a geifr, gyda dwfr, i daenellu y llyfr, a'r bobl oll." Edrychwch i ben Calfaria: O bendigedig! dacw y dwfr a'r gwaed yn dyfod allan o ystlys yr Immanuel gyda'u gilydd. Diolch. "Ond un o'r milwyr a wanodd ei ystlys ef â gwaywffon: ac yn y fan daeth allan waed a dwfr," Ioan xix. 34. Gogoniant am waed a dwfr ystlys Iesu, i redeg ac ymgymysgu â dwfr edifeirwch yn nghanol pechadur. Os ydych yn cael dwfr yn eich calonau, y mae dwfr a gwaed y groes yn sicr o ddyfod ato. Mae dwfr a gwaed yn llifo allan o Grist byth, nid yw y ffynon i ymatal mwy. Y mae yr Arglwydd Iesu yn awr ar ddeheulaw y Tad, wedi ei ddyrchafu i "roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau;" a lle y mae edifeirwch yn llifo y mae maddeuant yn gorlifo. Diolch! os yw ffynon edifeirwch wedi ei hagor yn dy enaid, ti yw y dyn sydd â chroesaw at y ffynon a agorwyd yn ystlys yr

Arglwydd Iesu ar y pren. Tyred yn y blaen; at dy wasanaeth di yr agorwyd y ffynon hon; i bechod ac i aflendid y mae wedi ei threfnu. "Pwy bynag a ddel, nis bwrir ef allan ddim." Gogoniant! Ffynon i olchi ymaith bechodau y pechadur edifeiriol ydyw; ac wedi golchi y pechodau, yn golchi y dagrau hefyd, nes y byddo y cwbl yn bur ac yn lân, o fewn ac oddiallan. "Efe a lwnc angau mewn buddugoliaeth." A'r Arglwydd Dduw a sych ymaith ddagrau oddiar bob wyneb; "ac efe a dyn ymaith warthrudd ei bobl oddiar yr holl ddaear: canys yr Arglwydd a'i llefarodd." "A'r dydd hwnw y dywedir, Wele, dyma ein Duw ni: gobeithiasom ynddo, ac efe a'n ceidw; dyma yr Arglwydd; gobeithiasom ynddo, gorfoleddwn a llawenychwn yn ei iachawdwriaeth ef." Bendigedig, y mae yn gwella tua'r diwedd; y mae y gwlaw yn pasio, y mae cysgodau yr hwyr yn cilio, y mae dydd tragywyddoldeb yn ymestyn allan; ni gawn haf byth yn y man. "Gwaredigion yr Arglwydd a ddychwelant, ac a ddeuant i Sïon â chaniadau, ac â llawenydd tragywyddol ar eu pen: goddiweddant lawenydd a hyfrydwch, a chystudd a galar a ffy ymaith." Gwared da ar eu hol. Os ydych wedi myned trwy y môr hallt o edifeirwch wrth ddyfod i fyny o'r Aipht, yr ydych yn dechreu myned i mewn i'r môr coch,—gwaed Iesu, yr hwn sydd yn golchi ymaith eich holl bechodau. Gogoniant! Fy nghyfeillion, y mae gobaith y waredigaeth dragywyddol bron yn berwi fy enaid i fyny o fy nghorph y fynyd hon. Dyddenwch eich gilydd ar y daith ofidus â'r ymadroddion hyn. "Hwy a ddyddenir." Dyddenir hwynt yn eu holl helbulon a'u cystuddiau yn y byd, canys y mae colyn gwenwynig pechod wedi ei dynu; yr euogrwydd wedi ei symud o'r gydwybod; y mae damnio wedi myned heibio; dim damnio mwy.

Wel, fy nghyfeillion, y mae cysur cryf yn nghanol gorthrymderau a chystuddiau chwerwon y byd hwn; y mae y gwaethaf wedi myned heibio; y mae y goreu yn eich aros. Os ydych yn cael gorthrymder yn y byd, cymerwch gysur yn Nghrist, yr hwn sydd wedi "gorchfygu y byd." Mae gwaed Iesu Grist wedi cymeryd ymaith yr euogrwydd, ac yn llefaru heddwch tragywyddol yn yr enaid, nes y mae yn llawenhau mewn gorthrymderau. "Y mae pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw." Yn mlaen â chwi yn galonog tuag at hen afon yr Iorddonen; y mae pob drwg wedi ei symud oddiyno hefyd. Er y bydd yn rhaid

cyfarfod ag angau, eto cewch ei gyfarfod heb un colyn. Chwi gewch gyfarfod ag angau heb golyn, a chyfarfod â'r ddeddf heb ddim melldith, a chyfarfod â Duw heb ddim llidiogrwydd ynddo, a chyfarfod â nefoedd a'i llonaid o ddedwyddwch yn oes oesoedd. Bendigedig! Dyma ddigon o sychu dagrau y galarwyr am dragywyddoldeb. Yn awr y maent yn ymdrochi mewn dagrau, ond yno cânt ymdrochi yn nigonolrwydd llawenydd ger ei fron, a nofio mewn digrifwch yn dragywydd ar ei ddeheulaw. "Y rhai sydd yn hau mewn dagrau a fedant mewn gorfoledd. Yr hwn sydd yn myned rhagddo, ac yn wylo, gan ddwyn had gwerthfawr, gan ddyfod a ddaw mewn gorfoledd, dan gludo ei ysgubau," Sal. cxxvi. 6. Chwi gewch gynhauaf toreithiog yn y nefoedd, ar ol hau yr had mewn dagrau ar y ddaear. Wylwch am eich pechodau; wylwch yn eich gweddiau; ewch yn y blaen "dan gerdded ac wylo." Trwsiwch y tir â dagrau; fe dâl yn dda, fe dyf i dragywyddoldeb. Cewch ddigon i fyw pan fyddo yr hen fyd yma wedi llwydo. Yr Arglwydd a'ch bendithio. Amen.

## PREGETH XIX.

### GWAGTER Y BYWYD HWN, A SYLWEDD YR HWN A DDAW.

"Dyn sydd debyg i wagedd; ei ddyddiau sydd fel cysgod yn myned heibio," Sal. cxliv. 4.

Y MAE marwolaeth yn enill tir arnom bob awr o'n bywyd: yr oriau sydd wedi myned heibio sydd yn awr yn feirw i ni; ni chawn byth eu byw hwynt drosodd eto: y maent wedi myned heibio am byth. Mae y dyfodol yn ansicr; ni wyddom ddim beth fydd cyn nos heno; nid ydym yn byw ond y foment bresenol, ac mae y foment bresenol yn marw yn awr; felly nid ydym yn byw ond haner moment. Haner moment yw y cwbl o'n bodolaeth yma; y foment wedi ei rhanu yn ddau rhwng bywyd a marwolaeth. Felly "dyn yn rhodio mewn cysgod;" gwagedd ydyw ar y goreu; cysgod marwolaeth yw y bywyd presenol; y mae angau yn dyfod arnom yn annysgwyliadwy dan gysgod bywyd. Pob cam ag y mae y corph yn symud yn y blaen, mae y cysgod yn symud yn y blaen hefyd; felly pob cam ag y mae bywyd yn roddi yn y blaen y mae marwolaeth yn camu yn y blaen hefyd. Y mae cyflymdra amser yn gyflymdra marwolaeth. Mae ein tragywyddoldeb yn dechreu yn wastad; y mae un haner o honom fel yn dybenu yn gyson, a'r haner arall yn dechreu; yr ydym yn ffarwelio â diwedd y foment ddiweddaf, ac yn cydio yn nechreu y foment ddyfodol o hyd; yr ydym fel llong o don i don, un haner iddi ar un, a'r llall yn myned i mewn i'r nesaf. Mae ein bywydau yn angau gwastadol. Mae hyd y nod y bywyd ei hun yn wagedd. Pe byddem fyw fil o flynyddau ni fyddai genym ond un foment, am na fyddai sicrwydd am y nesaf; yr ydym yn byw yn y blaen mewn tywyllwch, ac heb wybod hyd pa bryd. "Pob cnawd sydd wellt, a'i holl odidogrwydd fel blodeuyn y maes. Gwywa y gwelltyn, syrth y blodeuyn; canys ysbryd yr Arglwydd a chwythodd arno: gwellt yn ddiau yw y bobl. Canys megys blodeuyn y diflana efe; canys cyfododd yr haul gyda gwres, gwywodd y glaswelltyn, a'i flodeuyn a gwympodd, a thegwch ei bryd ef a gollodd;" Esay xl. 6, 7; Iago i. 10, 11. Yn mha le y mae y wynebryd hardd yr awr hon? yn mha le y mae urddas y corph, yn mha un fel mewn dilledyn hardd y dilladwyd yr enaid anfarwol? Och! cwympodd y lili hardd, trodd porphor-liw y *violet* yn las-wyn.

Pa ddyogelwch a ellwch ddysgwyl mewn llong dyllog? a pha sicrwydd a ellwch ddysgwyl oddiwrth bethau *ansicr* y byd hwn? Mor ffol y mae dynion; er eu bod yn gweled fod bywyd yn fyr, eto eu prif ymdrech yw ceisio byw yn hir, ac nid byw yn dda; er ei fod yn bosibl byw yn dda, ac yn anmhosibl i fyw yn hir. Mae pob peth amser yn rhyw fath o farwolaeth; ac yn y diwedd y mae amser ei hun yn marw. Pob cyfnewidiad sydd yn fath o farwolaeth; y mae clefyd yn angau iechyd, y mae gofid yn angau llawenydd, y mae ieuenctyd yn angau mebyd, canol oed yn angau ieuenctyd, hen oedran yn angau canol oed, a cholli yr anadl yw angau y cwbl. Pob cyfnewidiad mewn bywyd sydd yn fath o farwolaeth, a marwolaeth ei hun yn gyfnewidiad llwyr ar bob peth y bywyd hwn. Rhaid i bob peth sydd yn perthyn i amser wywo a marw, ac yna bydd yn rhaid i amser ei hun farw o'r diwedd. Mae y blodau tecaf yn gwywo o honynt eu hunain, ac yn marw; ond weithiau cyn eu bod yn cael amser i wywo, a marw yn deg, y maent yn cael eu chwythu ymaith gan ryw wynt cryf, ac yn syrthio i ddinystr yn annhymhoraidd. Mae y palasau cadarnaf a gwychaf yn adfeilio ac yn cwympo o honynt eu hunain; ond yn fynych cyn eu bod yn cael amser i adfeilio a syrthio i lawr o henaint, dinystrir hwynt gan yr elfen dân, neu ddaeargryn, neu ryw anffawd arall. Mae pob peth yn myned trwy ryw lawer o gyfnewidiadau a marwolaethau. "Canys efe a wel fod y doethion yn meirw; yr un ffunud y derfydd am y ffol ac ynfyd; gadawant eu golud i eraill. Eu meddwl yw y peri eu tai yn dragywydd, a'u trigfeydd hyd genedlaeth a chenedlaeth; enwant eu tiroedd ar eu henwau eu hunain. Er hyny dyn mewn anrhydedd nid erys; tebyg yw i anifeiliaid a ddyfethir: eu ffordd yma yw eu hynfydrwydd; eto eu hiliogaeth ydynt foddlon i'w hymadrodd. Fel defaid y gosodir hwynt yn uffern; angau a ymborth arnynt, a'r rhai cyfiawn a lywodraetha arnynt y boreu; a'u tegwch a dderfydd yn y bedd; o'u cartref," Sal. xlix. 10—15.

Nid oes dim yn y bywyd hwn yn annghyfnewidiol; ac y mae dyn ei hun yn fwy cyfnewidiol na phob peth arall. Y mae cyfnewidiadau un dydd, ïe, un awr yn dybenu llawer o gyfoeth yn fynych; pan y mae dyn yn myned o dan ryw gyfnewidiad mawr, y mae llawer o bethau eraill yn cyfnewid hefyd sydd mewn cysylltiad ag ef. Gall y dyn oedd gyfoethocaf yn y gymydogaeth y ddoe, fod heddyw y dyn tlotaf. Yr ydym yn darllen am un o freninoedd Itali yn cael ei yru oddiar ei

orseddfainc i gadw ysgol yn Corinth. "Gwagedd yw dyn pan fyddo ar y goreu;" ni ŵyr "beth fydd y fory." Yr ydym yn darllen am lawer o freninoedd yn y wlad hon, a gwledydd eraill hefyd, yn cael eu gyru yn ddisymwth gan eu deiliaid i garchar ac i angau. Yn eistedd mewn rhwysg heddyw ar yr orseddfainc, ac y fory yn poeni mewn cell dywyll yn y Twr. Yr ydym yn darllen am y brenin Adronicus, yr hwn oedd yn llywodraethu tiriogaethau eang, ac yn cael ei addoli gan ei ddeiliaid; yr oedd y goron harddaf ar ei ben, a'r deyrnwialen fwyaf ardderchog yn ei law; yr oedd ei esgidiau yn rhy ogoneddus i'w gosod ar y llawr; ac yr oedd ei ddwyfron wedi eu cuddio â gemau; ond er hyn i gyd taflasant ef oddiar ei orseddfainc, llabyddiasant ef â meini ac â llaid y ddinas, wedi hyny crogasant ef rhwng dwy gof-adail, a gadawsant ef yno i drengu. Yr ydym yn darllen hanesion cyffelyb am lawer o freninoedd, a gwaeth hefyd, os oes lle. Mae pethau fel hyn, fy nghyfeillion, yn ddigon i beri i ni ddibrisio pob mwynhad o bethau amser, a chyfrif pob dedwyddwch dynol yn wagedd, y rhai sydd mor fynych yn dybenu mewn gofid a gwarth. Y pethau ag sydd yn ddarostyngedig i gymaint o gyfnewidiadau nid ydynt yn teilyngu ryw serch a chariad mawr. Mae pob mawredd dynol yn ynfydrwydd am fod yn rhaid iddo ddarfod yn y llwch. Peidiwch ymddiried mewn anrhydedd ansicr, a golud anwadal; nid yw coronau a gorseddfeinciau yn un dyogelwch rhag cyfnewidiadau, trueni, a gwarth. Gallwn ymddiried i'r gwynt, neu lythyrenau wedi eu hysgrifenu mewn dwfr yn llawn cymaint ag i lwyddiant y byd hwn.

"Gwagedd." Mi a wn, nid yn unig fod tlodi, ond pob mawredd dynol yn wagedd; am hyny paham y gofidiaf yn nghylch pethau nad ydynt ddim? Y pethau, fy nghyfeillion, nad ydynt yn werth eich cariad pan yr ydych yn eu meddianu, nid ydynt yn werth i chwi wylo pan yr ydych yn eu colli. Beth yw gorsedd? Gwagedd. Beth yw coron? Gwagedd. Beth yw teyrnwialen? Gwagedd. "Gwagedd yw y cwbl." Pe gallem glywed meddyliau y dorf annedwydd sydd wedi myned o'r ddaear i uffern, yn nghylch y byd hwn a'i ogoniant, caem yn ddiamheu eu clywed yn dywedyd, "Gwagedd yw y coronau, gwagedd y dawnsiau, gwagedd y ffeiriau, gwagedd y llawenydd cnawdol, gwagedd yw pob peth dan haul; sylwedd yw pob peth tu draw i'r haul, tu draw i'r bedd." Breuddwyd yw eich bywydau, cysgod yw eich byd, dim yw eich amser; tragywyddoldeb, tragywydd-

oldeb yw eich cwbl!" Pa le y mae saith rhyfeddod y byd yn awr? Nid ydynt. Pa le y mae Babilon fawr, y ddinas fwyaf a harddaf yn ei dydd? Ah! nid ydyw mwyach; mae ei mawredd a'i gogoniant wedi myned heibio. Pa fwyaf y byddo pethau y byd hwn mewn mawredd a gwychder, mwyaf oll mewn gwagedd hefyd. Pwy yn fwy mewn gogoniant nag ymerawdwyr Rhufain? eto cyn bod yr holl ymerodraeth braidd yn hysbys o goroniad rhyw un, yr oedd wedi ei ladd; fel hyn y bu gyda phedwar ar bymtheg o honynt. Y mae y rhai sydd yn cael eu codi i'r anrhydedd uchaf yn syrthio i'r trueni dyfnaf. Dywedodd un wrth son am annedwyddwch bywyd breninol, "Y maent fel troseddwyr condemniedig yn aros dydd y dienyddiad bob mynyd o'u bywydau." "O goron," medd y brenin Antigonus, "yr ydwyt yn llawer mwy ardderchog na dedwydd; pe byddai dynion ddim ond yn gwybod mor llawn ydwyt o ofalon a pheryglon, ni'th godent i fyny oddiar yr heol." Dywedodd Cystenyn Fawr wedi iddo gael ei ddyrchafu i'r anrhydedd penaf, fod ei fywyd yn ychydig anrhydeddusach na bywyd bugail; ond yn llawer mwy gofalus, peryglus, a gofidus. Nid oes yr un anrhydedd tymhorol nad yw yn dwyn beichiau trymion o drueni gydag ef. Nid oes un dyn yn mwynhau llwyddiant mor uchel nad ydyw yn ddarostyngedig i gael ei ddwyn yn isel trwy aflwyddiant. Pan mae y cysgod yn hwyaf y mae agosaf i'w derfyn; pa uchaf y'ch codir, agosaf ydych at ddarostyngiad. Bu Adda fyw naw cant a deg ar ugain o flynyddau; ond y diwedd oedd, "Efe a fu farw;" a dyma yr hanes diweddaf am ei holl blant. "Hwy a fuant feirw." Yr ysbryd wedi myned "at Dduw, yr hwn a'i rhoes ef," a'r corph wedi dychwelyd i'r pridd; "y pridd i'r pridd, y llwch i'r llwch, a'r lludw i'r lludw."

Y mae y dwfr yn rhedeg i lawr am fod y tarddiad i lawr; mae y corph yn myned i lawr am fod ei darddiad i lawr, a'r enaid yn myned i fyny am fod ei darddiad i fyny; "at Dduw yr hwn a'i rhoes ef." Y mae yn eglur i'r holl fyd fod y cristion o Dduw, canys at Dduw y mae yn myned; y mae yn codi i fyny o bob dyfnder at ei darddiad. Dyma y casgliad sydd yn rhaid i ni wneyd wrth edrych ar ymarweddiad y duwiol; "canys ein hymarweddiad ni sydd yn y nefoedd;" am hyny o'r nefoedd yr ydym wedi ein geni. Beth sydd wedi gwneyd y cyfnewidiad? Y Bibl. Y mae "cyfraith yr Arglwydd yn berffaith, yn troi yr enaid." Yr achos o'r cyfnewidiad yw y Bibl, a gellwch ddarllen yr achos yn yr

effeithiau. Y mae yr effeithiau yn gweithredu tuag at Dduw; y mae yr enaid yn cael ei droi ato; am hyny y mae yn rhaid mai o Dduw y mae yr achos. Yr achos yw y Bibl; am hyny y mae y Bibl o Dduw. Yn ymarweddiad santaidd cristionogion y mae y byd yn darllen dwyfoldeb y Bibl. Dyma brofion dynion annuwiol. Cofiwch, broffeswyr, mai eich ymarweddiad chwi yw Bibl y byd. Mae dynion y byd yn darllen ac yn astudio y Bibl yn aml ac yn fanol yn eich ymarweddiad chwi. Os bydd eich bucheddau chwi yn isel, yn ysgafn, yn ddifater, ac yn ddibwys, bydd y byd yn tynu y casgliad canlynol oddiwrth hyny:—"Nid oes dim mawredd yn Nuw ag sydd eisiau arnom ni ofni; nid yw yr enaid yn agored i gymaint o beryglon a chospedigaeth dragywyddol mewn tân a brwmstan; nid yw ei werth yn gymaint ag sydd yn galw am y drafferth leiaf; nid oes drwg mawr mewn pechod, nid oes niwed yn nglyn cysgod angau, am hyny nid oes eisiau arnom ystyried y diwedd. A pha eisiau sydd i ni ymdrafferthu yn nghylch y byd y tu draw i'r llen, a'r ochr draw i'r bedd? Nid oes yr un angenrheidrwydd i ni ufuddhau i gyfreithiau Duw, a chredu efengyl Iesu Grist." Pe bawn yn gofyn un cwestiwn i'r annuwiol, "Paham nad oes eisiau arnat wneyd sylw o'r pethau hyn? yr wyt yn camsynied: y mae yr Arglwydd yn uchel, ti ddylit ymostwng iddo; y mae pechod yn fawr, ti ddylit grynu; y mae niwed yn angau, ti ddylit ofni; y mae perygl yn y byd tu draw i'r bedd, ti ddylit arswydo; y mae awdurdod yn y gyfraith, y mae yn ddyled arnat i ufuddhau; y mae gras a bywyd yn yr efengyl, y mae angen ei chredu cyn y gellir bod yn gadwedig." "Na," medd yr annuwiol, "nid oes dim yn uffern sydd yn eisiau i mi ofni, na dim yn y nefoedd ag sydd yn werth i mi obeithio am dano. Y mae yn wir eich bod chwi yn dywedyd fod Duw yn fawr, pechod yn ddrwg, uffern yn ofnadwy, a'r nefoedd yn ogoneddus; eithr yr ydym ni yn darllen yn wahanol iawn yn ein Bibl ni, yr hwn yw ymarweddiad proffeswyr. Yr ydych yn dywedyd un ffordd, ac yn gwneyd ffordd arall. Y pethau yr ydych chwi yn *wneyd*, ac nid y pethau yr ydych yn *dywedyd*, yr ydym ni yn eu darllen ac yn astudio. Nid ydych chwi yn cydnabod fod Duw yn fawr yn eich dull o fyw, na phechod yn ddrwg, nac angau yn beryglus, na thragywyddoldeb yn bwysig. Yr ydym ni yn darllen y gweithredoedd ac nid y geiriau; y mae y traed yn llefaru yn uwch na'r tafod." Felly chwi

welwch fod ymarweddiad drwg proffeswyr crefydd yn gwneyd mwy o ddrwg i deyrnas y Cyfryngwr na holl alluoedd uffern o'r bron. Mae y byd annuwiol yn myned yn ddigon cyflym tua'r fflamiau, heb i chwi a minau ei yru yn gyflymach trwy ein cnawdolrwydd a'n hannuwioldeb. Yn awr, yr wyf yn troi fy wyneb tua'r pared, ac yn troi y bregeth yn weddi. O Arglwydd Dduw, tywallt arnom ychwaneg o halen gras: fel yr halltom, lle bynag y byddom; ac fel y byddo ein harogl yn nefolaidd yn mhob man, yn y byd drewedig a ffiaidd hwn. Goleua, O Dduw, lygaid ein meddyliau, trwy dy Ysbryd, fel y gwelom bwys aruthrol y byd tragywyddol; a gwna ni yn oleuadau yn y byd, yn bur a dysglaer yn mhob lle; ac fel dinas ar fryn, yr hon nis gellir ei chuddio.

Broffeswyr, peidiwch a chuddio eich canwyllau o dan lestr, eithr gosodwch hwynt ar ganwyllbrenau, fel y byddo i chwi "oleuo pawb ag sydd yn y tŷ." Y mae y dyn duwiol yn epistol byw, "yr hwn a ddarllenir gan bob dyn:" ac y mae y casgliad a dynir oddiwrth ei ymarweddiad ef yn hollol wahanol i'r casgliad a dynir oddiwrth ymarweddiad dynion dibwys a chellweirus gyda chrefydd. Y peth yw dyn yn nghyfrif Duw ydyw mewn gwirionedd. Dyma gymaint o sylwedd sydd yn ein byd ni, fy nghyfeillion, cymaint o grefydd ag sydd rhyngoch â Duw. Israeliaeth yn wir. Mae y byd yn wagedd; ydyw; ac y mae crefydd yn wagedd hefyd, ond yr un wirioneddol. Temlau hardd, tyrau uchel, clychau pres, swyddau anrhydeddus, gwisgoedd offeiriadol, seremoniau llwydion, llestri aur ac arian, pob offer cerdd; dyledswyddau meirwon; "gwagedd yw y cwbl." Chwi fyddwch yn nghanol uffern o ganol yr holl bethau hyny. Yr Arglwydd a drugarhao wrth grefyddwyr ein hoes. "Dyn sydd yn rhodio mewn gwagedd." Y peth yw dyn yn nghyfrif Duw yn naturiol, ydyw mewn gwirionedd. Nid yw ei fod wedi ei eni mewn palas yn ei wneyd yn ddim mwy na phe buasai wedi ei eni ar y domen. Er fod llawer yn canu y gloch yn uchel uwch ben eu hachau, a'u disgyniad o deuluoedd anrhydeddus, a gwaed uchel; eto "hyn hefyd sydd wagedd." Mae llawer o bobl yn cadw ystwr anferth yn nghylch eu genedigaeth gyntaf, trwy yr hon y maent yn dyfod yn bechaduriaid ac yn etifeddion trueni; ac yn ddiofal yn nghylch yr ail enedigaeth, trwy yr hon y gwneir hwynt yn etifeddion bywyd tragywyddol. Os darfuDafydd felldithio mynyddoedd Gilboa

am i Saul a Jonathan farw yno, y mae genym ni lawer mwy o reswm i fellditihio mynyddoedd anrhydedd, a balchder y byd, canys y mae miloedd wedi eu colli yno.

Trugaredd oedd rhoddiad golud i ddynion gan y Nefoedd; ond y mae dyn pechadurus wedi ei wneyd yn felldith. Mewn cymaint o drafferth y mae y pechadur yn fynych cyn y mae yn gallu dyfod o hyd i'w damaid melus: ac wedi dyfod o hyd iddo y mae yn gwneyd mwy o boen nag o bleser: nid yw yn treulio yn dda yn y cylla fel y buasai "yn felus bod hebddo." Y mae pechod yn troi yn chwerwder, nid yw yn treulio yn y gydwybod; y mae tamaid melus yn myned yn rhy ddrud yn y fynyd. Mae doluriau dychrynllyd yn y byd hwn yn canlyn rhai pechodau; pleser am foment yn cael ei ganlyn gan boenau mewn corph am oes. Mae yn rhy ddrud felly o lawer. Ond och! y mae yn waeth eto; y mae tragywyddoldeb o gosp yn ei ganlyn ar ol darfod â'r fuchedd hon. Pan y byddoch yn edrych ar ddarlun dyn cyfoethog a darlun dyn tlawd yn ei ymyl, peidiwch cenfigenu y cyfoethog, a pheidiwch diystyru y tlawd; canys nid yw y naill na'r llall ond cysgod. Cysgod yn diflanu yw cyfoeth, a chysgod yn cilio yw tlodi; y mae dyn, yn mha gylch bynag y mae yn troi, "yn rhodio mewn cysgod." Pe baech yn y lleuad, yr hon sydd lawer tu yma i'r nefoedd, ymddangosai y byd hwn oddiyno heb fod mwy na troedfedd o dryfesur. Fy nghyfeillion, pe byddai ein hymarweddiad yn y nefoedd, ymddangosai y byd hwn a'r cwbl sydd ynddo ond megys dim i ni; ïe, a llai na dim, os gwyddoch beth yw hyny. Gwagedd fyddai; ac y mae gwagedd yn llai na dim.

Pethau y byd hwn ydynt fel teganau plant; yn rhyw debyg i'r tai bychain maent yn eu gwneyd â chlai ac â thywod. Bydd dynion mewn oed yn chwerthin am eu ffolineb plentynaidd. Pan y byddo eu rhïeni yn cael allan eu bod yn esgeuluso eu gwersi gan ormod o awydd at chwareu, ac yn myned ar eu hol hwynt i edrych; y mae y plant pan yn eu gweled yn dyfod yn tynu eu dwylaw am draws y tŷ bychan, ac yn ei ddryllio mewn moment, rhag ofn y peth oedd wedi costio cymaint iddynt. Y mae yr Arglwydd yn fynych yn gwneyd i'r rhai sydd yn esgeuluso ei wasanaeth, ac yn ymroddi i gasglu cyfoeth, ac adeiladu palasau, fel y mae y plant yn gwneyd â'r tai bychain. Mae efe yn tynu ei law dros yr holl adeiladau, a dyna hwynt yn dyfod i lawr mor hawdd a thai y plant, y rhai a adeiladwyd o glai a thywod. Y rhai ag

sydd yn gosod eu calonau ar y byd byr hwn, a'r bywyd brau presenol, sydd yn fwy plentynaidd o lawer na phlant, y rhai sydd yn chwareu tai bychain â chlai a thywod. Rhyw chwareudy mawr yw ein byd ni, a miloedd o chwareuwyr yn actio yr un pryd. Mae un yn actio Alexander Fawr, a'r llall yn actio rhyw gardotyn tlawd; ond unwaith y mae y *play* drosodd, y mae Alexander a'r cardotyn ar yr un tir. Felly, pa ran bynag y byddwn yn actio yma, byddwn yn gydradd yn y bedd. Bydd ambell un wedi actio y brenin, un arall y prif weinidog, un arall y marsiandwr, a'r llall y gweithiwr; eto fe fydd pawb yn gydwastad eu penau yn y bedd ar ddiwedd y chwareu. Cewch orwedd, a gorphwys, a huno, gyda breninoedd a chynghorwyr y ddaear, y rhai a adeiladasant iddynt eu hunain fanau anghyfanedd; neu gyda thywysogion ag aur ganddynt, y rhai a lanwasant eu tai ag arian. "Yno yr annuwiolion a beidiant â'u cyffro; ac yno y gorphwys y rhai lluddedig," Job iii. 13—17. Bydd y *play* drosodd yn fuan bellach, fy nghyfeillion, ac yna bydd meistriaid a gweision yn yr un *box;* bydd y *platform* a'r *gallery* wedi eu taflu yn un. O wagedd! gwagedd yw y cwbl yn y byd hwn, a dyn yn rhodio yn ei ganol.

Fel y dywedais wrthych o'r blaen, peidiwch gwneyd cyfrif o'r enedigaeth anrhydeddus, ond yr enedigaeth newydd, y geni o ddwfr a'r Ysbryd. Pe bai rhyw gaethwas yn dywedyd ei fod yn uwch o ran genedigaeth na mab y brenin, byddech yn edrych arno fel dyn ynfyd, ac yn tosturio wrth ei ffolineb. Eto ni byddai hyny haner cyn ffoled ag ymffrostio mewn genedigaeth anrhydeddus, ac esgeuluso yr enedigaeth oddiuchod, trwy yr hyn y'n gwneir yn feibion ac yn ferched i'r Duw goruchaf, Arglwydd nef a daear. Dyn yn ymffrostio yn ei gyfoeth a'i anrhydedd, ac yn esgeuluso y gwir gyfoeth ac anrhydedd anllygredig; yn ymffrostio mewn pethau daear, ac yn esgeuluso pethau nefol a thragywyddol; yn cymeryd gofal mawr am y corph, yr hwn sydd yn rhaid marw, ac yn esgeuluso yr enaid, yr hwn sydd yn rhaid byw byth, a'i ddamnio byth hefyd oddieithr ei gyfnewid trwy ras; dyma y dyn mwyaf ynfyd o bawb. Mae llestr pridd mor frau, y mae perygl iddo gael ei ddryllio gyda'r symudiad lleiaf. Un gwan yw corph noeth anarfog; yr hwn hefyd sydd yn agored i lawer o beryglon. Mae hyd y nod bwyd, yr hwn sydd wedi ei amcanu yn gynaliaeth y corph, wedi troi yn angau iddo lawer tro; y mae mewn peryglon oddiwrth bethau sydd yn

hanfodol i'w gynaliaeth. Mae dyn ar y goreu yn llygredigaeth; y mae yn anifail yn ei enedigaeth ac yn ei fywyd; ac yn ei farwolaeth y mae yn ymborth i bryfed mân y llwch. Mae llysiau yn dwyn blodau, a ffrwythau, a *balsam;* ond dyn sydd yn cynyrchu pryfed a llygredigaeth. Mae dyn mewn ieuenctyd, y tymhor goreu arno, yn gwbl wagedd; ac fel y mae yn heneiddio y mae yn gwaelu bob dydd. Mewn henaint y mae y galon yn myned yn drymaidd, y pen yn sigledig, y wyneb yn grybychlyd, y llygaid yn tywyllu, y gwallt yn gwynu ac yn colli, a'r clustiau yn myned i glywed yn drwm. Mae diwedd dyn yn dorcalonus iawn; beth sydd yn fwy atgas na chorph marw? Yr hwn a fu gynt yn ymborthi ar foethau sydd yn awr yn ymborth i bryfed. Paham yr ydwyt yn falch, tydi lwch a lludw? yr hwn a genedlwyd mewn anwiredd, ac a anwyd i drueni: yr hwn y mae dy fywyd yn boen, a'th angau yn sicr. Peidiwch bod yn rhy ofalus pa fodd y mae eich cyrph wedi eu dilladu, y rhai fydd yn fwyd i bryfed yn y man. Gofalwch yn hytrach, fy nghyfeillion, i ddilladu eich eneidiau mewn dillad gweddus ger bron Duw. Ymwisgwch yn nghyfiawnder y Messiah, yn *royal robes* y drydedd nef, fel "nad ymddangoso gwarth eich noethder yn y dydd hwnw." Nid oes neb ond yr Hwn sydd heb ddechreu na diwedd nad yw yn ddarostyngedig i gyfnewidiadau a llygredigaeth. O Arglwydd, bydded yr Arglwydd Iesu yn etifeddiaeth i mi; Crist, a Christ yn unig, heb ddim o'm heiddo fy hun. Mi ganaf wrth golli y ddaear ryw ddydd, ond cael Crist Iesu fy Arglwydd yn fy mreichiau. Diolch! Bendigedig am "drysor gwell yn y nefoedd, ac un parhaus." "Mi ganaf tra f'wyf byw."

Ond y mae yn rhaid i ni ddychwelyd. Y mae pechod hefyd yn llygru yr enaid, ac yn ei wneyd o ganlyniad yn fwy llygredig na'r corph, fel y mae y cwbl ag sydd yn mryd y galon yn oferedd a gwagedd. Yr enaid, yr hwn sydd yn farw mewn pechodau marwol, yn fwy aflan yn ngolwg Duw a'r angylion santaidd, na'r corph sydd wedi marw er ys wyth niwrnod. Os ydyw y corph hwnw yn llawn pryfed, y mae yr enaid yn llawn o rai sydd yn fil mwy ffiaidd na holl bryfed y llwch. Pe bai dyn yn gweled ei hun yn ngoleu gair Duw, crynai yn fwy o lawer o herwydd ei enaid nag o herwydd ei gorph. Mae dynion yn cael eu cydmaru i anifeiliaid y maes; y mae yn fil mwy dychrynedig bod *fel* yr anifeiliaid, na bod *yn* anifeiliaid; canys nid oes dim bai ar yr anifail am ei fod

yn anrhesymol; felly y gwnawd ef; ond bod creadur rhesymol yn darostwng ei hun nes y mae fel yr anifail anrhesymol sydd weithred o'i ewyllys ei hun, ac yn warth a chywilydd iddo.

Y fath amrywiaeth o farnau a marwolaethau y mae oferedd dyn wedi eu cynyrchu! Mae dros bump cant o ffyrdd wedi cael allan i weinyddu gwenwyn yn ddirgelaidd, y rhai sydd wedi eu defnyddio oll i ddinystrio y bywyd dynol. Mae yn anhawdd gwybod yn mha le y mae dyogelwch rhag malais dynion. Arglwydd daionus, gwared ni rhag dynion drwg, ac ysbrydion drwg, a drwg ein calonau ein hunain. Mae rhai wedi cyfarfod â'u hangau mewn arwyddion cymod a heddwch; wrth ysgwyd dwylaw i arwyddo cymod a heddwch y mae rhai wedi cael eu lladd; cawsant eu gwenwyno wrth ysgwyd llaw. Mae dynion wedi defnyddio holl synwyrau y corph fel cynifer o byrth i ddanfon angau yn ddirgelaidd i mewn i gyrph eu cyd-ddynion. Mae plant y diafol wedi cael allan ffordd i ddanfon angau mewn llythyr, a saethu y galon trwy y llygad. Yr wyf wedi darllen fod Napoleon Bonaparte yn cadw dyn i agor ei lythyrau rhag iddo gyfarfod a'i angau wrth eu hagor. Mae angau yn dyfod i mewn bob ffordd; yr ydym mewn perygl yn mhob man, a chyda phob peth. "Tarth yw yr einioes; cwbl wagedd yw dyn ar y goreu." Yn nghanol bywyd y mae yn rhodio mewn gwagedd; o ganol cyfoeth, anrhydedd, bri, llwyddiant, iechyd, a wynebau siriol, y mae yn disgyn mewn moment i'r bedd. "Gwagedd yw y cwbl."

Y mae tymherau drwg y dyn ei hun yn ei wneyd yn annedwydd ac yn druenus yn nghanol cysuron penaf y bywyd hwn, ie, yn ei ladd a'i yru yn annuwiol i blith cythreuliaid. Gwelir y dyn balch yn y trueni mwyaf yn fynych, ac yn ymdreulio ymaith yn raddol o herwydd gweled dyn arall yn ei ymyl yn byw yn gysurus. Y mae y cenfigenllyd yn marw wrth weled ei gymydog yn gallu byw. Mae y cybydd yn colli ei gysgu rhag ofn colli ei arian; y tymherog a'r nwydwyllt yn dinystrio ei hun oblegyd rhyw beth nad ydyw yn werth dim. Y mae y cenedloedd yn ymddiffygio am wir wagedd, Hab. ii. 13. Dyn sydd yn ymboeni ac yn ymdreulio, a chyn ei fod wedi cyrhaedd ei amcan, y mae wedi ei gladdu, ac yn pydru yn y bedd. "Hyn hefyd sydd wagedd." Mae yn ymgodi am dipyn mewn balchder, ac yn fuan yn cael ei wasgaru fel llwch, neu yn cilio o'r golwg fel

cysgod; yn llosgi am ychydig fel fflam dân, ac mewn tarawiad yn dybenu mewn mwg. Y mae yn ymledu ei hun fel cwmwl, ond yn fuan yn ymgrynhoi, ac yn syrthio i'r llawr fel defnyn bychan. Mae yn treulio ei amser i gasglu clai a phridd tew, mewn gofid a thrafferth blin, holl ddyddiau ei fywyd ofer ar y ddaear, ac nis gŵyr pwy fydd yn eu mwynhau. "Dyma wagedd hefyd."

Gellid meddwl, wrth ei weled yn twrio yn y ddaear, ei fod am wneyd twll trwyddi i uffern mor gynted ag a fyddai yn bosibl. O mor llawn yw yr enaid o feddyliau ofer! Yr ydym yn "rhodio yn oferedd y meddwl." Y galon sydd yn llawn myfyrdod pa fodd i gael gafael ar yr hyn y mae yn ei ddymuno; yna pa fodd i gadw hyny, a pha fodd i'w gynyddu, a pha fodd i'w fwynhau; ac yn mhen ychydig, ar ol yr holl drafferth, y mae y cwbl yn dybenu mewn llwch a lludw. Y mae angau yn dyfod yn y blaen, ac yn *setlo* y cwestiwn yn fyr. Mewn bywyd chwant ymgyfoethogi ac ofn myned yn dlawd oedd yn terfysgu y meddwl; yr oedd chwant cyfoethogi ac ofn myned yn dlawd yn dragywyddol yn bethau dyeithr. Gwelwch y fath drafferth y mae y pryf copyn yn ei gymeryd i wneyd y wê acw; y mae yn ei wau o'i ymysgaroedd ei hun; y mae yn treulio ac yn ymdreulio, chwi welwch, wrth wneyd cynifer o deithiau yn ol ac yn mlaen; a phan y mae wedi gorphen yr holl rwydwaith, byddai y cyffyrddiad lleiaf ag ef yn ei ddryllio yn chwilfriw. Y mae dynion yn treulio llawer o amser, llawer o flynyddoedd, ïe, yn cymeryd trafferth fawr i gasglu cyfoeth, ac mewn un awr y mae yn cymeryd adenydd, ac yn ehedeg ymaith.

Y mae dyn yn ddyledwr i angau, ac y mae yn rhaid iddo dalu y ddyled hono yn fuan. Nid yw ei fywyd yn *freehold*, nac yn *leasehold* ychwaith; *tenant-at-will* ydyw; gellir ei droi allan y pryd y mynir. Fe allai y bydd yn rhaid i ti farw heddyw. Dyma sefyllfa dyn, fy nghyfeillion, yr ydwyf wedi ei ystyried mewn dagrau lawer gwaith. Beth ydyw? Pridd y ddaear, o ran ei gorph, ac i ddychwelyd yno yn fuan; ysbryd tragywyddol o ran ei enaid, yr hwn sydd i fyned at Dduw ar ei ymadawiad â'r corph; ac ymunant â'u gilydd eilwaith yn yr adgyfodiad, i fodoli byth yn y nefoedd neu yn uffern. Os byd o wagedd yw hwn, byd o sylwedd yw y nesaf. Yr wyf yn edrych ar hwn, ac yn gwaeddi uwch ei ben, O wagedd! yr wyf yn edrych ar y nesaf, ac yn gorfod gwaeddi mewn syndod a braw, O sylwedd!

O drueni y natur ddynol! Yr ydym yn ddarostyngedig i annedwyddwch ac angau yn mhob man, a chyda phob peth; ïe, oddiwrth y pethau lleiaf yn y byd. Fflam fechan ar ben canwyll sydd yn ddigon i ddinystrio dinas fawr Llundain, gyda'i chanoedd o filoedd o drigolion. Paid ymogoneddu yn dy nerth, fy nghyfaill, canys gwagedd ydwyt. Yr ydym yn darllen am rai yn tagu wrth fwyta grawnwin, a rhai yn cael eu lladd â dant fechan y sarph; a gwraig, pwy ddydd yma, a laddwyd gan golyn main cacynen. Lladdwyd Fabius, y seneddwr Rhufeinig, wrth yfed dracht o laeth. "Beth ydyw eich einioes chwi? canys tarth ydyw, yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hyny yn diflanu," Iago iv. 14. Nid yw eich einioes, mewn cymhariaeth i oes y byd, ond megys moment: ac nid yw oes y byd, mewn cymhariaeth i dragywyddoldeb, ond megys dim. Y mae bywyd dyn fel gwydr; nid mewn dysgleirdeb, ond mewn breuoldeb. Yr oedd Dafydd yn deall hyn yn dda; er ei fod y galluocaf o'r holl dywysogion Hebreaidd, yr oedd er hyny yn ystyried fod ei fawredd i ddybenu yn fuan. Yr ydoedd yn edrych ar ei deyrnas, ei drysorau, ei fuddugoliaethau, a'r cwbl a feddai, yn "gwbl wagedd." "Arglwydd, pâr i mi wybod fy niwedd, a pheth yw mesur fy nyddiau; fel y gwypwyf o ba oedran y byddaf fi. Wele, gwnaethost fy nyddiau fel dyrnfedd, a'm heinioes sydd megys dyddim yn dy olwg di: diau mai cwbl wagedd yw pob dyn pan fo ar y goreu. Dyn yn ddiau sydd yn rhodio mewn cysgod, ac yn ymdrafferthu yn ofer: efe a dyra olud, ac nis gŵyr pwy a'i casgl," Sal. xxxix. 4—6.

Y mae pob moment yn rhedeg ymaith â rhan o'n bywydau. Y peth yr ydym yn gwneyd, yn siarad, neu yn gwrando yr awr hon, sydd yn rhedeg ymaith â rhan o'n bywydau. *Many years in this vain world are a great nothing.* "Onid ychydig yw fy nyddiau?" medd Job. "Fy nyddiau a aeth heibio, fy amcanion a dynwyd ymaith, sef meddyliau fy nghalon." Bu Job fyw dau cant a deugain o flynyddoedd; ac os oedd hyny yn fyr ac yn ddyddim, pa mor fyr y rhaid bod ein heinioes ni? canys yr oedd yn dri chymaint a'n heinioes ni. Yr oedd dyddiau Methusalem yn dair gwaith ar ddeg cymaint a'n dyddiau ni; er hyny nid ydoedd ond gwagedd a dyddim. O Arglwydd, nid ydym ond braidd agor ein llygaid yn y byd hwn cyn gorfod eu cau yn yr angau. Gyda ein bod yn dechreu gweled yr haul yr ydym yn syrthio i dywyllwch y bedd. Gwagedd! Peidiwch dymuno bedd costus,

arch ysblenydd, a cholofn ardderchog; canys "gwagedd yw hyn hefyd." Peidiwch rhoi pwys ar ba le y'ch cleddir, na pha angladd a gewch; gwna angladd cyffredin y tro yn burion, ac y mae hyny yn fwy nag y mae dyn euog a gwag yn haeddu. Byddwch yn fwy pryderus yn nghylch eich eneidiau nag yn nghylch eich cyrph, meddyliwch yn fwy am le yn y nefoedd nag am le ar y ddaear, a gweddiwch gyda Stephan am i'r Arglwydd Iesu, ar ddydd eich marwolaeth, "dderbyn eich ysbryd:" fe gaiff y corph gymaint o ddaear ag fydd eisiau arno. Gweddiwch am i chwi gael cerbydau tanllyd, sef "miloedd o angylion," i drosglwyddo eich eneidiau i fynwes Abraham, a gadewch rhwng y byd a chwilio am *bearers* i'r corph. Y mae dyn yn myned allan o'r byd hwn yn llwyr, ac nid oes dim yn ei ganlyn i dragywyddoldeb ond ei weithredoedd. "Eu gweithredoedd sydd yn eu canlyn hwynt." Gobeithio, fy nghyfeillion, y bydd genych *stock* fawr o weithredoedd da i'ch canlyn i'r drydedd nef.

Pe byddai yn bosibl i ddyn wybod cyn ei eni pa faint y byddai yn rhaid iddo ddyoddef yn y bywyd truenus hwn, byddai yn anewyllysgar i gael ei eni. Gofynwyd i Silenus beth oedd y dedwyddwch penaf ag oedd yn bosibl i ddyn fwynhau; atebodd, "Peidio cael ei eni, neu ynte i farw yn fuan wedi hyny." "Felly mi a ddywedais, ac a edrychais ar yr holl orthrymderau sydd dan yr haul; ac wele, dagrau y rhai gorthrymedig heb neb i'w cysuro; ac ar law eu treiswyr yr oedd gallu, a hwythau heb neb i'w cysuro. A mi a ganmolais y meirw y rhai sydd yn barod wedi marw, yn fwy na'r byw y rhai sydd yn fyw eto. Gwell na'r ddau yw y neb na bu erioed, yr hwn ni welodd y gwaith blin dan haul. A mi a welais fod pob llafur a phob uniondeb gwaith dyn, yn peri iddo genfigen gan ei gymydog. Hyn hefyd sydd wagedd a gorthrymder ysbryd," Preg. iv. 2—4. O Arglwydd Dduw, y mae y cwbl yn wagedd; yr ydym yn rhodio yn nghanol gwagedd a gorthrymder ysbryd bob dydd. Buaswn wedi ymddyrysu a myned yn breswylydd rhyw wallgofdy er ys llawer dydd, oni bai gobaith yr efengyl. Mae y byd hwn mor gyfnewidiol, y mae bron yn dyrysu fy meddyliau; y mae troion rhagluniaeth mor dywyll, fel yr ydwyf yn methu gweled trwy y cymylau a'r tywyllwch sydd o amgylch gorseddfainc y Jehofah. Yr wyf yn meddwl lawer diwrnod fod y byd yn troi o chwith, a bod y nefoedd a'r cwbl wedi dyrysu, ac yn barod i waeddi allan gyda Job, "Dar-

fydded am y dydd y'm ganed ynddo, a'r nos y dywedwyd, Ynillwyd gwryw. Bydded y dydd hwnw yn dywyllwch, a Duw oddiuchod heb ei ystyried; ac na thywyned llewyrch arno. Tywyllwch a chysgod marwolaeth a'i halogo, ac arosed cwmwl arno; dued y diwrnod a'i dychryno. Y nos hono, tywyllwch a'i cymero; na chydier hi â dyddiau y flwyddyn, ac na ddeued i rifedi y misoedd. Bydded y noswaith hono yn unig, ac na fydded gorfoledd ynddi. A bydded ser ei chyf-ddydd hi yn dywyll; dysgwylied am oleuni, ac na fydded iddi; ac na chaffed weled y wawr-ddydd. Am na chauodd ddrysau croth fy mam, ac na chuddiodd ofid oddiwrth fy llygaid. Paham na bum farw o'r bru? na threngais pan ddaethum allan o'r groth? Paham y derbyniodd gliniau fyfi? a phaham y cefais fronau i sugno?" Job iii. 3—12.

Dywedodd Democritus fod "bywyd dyn yn druenus iawn, canys er chwilio am ddaioni fod yn anmhosibl ei gael, ond fod drwg yn dyfod o hono ei hun, heb chwilio am dano." Yr ydym yn agored i gynifer o glefydau dychrynllyd; ac y mae llwybr meddyginiaeth yn fynych mor arswydus a'r dolur ei hun. Llwybr meddyginiaeth rhai doluriau yw serio â haiarn poeth; weithiau trwy lifio aelod ymaith, a phrydiau eraill trwy gymeryd asgwrn allan o'r pen, neu ryw ran arall o'r corph. Mae rhai wedi gwella wrth agor y corph, a chymeryd yr ymysgaroedd allan, fel y mae llwybr gwellhad, chwi welwch, yn fynych mor ddychrynllyd a'r dolur ei hun. Yr wyf yn cofio darllen am frenin, yr unig feddyginiaeth i'w ddolur ef oedd anufudd-dod i'w holl orchymynion. Beth bynag yn y byd yr ydoedd yn ei orchymyn, yr oedd pawb i anufuddhau, i'r dyben i groesi ei holl ddymuniadau; felly y gwellhawyd ef. Yr oedd y cyffeiriau hyn yn rhai chwerwon i frenin, y mae yn ddigon sicr. Y fath ddiwedd truenus y cyfarfyddodd Herod ag ef! Edrychwch arno yn dyfod allan mewn rhwysg, a'r bobl yn ei addoli fel rhyw fod uwchlaw dynol; ond cyn pen awr y mae yn rhy ffiaidd i neb fyned yn agos ato; "a chan bryfed yn ei ysu, efe a drengodd." "Gwagedd yw pob dyn pan fo ar y goreu." Arglwydd, dysg ni "i gyfrif ein dyddiau, fel y dygir ein calon i ddoethineb." Nid yw gallu breninol, y gallu cryfaf ar y ddaear, yn ddigon i ddyogelu rhag y cystuddiau mwyaf. Mae y trueni sydd ar ddyn yn fawr iawn, ac ofer yw dysgwyl llawer o gysur a dedwyddwch yn y bywyd hwn.

Un o ofidiau mawrion y byd hwn yw yr anmhosiblrwydd i foddloni neb. Gwnewch fel y mynoch, a chymerwch y llwybr a fynoch, yr ydych yn sicr o anfoddloni bron pawb; o leiaf byddant yn debyg iawn o feio. Yr oedd yr Atheniaid yn beio Simonidus am siarad yn rhy uchel; yr oedd llawer yn chwerthin am ben Cesar am beidio gwisgo ei hun fel y dylasai. Gwnewch fel y mynoch, y mae y byd yn sicr o feio. Wrth geisio myned yn y blaen, fel na byddai neb yn y byd yn ei feio y collodd yr hen wr ei asyn, ac yn y diwedd heb fod yn ddim nes i gyrhaedd ei amcan. Nid oes neb yn gallu cerdded mor gywir fel na allo cenfigen a malais ffeindio rhyw fai. Mae gofidiau bywyd yn rhy aml i'w cyfrif. Bydd rhai yn cyfrif angau y trueni mwyaf, ac eraill yn meddwl mai bywyd ydyw y trueni mwyaf, ac yn edrych ar angau fel physygwr mawr sydd yn gwella dyn oddiwrth holl drueni y bywyd hwn. Fe allai mai y clefyd gwaethaf yw marw, eto y mae yn gwella yn llwyr oddiwrth bob clefyd arall yn y bywyd hwn. Gallwn edrych ar angau fel drws gobaith, a llwyr waredigaeth oddiwrth holl wagedd a thrueni y bywyd presenol. Eto nid yw yn fantais i gael gwaredigaeth oddiwrth y bywyd hwn, os nad oes rhyw fywyd gwell yn ein haros. Byddai yn well i'r annuwiol aros yma byth, serch bod yn y trueni mwyaf sydd yn perthyn i'r bywyd hwn, na'u trosglwyddo i fyd o farwolaeth dragywyddol. Ond y mae gan y saint obaith diangfa oddiwrth holl ofidiau y bywyd hwn, a gobaith gogoniant tragywyddol yn y byd a ddaw, y tu draw i'r byd a'r bedd. Bendigedig! buasem wedi llesmeirio er ys llawer dydd oni bai ei bod yn goleuo o'r chwarter hyn. "Canys ein byr ysgafn gystudd ni sydd yn odidog ragorol, yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant i ni. Tra na byddom yn edrych ar y pethau a welir, ond ar y pethau ni welir: canys y pethau a welir sydd dros amser, ond y pethau ni welir sydd dragywyddol," 2 Cor. iv. 18, 19. Mae fy mhen yn troi, yr wyf yn dotio, wrth edrych ar y pethau a welir; yr wyf yn mron dyrysu; ond pan gaffwyf olwg ar y pethau sydd yn dragywyddol, y pethau sefydlog, y pethau dyogel, y mae y ddot yn gwella: yr wyf yn gweled y cystudd maith yn fyr, y cystudd trwm yn ysgafn, y cystudd truenus yn odidog, y cystudd blin yn rhagorol; y cystudd sydd bron yn fy llethu a fy lladd, yn "gweithredu tragywyddol bwys gogoniant." Diolch!

"Dysgwyliaf o'r mynyddoedd draw,
Lle daw im' help 'wyllysgar;
Yr Arglwydd rydd im' gymhorth gref,
Yr hwn wnaeth nef a daear."—Bendigedig!

Edrychwch, fy nghyfeillion, ar y bryniau yr ochr draw i'r dwfr; y mae hi yn goleuo yn hyfryd acw; y mae hi yn gwella am byth. Gogoniant! Nid yw ein holl "gystuddiau presenol yn haeddu eu cyffelybu i'r gogoniant a ddatguddir i ni yn nyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist." Pan yr ydym yn cael golwg ar Iesu Grist, y mae yn ein gwneyd yn ddedwydd hyd y nod yn nghanol y bywyd terfysglyd hwn; ac yn gwneyd afon angau yn ddyogel. *A safe passage to glory.* Mae efe yn gweini cysur cryf yn nghanol bywyd gofidus; nerth yn afon angau, a gwobr ddiddiwedd yn y nef. Achwyniad ffol o eiddo Theophrastus ar Dduw, oedd ei fod yn rhoddi mwy o oes i lawer o adar ac anifeiliaid y maes nag i ddyn. Buasai ganddo reswm dros achwyn pe byddai ein bywydau yn llai truenus na'r eiddynt hwy. Eithr yn gymaint a bod ein bywydau yn llawer mwy helbulus, goreu i gyd iddynt ddybenu yn fuan. Gan fod yn rhaid myned trwy orthrymderau bywyd, peidiwch meddwl cymaint am hapusrwydd ynddo; yn mlaen â chwi nes cyrhaedd hapusrwydd yn y byd a ddaw. Os cewch fordaith arw, peidiwch cwyno dim; y mae yr hafan ddymunol yn sicr; ïe, y mae yn tynu yn agos; y mae y fordaith yn mron ar ben. *A rough passage, but a beautiful harbour.* Peidiwch beio yr Arglwydd am wneyd eich blynyddoedd yn ychydig yn y byd; eithr beiwch eich hunain am eu gwneyd yn bechadurus ac yn druenus. Gwnaeth Duw y blynyddoedd yn ychydig fel y gallom gario ein beichiau yn haws, a chyrhaedd gogoniant yn gynt. *A quick and a short one makes it more pleasant.* Dymunwch anfarwoldeb yn y nefoedd, y bywyd ag sydd yn llawn o bleser a dedwyddwch; ac nid marwoldeb ar y ddaear, neu nefoedd farwol yma. Mae dynion yn druenus wrth chwilio am nefoedd yn y ddaear. Codwch eich penau i fyny ac edrychwch am iachawdwriaeth yr Arglwydd. Byddwch fyw yn fyr ac yn dda, nid yn faith ac yn ddrwg. Cedwch y ddaear o'r tu ol, a'r nefoedd o'r tu blaen; cyrchwch at y nod am "gamp uchel alwedigaeth Duw yn Nghrist Iesu." Chwi gollwch y ddaear yn fuan, pa un a fydd gyda chwi nefoedd ai peidio.

Y mae pethau y ddaear yn debyg i ddelw fawr Nebuchodonosor; yr hon oedd yn ddelw fawr iawn, ei dysgleirdeb yn

rhagorol. Yr oedd ei "phen o aur, a'i dwyfron a'i breichiau o arian, ei bol a'i morddwydydd o bres, ei choesau o haiarn, a'i thraed, peth o haiarn a pheth o bridd." Yr oedd ei sylfaen yn frau, fel y gwelwch; a chareg fechan yn ymdreiglo o'r mynydd am ei thraws ddrylliodd y cwbl yn chwilfriw. Mae sylfaen holl gyfoeth, anrhydedd, a mawredd y byd hwn yn y pridd. Mae y pen a'r canol hefyd yn aur, ac yn dlysau, a pherlau gwerthfawr; eithr y mae y traed beth o honynt yn bridd; a chareg fechan yn treiglo, ïe, cilionen fechan yn ehedeg, sydd yn dyfod â'r mawredd oll i lawr yn fynych mewn eiliad. Mae y cwbl yn ymddibynu ar fywyd; ac y mae hwn yn frau ac yn llithrig, yn ddarostyngedig i farwolaeth unrhyw fynyd trwy y pethau lleiaf. Mae ofn angau yn peri fod dynion yn ffoi ac yn gadael y pethau goreu yn y byd, a'r pethau y maent yn eu caru fwyaf. "Pob peth a rydd dyn am ei einioes." Mae pläau wedi peri i ddynion ffoi a gadael eu teuluoedd; gwŷr wedi gadael eu gwragedd, a gwragedd wedi gadael eu plant; pawb yn ffoi am ei einioes ei hun, ac yn gadael y perthynasau agosaf i drengu wrthynt eu hunain; ïe, y mae rhai yn y cyfryw amgylchiadau yn trengu o newyn yn nghanol llawnder, am nad oedd neb i'w weinyddu iddynt; a phan yn cael gafael ar friwsionyn, gan gymaint y poenau, yn trengu a'r bara yn eu genau. Mae rhai, mewn rhyw fath o bläau, wedi marw marwolaeth ddaublyg; marw o gystudd ac o newyn. Mae hefyd ddinasoedd a gwledydd cyfain wedi eu dinystrio gan y pla ofnadwy; mae wedi bod mor drwm mewn rhai gwledydd, gallesit meddwl fod yr Arglwydd yn penderfynu i ddifa yn llwyr yr holl ddynoliaeth oddiar y ddaear. Nid yw newyn yn llai barnol na'r pla, nac yn llai truenus ychwaith. Och, y trueni sydd yn nglŷn â newyn mewn gwlad! Mae llawer o wledydd wedi gorfod dyoddef glendid danedd, a'u crwyn yn duo gan newyn cyn hyn. Maent wedi gorfod bwyta ceffylau, cwn, eathod, llygod, a llawer o bethau eraill lawn cynddrwg. Ac yn wyneb methu cael y pethau hyn yn bwyta y naill y llall. Nid oedd y tad yn arbed y mab, na'r fam y ferch. "Dwylaw gwragedd tosturiol a ferwasant eu plant eu hun; eu hymborth oeddynt yn ninystr merch fy mhobl," Galar. iv. 10. Nid llai dinystriol hefyd yw byddin o filwyr yn sathru gwlad i lawr. Y fath olygfa ofnadwy sydd arnynt, yn dinystrio a thori i lawr bawb o'r bron; maent yn fwy tebyg i ysbrydion drwg nag i ddynion. O drueni ofnadwy! Mae bywyd dyn yn

ddarostyngedig i fwy o ofidiau nag y mae yn bosibl i un tafod byth ddesgrifio, nac un galon ddychymygu. Y mae rhyfeloedd yn fwy truenus na'r cwbl; y maent yn dyfod â'r fath res o bechodau yn nglŷn â hwynt, a'r pechodau hyny y mwyaf erchyll.

Wedi y cwbl, nid y trueni mwyaf yw pläau, newyn, a rhyfeloedd; eithr nwydau anllywodraethus y galon ddynol. Dyma y pla gwaethaf, y byddinoedd mwyaf arswydus, a'r newyn mwyaf dinystriol. Dyoddefodd Dafydd newyn a rhyfel oddiwrth falais Saul; collodd Naboth ei fywyd o herwydd trachwant Ahab. Nwydau aflywodraethus sydd yn cynyrchu holl drueni y byd; dyma y gwreiddyn sydd yn dwyn y ffrwyth chwerw; dinystriwch hwn, a dyna y byd wedi ei wella. Pa bla mor ddychrynllyd a chreulonder Herod, yr hwn a ddinystriodd gynifer o filoedd o fabanod diniwed? Pa bla mor arswydus a chreulonder Bonner a Mari waedlyd, y rhai a ferthyrasant ganoedd o gristionogion i foddhau eu gwallgofrwydd dieflig? Pa sicrwydd sydd genym o'n bywydau, yn gymaint a bod y ddaear, yr hon yw ein mam ni oll, wedi digio wrth ei phlant, ac wedi penderfynu yn mhob rhyw fodd eu lladd? Mae hi yn taflu marwolaeth i fyny o'i hymysgaroedd, ac yn llosgi dinasoedd yn ulw; y mae hi yn agor ei safn ac yn llyncu eraill yn fyw i uffern. Mae hi fel pe bai wedi penderfynu lladd ei phlant i gyd. Mae weithiau yn chwythu y tân, a phrydiau eraill yn crynu ac yn ysgwyd, nes y mae seiliau y dinasoedd a'r caerau cedyrn yn syrthio. Am ba beth y gallwn obeithio ar y ddaear, os yw y ddaear ei hun yn beryglus? Os ydyw sylfeini y ddaear yn siglo, beth a all sefyll? Os ydyw y ddaear, yr hon a wnawd yn ddiysgog, yn symud, yn mha le y gallwn gael noddfa? Pe byddai pen y tŷ yn siglo, gallem gael noddfa mewn rhyw le arall; eithr os ydyw y ddaear oll yn myned i grynu ac ymysgwyd, i ba le y diangwn? Pan fyddo pla mewn dinas, gallwn newid ein lleoedd, a symud ymaith; ond pan y byddo yr holl ddaear yn suddo, i ba le y gallwn ffoi? Yr ydym yn agored i farwolaeth yn mhob man.

Y mae bwyd a diod, trwy ba rai y mae dyn yn byw, yn fynych yn ei ddifeddianu o'i fywyd. Gan ein bod yn rhwym o farw, nid yw o bwys mawr pa ddull y byddwn feirw; pa un ai yn gyflym neu yn araf; yn naturiol neu yn annaturiol; pa un ai trwy ein taro â chareg fechan, neu drwy ein cuddio o dan fynyddoedd mawrion. Ond y pwnc mawr ydyw

i ni gael ein bywydau ysbrydol a thragywyddol wedi eu cuddio gyda Christ yn Nuw. Mae dy fywyd naturiol yn ymgrogi wrth beth mor fach ag edafen sidan; fel y dywedais o'r blaen, nid oes yr un drws yn gallu cauad yn erbyn angau; fe ddaw mewn er i bawb wneyd eu goreu i'w gadw allan; fe â i mewn lle nad yw y gwynt yn gallu myned. Mae serchiadau yr enaid a thueddiadau y corph wedi dyfod yn brif-ffyrdd i angau i yru ei gerbyd marwol ar hyd-ddynt. Bu farw Homer o alar, bu farw Sophocles o lawenydd; mae llawer yn marw o ofn, o gasineb, o genfigen, ac o gariad. Pan glywodd Dionysius am frwydr a enillodd ei fyddin, efe a fu farw o lawenydd. Mae rhai wedi marw yn y *ball* wrth ddawnsio, eraill gyda'r *billiards*, eraill yn y puteindy yn nghanol eu godineb; fel y gwr o Israel a'r Midianees, y rhai a laddodd Phinees yn nghyflawniad eu pechodau, Num. xxv. 8; rhai yn y tafarn yn meddwi, ac eraill yn gwledda a gloddesta. Mae gofid disymwth, neu lawenydd disymwth yn fynych yn gwysio i mewn angau disymwth. Mae yn rhyfedd na bai ychwaneg o farw disymwth, pan ystyriwn mor annuwiol ac aflywodraethus y mae dynion yn byw. Nid ydych wedi eich gwneyd o haiarn neu bres, ond cnawd tyner a brau. Mae yr awrlais yn treulio allan o'r diwedd, er ei wneyd o'r defnyddiau celyd hyn; a phan y mae un olwyn yn tori, y mae yr holl beiriant yn ymatal. Y peirianwaith sydd yn nghorph dyn sydd yn fwy cywraint, ac y mae y defnyddiau yn dynerach, ac yn haws eu dryllio. Nid yw y giau wedi eu gwneyd o ddur, na'r gwythienau o bres, na'r ymysgaroedd o haiarn. Gall y galon neidio o'i lle mewn moment, neu fe all wythien dori mewn eiliad, a dyna yr holl beiriant yn ymatal, a'r dyn yn marw mewn tarawiad amrant. Y mae yn syndod nad yw y peiriant hwn wedi ei ddryllio yn chwilfriw er ys llawer dydd. Pe baem yn gallu gweled i mewn i ni ein hunain, a deall y peirianwaith, fe allai y gwelem rywbeth bach o'i le, er ein bod yn teimlo yn weddol iach, sydd yn ddigon i ddryllio yr holl gyfansoddiad cyn y fory. Bydded i ni grynu yn ein lle, canys ni wyddom beth all ddygwydd cyn pen awr. O Arglwydd, cymer drugaredd arnom, a dysg ni i "gyfrif ein dyddiau."

Y mae yr awyr yn yr hon yr ydym yn cael ein hanadl yn angau; yr ydym yn sugno marwolaeth wrth anadlu. Y gwynt ystormus hefyd sydd yn lladd miloedd ar dir a môr wrth guro arnynt yn allanol. Y tân hefyd, yr hwn sydd mor

ddefnyddiol, sydd yn lladd miloedd o breswylwyr y ddaear hon. Y dwfr hefyd, yr elfen annhrugarog hono, y fath ddystryw y mae wedi ei wneyd ar fywyd dynol. Mae holl elfenau y greadigaeth yn ddinystr i'w thrigolion; y mae angau yn mhob peth. Mae y ddaear yn ddig wrth ei phlant, ac yn penderfynu eu llyncu hwynt iddi ei hun. Trowch eich golwg i Lisbon, a llawer o leoedd eraill, a chewch weled y ddaeargryn yn llyncu yn fyw; trowch eich golwg i Waterloo, a gwelwch y cleddyf dinystriol yn goch gan waed. Och! y mae trueni dyn yn fawr; y mae yn rhodio mewn gwagedd; tarth yw yr einioes; y mae ei "ddyddiau fel cysgod yn myned heibio." Ond os ydyw y byd yn gwgu arnaf, os yw yn rhaid i mi gyfarfod â chroesau a gwrthwynebiadau, os caf fy chwythu yma a thraw gan y gwyntoedd, os curant fi yn erbyn y creigiau, nid oes dim gwahaniaeth. Gadewch i'r byd gael ei lwybr, gadewch i'r môr mawr ymchwyddo, gadewch i'w donau cynddeiriog ruo; yr wyf yn foddlon. Ewyllys yr Arglwydd a wneler. Gadewch i wyntoedd geirwon cystuddiau chwythu, a dyfroedd gorthrymderau i guro ar fy enaid gwan; gadewch i dywyllwch a thrueni fy amgylchu, er hyny nid ofnaf. Gogoniant! "Yr wyt ti gyda mi, dy wialen a'th ffon a'm cysurant." Bendigedig fyddo ei enw yn oes oesoedd; ar ei ben y byddo y goron byth. "Nid ofnaf." Fe aiff yr ystormydd hyn heibio cyn hir, fe aiff y tonau cynddeiriog hyn yn dawel yn y man; gwasgerir y cymylau duon yma yn fuan; ni phery y trueni presenol yn faith iawn. Nid oes tragywyddoldeb o barhad mewn dim ag yr ydwyf yn ei ddyoddef yma; rhydd angau derfyn ar holl ofidiau y bywyd hwn. Diolch!

'Rwy'n canu wrth gofio'r boreu
Na welir arna'i glwy'."

Llafuriwch, fy nghyfeillion, yn fwy am fywyd tragywyddol yn y nefoedd nag am fywyd amserol ar y ddaear: cofiwch oesau tragywyddoldeb; gwna hyn eich beichiau yn y byd hwn yn ysgafn ac yn hawdd. Peidiwch ymboeni gormod tua'r byd hwn; "trysorwch eich trysorau yn y nef." Na ddymunwch yn eich bywyd ogoniant ac anrhydedd oddiwrth y byd hwn wedi i chwi farw, trwy gael eich enwau yn gerfiedig ar ryw gofadail ardderchog; canys ni wna hyny ddim ond gwneyd enw yr annuwiol yn fwy cywilyddus; gadewch iddo bydru, a pheidiwch dyweyd celwyddau uwchben ei fedd. Ac am y duwiol, y mae ei enw ef yn ysgrifenedig yn y nefoedd, mewn man mwy dyogel nag ar geryg llwydion ac

adfeiliedig y ddaear hon. Peidiwch chwenychu cysylltu eich henwau â'r ddaear hon yn fyw nac yn farw. "Gwagedd yw hyn hefyd." Argreffwch eich enwau mewn anfarwoldeb, cysylltwch hwynt â phethau a fydd byth mewn harddwch a gogoniant. Paham yr ymdrafferthwch i ymgysylltu â'r byd presenol? nid ydyw hyny ond ychwanegu gloes y datod; canys y mae yn rhaid ymadael. Fe allai ei fod yn addaw llawer, ond fe'th edy rhyw ddydd heb dalu ei addewidion. Mae y byd fel mul Absalom, yn gadael ei farchogydd i ymgrogi rhwng nefoedd a daear, wedi ei wrthod gan y ddau; ac yna y mae yn ysglyfaeth gan dywysog llywodraeth yr awyr. O Arglwydd, gwared fi rhag ymgysylltu â dim, nac ymogoneddu mewn dim y tu yma i'r nefoedd.

Taith ydyw y byd hwn; ac y mae perygl rhag i'r teithwyr gael eu cymeryd i fyny â'r blodau ar hyd y ffordd, nes y maent yn annghofio y diwedd. Mae hi yn myned yn nos ar lawer heb yn wybod iddynt, wrth ymddifyru gyd a'r blodau sydd yn tyfu o gwmpas y llwybr, ac yna y mae yn ddyryswch tragywyddol. Mae ffordd bywyd yn wahanol i ffordd y teithiwr yn hyn; nid ydyw yn ffordd o ddewisiad, ond o orfod. Mae yn debyg i ffordd y condemniedig yn cael ei arwain i'r dienyddle. Rhyw ffordd ydyw sydd yn debyg i'r ffordd o'r carchar i'r crogbren. Yr wyt wedi dy gondemnio i farw, ac yr wyt ar y ffordd o'r carchar i'r dienyddle. Paham yr wyt yn meddwi, yn tyngu, yn cellwair, ac yn chwerthin wrth gael dy arwain i'r crogbren? Mae dyn condemniedig o dan gyfraith y tir yn llawn arswyd wrth gael ei arwain ar hyd y ffordd o'r carchar hyd y cortyn; y mae yn llesmeirio wrth esgyn i fyny y grisiau at y pren: y mae ei wyneb yn welw, a'i wefusau yn crynu, a'i liniau yn rhy wan i'w gynal pan yn sefyll ar y *drop*. Mae y meddwl wedi ei lanw â braw, y mae ofn angau wedi syrthio arno; nid ydyw yn meddwl yn bresenol am ddim yn y byd ond marwolaeth. Bobl, yr ydych wedi eich condemnio i farw, yr ydych yn sefyll ar y *drop* y fynyd hon; pa fodd y gellwch fod yn anystyriol? Mae miloedd yn Nghymru yn awr yn tyngu, yn cablu, yn chwerthin, yn meddwi, ïe, yn yfed iechyd da ar y *drop;* byddant wedi dyferu i dragywyddoldeb o ganol eu rhialtwch. O bechaduriaid, diangfa, diangfa. Y Duw anfeidrol, tywallt dy Ysbryd ar y wlad; "achub yn awr, pâr yn awr lwyddiant," onide hi fydd yn rhy ddiweddar i filoedd. Maent yn sefyll ar y *drop*

yr awr hon, a'r cortyn yn barod am y gwddf. Bechaduriaid, crynwch; ystyriwch eich diwedd.

Y mae angau yn cael ei gydmaru i leidr, yr hwn a'n hysbeilia nid yn unig o'n meddianau, ond hefyd ein bywydau. Pa farsiandwr fyddai mor ffol a llwytho ei long â thlysau gwerthfawr, os byddai yn gwybod mai soddi a wnai cyn cyrhaedd y porthladd? Yr wyt ti i suddo yn angau, a'r cwbl a feddot; y mae hyn yn ddigon sicr wrth gychwyn, am hyny paid llwytho dy hun â thlysau y byd hwn. Mae ychydig o geryg a phethau cyffredin yn *fallast* yn burion; ond paid gorlwytho dy hun â gormod o fasnach a gormod o ofalon; chwant enill, ac ofni colli; pethau nad ydynt angenrheidiol, ond yn hytrach yn ddinystriol. Ymofynwch ryw beth na chollir yn nglyn marwolaeth. Yr wyf yn cofio, pan yr oeddwn yn eistedd mewn tŷ yn ddiweddar, i fachgen gwirion ddyfod heibio, a throdd i ddrws y tŷ, a gwaeddodd allan yn sydyn fel y canlyn:—"Y mae llyn gyda ni yn Llangors; y mae llawer wedi myned yn llongddrylliad yno erioed; ond am danaf fi, nid âf yn llongddrylliad byth; nid oes genyf ddim i golli." Y mae llyn, fy nghyfeillion, rhyngom a thragywyddoldeb y mae miloedd wedi myned yn ddrylliau, ac wedi colli y cwbl; ond am danaf fi, ni chollaf ddim; nid oes genyf ddim i'w golli. Bendigedig! mae y trysor fry, y bywyd wedi ei guddio "gyda Christ yn Nuw." Elw mawr fydd colli y cwbl ar y ddaear; ond y mae yr annuwiol yn colli pob peth, ac yn dybenu â phob cysur am byth. O sefyllfa ofnadwy! Yr hwn mewn bywyd oedd yn rhy fawr i droi yn ei balas, sydd yn awr yn cael ei gynwys yn dawel mewn chwech neu saith troedfedd o dir; yr hwn oedd yn arfer gorwedd ar y gwely plyf goreu, sydd yn awr yn gorwedd yn y pridd yn fwyd i bryfed, ac esgyrn y meirw oedd yno o'i flaen yn obenydd iddo. Yr hwn gynt fu yn ymogoneddu yn ei arfau, ei wroldeb, a'i bleserau cnawdol, sydd yn awr yn gorwedd yn y bedd oer a dystaw, a'i draed a'i ddwylaw yn llonydd, heb allu eu cyffro. Yr hwn gynt yn malchder ei galon oedd yn anfoddlon heb allu sathru pawb o dan ei draed, sydd yn awr yn cael ei sathru dan draed pawb. Pe byddech yn cael golwg ar y dyn balch oedd yn ymwisgo mewn porphor a llian main, neu ferch dyner a moethus oedd yn gwisgo sidanau, ac yn rhy uchel i roi ei throed ar y ddaear, yn mhen wyth diwrnod wedi ei rhoi yn y bedd; byddai yr olwg arnynt yn ddigon i beri i bawb gilio rhagddynt. Och, pwy fyddai mor ffol a bod yn

falch byth mwy? O Arglwydd, "tro heibio fy llygad rhag edrych ar wagedd."

Y mae yr olwg druenus ar ddyn marw yn ddigon i beri i ni ffieiddio yr olwg ar degwch y byw. Gwagedd yw coronau, gwagedd yw gorseddfeinciau, gwagedd yw palasau, gwagedd yw aur ac arian, gwagedd yw gwisgoedd gwychion, gwagedd yw tegwch, ïe, "gwagedd yw y cwbl." Os yw tegwch bywyd yn demtasiwn i dy feddwl, cerdd â dy feddwl i'r bedd at y meirw i'w wella. Bu y llwch a'r lludw sydd yno y peth wyt ti yn awr; a bydd y peth wyt ti yn awr yn llwch a lludw yn fuan. Yr wyf wedi darllen am rai yn agor eu beddau o flaen eu tai, a'u cadw yn agored yn wastadol, i'r dyben o'u dysgu pa fodd i fyw. Y mae myfyrio ar angau yn ddoethineb; cofiwch o hyd eich bod i farw. Mae angau yn sicr; mor sicr a bod byd arall. Ni wnaeth yr Arglwydd gyfraith erioed yn fwy sicr a chyda llai o eithriadau, na'r gosodiad i "ddynion farw unwaith, ac wedi hyny bod barn." Pa le y mae Methusalem heddyw? pa le mae y patriarchiaid? pa le y mae Abraham, Isaac, a Jacob, Moses a'r prophwydi? Ah, y maent oll wedi marw, ac wedi myned ffordd yr holl ddaear. Hwy fuont unwaith, eithr nid ydynt mwyach. Hwy a fuont feirw. "Bu farw" fydd yr ysgrifen ar dy arch. "Bu farw" fydd yr ysgrif ar gareg dy fedd. Fe ddaw yr amser pan y bydd y llygaid hyn sydd yn edrych arnoch heddyw wedi suddo i'w tyllau, a cholli eu gweledìad: y dwylaw hyn ag ydwyf yn awr yn eu codi i fyny, wedi gollwng eu gafael ar bob peth; wedi gwywo yn y bedd, a phob teimlad wedi myned i golli. Y genau hyn sydd yn siarad â chwi heddyw, yn fuan a darewir yn fud gan ddyrnod angau; y corph hwn sydd yn fyw yn bresenol, fydd yn fuan heb anadl ynddo; y cnawd, yr hwn yr ydwyf yn awr yn ei feithrin, ei fagu, a'i borthi, fydd yn fuan yn ymborth i bryfed y llwch.

> "O ynfydrwydd! O ffolineb, imi erioed i roddi mryd
> Ar un tegan, ar un pleser welais eto yn y byd;
> Y mae'r byd yn myned heibio, a'i deganau o bob rhyw,
> Tan y nef ni thâl ei garu wrthddrych arall ond fy Nuw."

Fy nghyfeillion, yr ydych yn bresenol yn mhlith y byw, ond chwi fyddwch yn mhen ychydig wedi eich cyfrif yn mhlith y meirw. Mae yr amser gerllaw pan y bydd y corph hwn yn anmharchus ac yn ddrewedig, yn pydru yn y pentwr. Daw yr amser pan y byddwch wedi eich annghofio gan y byd, ac fe fydd dynion yn cerdded ar eich beddau yn anwybodus

o'ch enwau, ïe, heb glywed erioed eich bod wedi rhodio y ddaear. Ystyriwch hyn yn awr. Pe buasai yr Arglwydd wedi dweyd nad oedd ond un dyn i farw, byddai yn ddyledswydd ar bawb i ystyried rhag mai efe yw yr un dyn hwnw; ond gan ei fod wedi dweyd fod *pob* dyn i farw, ac fe allai tydi yn un o'r cyntaf, pa fodd y gelli fod mor ddifraw, fel pe bait i fyw byth yn y byd? Gan mai myfi yw yr hwn sydd i farw, ac fe allai i farw yn fuan, ac y byddaf yn llwch ac yn lludw yn y man; pa beth sydd a wnelwyf â'r byd hwn, ond yn unig gwneyd fy nyledswydd ynddo? Y byd arall sydd wedi ei wneyd i mi, a minau iddo yntau; nid wyf ond pererin ac ymdeithydd yma; y tragywyddoldeb mawr yw fy nghartref byth. Mae yn rhaid i mi yn fuan golli fy mywyd, ac nis gwn trwy ba ryw foddion; pa un ai trwy daran-follt o'r nefoedd uchod, neu ysgydwad o'r ddaear isod, neu ryw lwybr arall. Arglwydd, nid oes gwahaniaeth am y modd; ond yn unig caniata, pan y byddwyf yn cael fy ysgwyd o freichiau y byd, i mi syrthio i fynwes Abraham. Pan y byddwyf yn cau fy llygaid ar y ddaear, caniata, O Arglwydd, i mi gael eu hagor yn y nef. Pan y byddwyf yn colli fy ngolwg ar y byd, caniata i mi gael eu hagor gan "edrych yn dy wyneb mewn cyfiawnder." Gan ein bod yn wastad mewn perygl oddiwrth farwolaeth, gadewch i ni gael bod yn wastad yn barod i'w gyfarfod, trwy gael ran yn Nghrist, yr hwn yw yr adgyfodiad a'r bywyd." Peidiwch ymddiried mewn cyfoeth, ieuenctyd, na iechyd; a phaid addaw y fory i ti dy hun; canys y mae yn bosibl i angau dy *arrestio* di heno cyn myned i'r gwely. Am na wyddoch pa bryd y byddwch feirw, meddyliwch am hyny bob dydd. Nid oes yr un dyn mewn cyflawn arfogaeth i gyfarfod marwolaeth, ond yr hwn sydd yn ei dysgwyl bob dydd, ac felly yn wastad yn barod i'w chyfarfod. Arglwydd daionus, cymhwysa ni i'w chyfarfod a'i gorchfygu.

Y mae y Creawdwr wedi creu synwyrau ein cyrph yn ddwbl; fel, os collwn un, y mae genym un arall; nid ydym yn colli y cwbl ar unwaith wrth golli llygad neu glun. Ond un marw sydd; ac os na fyddwn farw yn dda yr unwaith hono, y mae y cwbl drosodd am byth; ni fydd dim i'w wneyd ond marw byth yn ngafael yr ail farwolaeth. Pe baech yn meddwl am ddyn anwybodus, yr hwn na arferodd erioed â'r dryll, yn cael gorchymyn i saethu at nod yr hwn sydd wedi ei osod mewn cryn bellder, ac os byddai iddo ei

daro y derbyniai wobr fawr, onide byddai iddo gael ei losgi yn fyw; pwy allai ddesgrifio pryder meddwl y dyn truenus hwnw? Nid wyf yn gwybod pa fodd y gall y pechadur fod mor ddigrifol a llawen; canys y mae heb farw, ac nid ydyw i farw ond unwaith; ac y mae tragywyddoldeb o ddrwg neu dda yn nglŷn â'r marw unwaith hyny. Os na elli daro y nod, cei dy losgi yn fyw am dragywyddoldeb. O Arglwydd, cynorthwya ni wrth farw i daro y nod; canys ni chawn byth gynyg eilwaith i farw yn well.

Arferwch eich hunain, fy nghyfeillion, i drin y bwa saeth hyn yn dda, fel pan ddelo angau y byddoch yn gwybod y ffordd i farw, ac y byddoch yn sicr o daro y nod. Y mae milwyr yn dysgu ac yn arfer saethu, er mwyn dyfod yn gyfarwydd erbyn dydd y frwydr: y maent yn arfer *sham fights* i'r dyben o ymbarotoi erbyn y *real fights;* ac os dygwydd i ymladdfa wirioneddol ddyfod, y maent yn gyfarwydd, ac mewn llawn arfau yn ddarparedig i'r frwydr. Dysged yr Arglwydd ni i farw beunydd, fel pan ddelo marw y byddom yn sicr o farw yn dda. Pan y collir yn mhethau y byd mewn un peth, y mae rhyw beth arall yn dyfod i'w guddio; neu pan y collir un flwyddyn, y mae blwyddyn arall yn dyfod i lanw y bwlch i fyny; eithr os collwn y nod yn angau, os methwn farw unwaith yn dda, dyna'r cwbl wedi ei golli am dragywyddoldeb. Yr wyf yn cofio darllen am gadben yn galw milwr yn mlaen am ryw drosedd; ond yn wyneb fod y milwr yn crefu maddeuant, ac yn addaw na wnai droseddu byth mwyach, dywedodd y cadben, "O ddyn, nid oes y fath beth a throseddu ddwywaith mewn rhyfel." O ddynion, nid oes methu ond unwaith yn angau; os cyfeiliornir unwaith wrth farw, nid oes maddeuant yn dragywydd. Marw drwg unwaith fydd yn trosglwyddo i afael y drwg byth. Mae marw unwaith yn ddrwg yn ddamnedigaeth dragywyddol: yr hyn a wnawd yn ddrwg wrth farw sydd yn anmhosibl ei ddadwneyd byth. Mae bywyd yn gadael dyn fel yr ydoedd; ac fel y mae bywyd yn ei adael y mae marwolaeth yn ei gael, ac fel y mae marwolaeth yn ei gael y mae y farn yn ei dderbyn, ac fel y mae y farn yn ei dderbyn y mae tragywyddoldeb yn ymagor a'i lyncu i fyny i annedwyddwch neu ddedwyddwch tragywyddol. Lle y mae y pren yn gogwyddo, yno y mae yn debyg o syrthio; a lle y syrth yr erys.

Bobl, onid gwagedd yw pob llafur a thrafferth a gymerir dan haul yn nghylch byw ychydig amser yn y byd hwn? Yr

ydych yn rhodio mewn cysgod; nid ydych yn gweled dim o'ch blaen. Mae angau yn eich ymyl pan yr ydych yn ysmala, ac yn tybio eich bod yn nghanol bywyd a dyogelwch. Rhyw naid ddifrifol iawn yw y naid o ganol bywyd i fro marwolaeth! Beth ddaw o'r byd annuwiol? O Dduw, "achub yn awr; pâr yn awr lwyddiant." Fy nghyfeillion, gan ein bod yn deall pwysigrwydd y naid hon, dylem gymeryd rhedfa o bell: *let us take a good run.* Dylem ddechreu gyda chychwyniad ein bywydau yn y byd. "Mae yn gywilydd," ebe un philosophydd, "i ddyn rhesymol ddywedyd gyda'r ynfyd, 'Nis gwn' am bob peth." Dylech wybod; y mae yn hawdd i chwi wybod, ond ystyried. Beth dâl dywedyd wedi iddi fyned yn rhy ddiweddar, "Nid oeddym yn gwybod fod cymaint o wahaniaeth rhwng y cyfiawn a'r drygionus, nid oeddym yn gwybod fod bywyd mor fyr a thragywyddoldeb mor faith, nid oeddym yn gwybod fod bywyd fel cysgod, a thragywyddoldeb yn yr ymyl." Mae miloedd yn awr yn uffern a wastraffasant eu mynydau, ïe, eu blynyddoedd gwerthfawr gyda gwegi, a fyddent yn foddlon i dreulio miloedd o flynyddoedd yno, ond cael addewid o un fynyd ar y ddaear i ymdrech am adferiad trwy gredu yn Nghrist. Yr wyt ti, fy enaid, nid yn unig yn gwastraffu mynydau, eithr oriau, dyddiau, a blynyddau, heb wneuthur dim ond casglu tanwydd i dy losgi byth mewn trueni. O Dduw, cymer drugaredd ar y bobl yma; y mae y rhan fwyaf o honynt trwy y blynyddau yn casglu defnydd tân anniffoddadwy. Yr ydych yn casglu defnydd eich trueni wrth rodio mewn gwagedd; eithr fe fydd eich uffern yn sylweddol.

Arswyda, bechadur, rhag i ti fyned trwy ddydd gras heb ran yn Iesu Grist. O ynfydrwydd, O ffolineb, O wagedd, yw gweled dynion yn treulio amser gwerthfawr i gasglu teganau, ac yn esgeuluso perlau a thlysau tragywyddoldeb! Nid yw yr amser i gasglu ond byr, a'r hyn a gesglir ond gwagedd; ac yn darfod mewn tarth a mwg. Trysorwch yn eich amser byr drysorau a bery i dragywyddoldeb. Mae dyn yn "rhodio mewn gwagedd pan fo ar y goreu;" nid yn unig mewn babandod, ieuenctyd, a henaint, ond hefyd mewn canol oed, y tymhor goreu arno; pan y mae ei wybodaeth a'i brofiad mewn llawn addfedrwydd. Gwagedd ydyw; nid yn unig pan y mae yn glaf, ond hefyd yn nerth ei iechyd; nid yn unig pan fyddo yn dlawd, ond pan fyddo yn gyfoethog hefyd; nid pan fydd mewn galar, ond pan fyddo yn nghanol y llawenydd

mwyaf; nid pan fyddo mewn gwarth, eithr yn nghanol yr anrhydedd penaf, ar ben pinacl bri a gogoniant; nid pan fyddo yn marw, eithr yn nghanol bywyd. Mae yn rhodio mewn gwagedd yn ei fanau goreu; a gwagedd yw y cwbl sydd yn perthyn iddo, ond cymaint o lafur a gymerodd yn nghylch tragywyddoldeb.

Dewch yn awr gyda mi, ac edrychwch ar y foment ddiweddaf. Y foment ddiweddaf! O, y foment ofnadwy! Y foment sydd yn ddiwedd amser, ac yn ddechreu tragywyddoldeb. O fymryn i'w ofni fwyaf! Pa gynifer o bethau pwysig sydd i'w penderfynu ynot ti? Y pryd hwnw y bydd yn rhaid i mi roddi cyfrif o'm goruchwyliaeth, a sefyll yn unigol o flaen fy Marnwr. O foment ddifrifol, mor ofnadwy yw meddwl am danat! Tydi yw porth tragywyddoldeb; porth byd o ddyeithrwch ac o arswyd yn fynych i fy enaid gwan; porth sydd yn peri i mi lesmeirio wrth feddwl myned trwyddo; porth yn yr hwn y byddaf yn cyfarfod â'm Barnwr. Bechadur anedifeiriol, dyma y porth y byddi dithau yn cyfarfod â'th Farnwr hefyd, y pryd y gesyd efe holl bechodau dy oes ger bron dy wyneb yn eu holl ysgelerder dychrynllyd. Pa beth a wnewch yn nydd yr ymweliad? Dyma y foment fydd yn rhoddi cychwyn ar drueni tragywyddol neu ddedwyddwch tragywyddol pob dyn. Y fath gyfnod bychan sydd yn y canol rhwng amser a thragywyddoldeb, yn yr hwn y penderfynir aneirif o bethau pwysig mewn cysylltiad â chwi a minau. A bydd yr oll a benderfynir yn derfynol; nid oes yr un llys i apelio ato. *This is the last court of appeal.* O foment i'r hon y mae pob moment arall yn rhedeg! O foment, yr hon nad ydyw amser na thragywyddoldeb ond rhyw *link* sydd yn cysylltu y ddau â'u gilydd! O foment gyfyng, O borth cul! eto y foment eangaf ei harwyddocad. Dyma y foment y mae nefoedd a daear yn ffoi am byth oddiwrth filoedd; ac os ffy nefoedd a daear oddiwrthych, beth fydd gyda chwi wedi hyny? Pa faint a roddai y pechadur y foment hono am un foment arall, i gael anfon un deisyfiad i'r drydedd nef? O mor ofnadwy, dychrynllyd, a thorcalonus y bydd arnat, bechadur, y foment y bydd y nefoedd a'r ddaear yn dy adael wrthyt dy hun, a dy wrthod am byth! Byddi yn cael dy wrthod gan bob peth y ddaear, dy wrthod hefyd gan yr angylion, dy wrthod gan y Gwaredwr, dy wrthod gan Geidwad y byd; ïe, y mae yr iachawdwriaeth a wrthodwyd yn awr yn dy wrthod dithau. "Wel, os ydyw pawb yn ei

wrthod, beth ddaw o hono mwyach?" Na; mi welaf un yn ei dderbyn. Y mae satan yn dyfod yn y blaen, ac yn cymeryd meddiant llwyr a thragywyddol yn yr adyn truenus; yn cydio ynddo, yn ei rwygo, rhwygiad ar rwygiad, ac yn ei hyrddio i'r fflamiau tragywyddol, a dyna fwg ei boenedigaeth yn dyrchafu i fyny yn oes oesoedd. Fy enaid, am na wyddost pa bryd y bydd y foment olaf, paid oedi un foment yn hŵy.

O, y foment ddedwydd i'r cyfiawn! Caiff ryddhad o garchar, a gorphwysfa dragywyddol yn y nefoedd oddiwrth ei holl boenau. Henffych y foment! ni gawn fynedfa i mewn i dragywyddol deyrnas yr Arglwydd; ni gawn dderbyn ein gwobr, a gorphwys oddiwrth ein llafur yn yr aneddau llonydd. Ansicr ydyw pa bryd y daw, ond y mae yn ddigon sicr na fydd moment byth mwyach; am hyny edrychwch ar bob moment fel pe byddai y foment hono.

Y mae tri pheth ofnadwy yn cyd-gyfarfod yn y foment hon, y rhai a wnant i'r pechadur grynu a llesmeirio. 1. Tyniad yr enaid allan o'r corph. 2. Ei osod i sefyll yn unigol o flaen Barnwr hollwybodol. 3. Cyhoeddiad y ddedryd farwol uwch ei ben. Mor ddychrynedig, gan hyny, y rhaid fod y foment hon, pan y bydd pethau mor aruthrol bwysig a hyn yn cymeryd lle ynddi. Gosod dy hun yn y foment hon yn fynych yn ysbaid dy holl fywyd, ac edrych o honi fel o dŵr uchel, ar y ddau fyd. Cymer olwg o honi yn ol ar fyd o amser a byd o wagedd, ac yn y blaen ar fyd o dragywyddoldeb a byd o sylwedd. Oddiyma ystyria yn ddifrifol dy sefyllfa yn y byd hwn, a pha fodd y bydd yn debyg o droi allan yn nhragywyddoldeb. Saf yn y foment hon, ac oddiyma ymddengys mil o flynyddoedd o bleserau pechadurus ond megys awr; ac fe ymddengys awr o losgi mewn tân a brwmstan megys mil o flynyddoedd. Edrychwch yn ol eto ar amser o'r tŵr hwn, a phwyswch ei holl drafferthion a'i wagedd yn nghlorianau ac wrth bwysau tragywyddoldeb; a mesurwch ef â llinyn y byd diddiwedd; ac fe ymddengys yn wynt a gwagedd, yn fyr ac yn ddyddim. O foment yr hon wyt yn tori edau amser, ac yn dechreu gwau gweoedd tragywyddoldeb! Bydded i mi gael fy narparu i gyfarfod â'r foment hon, y pryd y byddaf yn gorphen amser, ac yn cychwyn ar dragywyddoldeb. Yr oedd y philosophyddion paganaidd yn dywedyd fod marwolaeth yn beth arswydus o herwydd ei fod yn rhoddi terfyn ar y bywyd dynol; ond beth pe buasent yn

gwybod ei fod nid yn unig yn dybenu bywyd, ond hefyd yn dechreu tragywyddoldeb? pa beth y buasent yn dyweyd yn wyneb hyny?

Os ydyw angau mor ofnadwy o herwydd ei fod yn rhoddi terfyn ar amser, y mae yn rhaid ei fod yn llawer mwy ofnadwy gan ei fod yn agor byd tragywyddol o'n blaen. Mae cyfrif am y gweithredoedd a wnawd mewn amser yn dechreu; mae angau yn gosod y byd i sefyll y tu draw i'r llen o flaen y Barnwr cyfiawn. Nid yw ymadael â'r byd ddim y filfed ran mor ddychrynllyd a gorfod sefyll o flaen y Duw a wnaeth y y byd, i gael ein barnu. Y mae yn wir fod angau yn ddychrynllyd ar lawer ystyriaeth; eithr yr ystyriaeth bwysicaf yw gorfod sefyll prawf yr ochr draw. "Wedi hyny bod barn." O bechadur, pa fodd y gelli edrych yn wyneb y Barnwr digllawn? Bydd ei ymddangosiad mor ddychrynllyd, nes y byddaï yn esmwythach i'th deimladau oddef unrhyw boenau yn hytrach na gorfod sefyll yn ei wyneb. Amser o gyfiawnder fydd hwn, nid amser o drugaredd; dydd cyfiawnder, nid dydd gras. Mae amser i ddatguddio ac eglurhau yn gyflawn bob un o'r ddau. Mae dydd gras wedi dadblygu goruchwyliaeth gras o flaen y byd, ac y mae yn rhaid bod dydd barn i ddatguddio cyfiawnder yn gyflawn hefyd. Mae y Bod anfeidrol yn estyn teyrnwialen trugaredd allan yn awr; eithr yn y dydd hwnw bydd wedi ymarfogi yn erbyn gwrthodwyr trugaredd. Nid teyrnwialen fydd yn ei law mwyach, ond cleddyf dysglaer cyfiawnder; y mae yn cael ei hogi yn bresenol, ond yn angau bydd yn ei gyflawn awch, pryd y dechreua dori y pechadur truenus yn llaprau. Meddyliwch fod afon wedi cael ei hatal yn ei rhedfa am ddeng mlynedd ar ugain; byddai yn anhawdd dirnad pa gymaint o ddwfr fyddai wedi ymgasglu yn ystod yr amser hyny; a phwy hefyd allai ddirnad nerth y fath gorph dirfawr o ddwfr pan dorai allan, gan fyned â'r cwbl o'i flaen? Ysgubai drefydd a dinasoedd, ïe, gwledydd cyfain, yn ddirwystr o'i flaen. Y mae cyfiawnder Duw yn cael ei gydmaru i afon o dân, yr hon sydd wedi bod yn ymgasglu deg ar ugain, ïe, triugain o flynyddoedd; ac y mae erbyn heddyw wedi myned yn rhy drwm i'r cloddiau sefyll: hi fydd wedi cario y cwbl o'i blaen cyn pen nemawr o fisoedd eto, ac wedi myned â'r pechadur, druan, o'i blaen i'r eigion tragywyddol. "Edrychais hyd oni fwriwyd i lawr y gorseddfeydd, a'r Hen ddihenydd a eisteddodd: ei wisg oedd cyn wyned a'r eira, a gwallt ei ben

fel gwlan pur, ei orseddfa yn fflam dân, a'i olwynion yn dân poeth. Afon danllyd oedd yn rhedeg, ac yn dyfod allan oddi ger ei fron ef: mil o filoedd a'i gwasanaethent, a myrdd fyrddiwn a safent ger ei fron; y farn a eisteddodd, ac agorwyd y llyfrau," Dan. vii. 10, 11. O fy Nuw, pa beth a ddaw o annuwiolion ein byd pan bydd yr afon danllyd hon yn cael ei gollwng yn rhydd? "Pwy a saif pan enyno ei lid ef?" Pwy a saif yn nydd mawr ei ddigter ef? Pa faint o bobl y Casnewydd, pa faint o drigolion Mynwy fydd yn sefyll y diwrnod ofnadwy hwnw? "O na bai fy mhen yn ddyfroedd, a'm llygaid yn ffynonau o ddagrau, fel yr wylwn ddydd a nos am anwireddau merch fy mhobl." Arglwydd mawr, trugarha wrthym.

Bydd golwg ofnadwy ar Dduw y dydd hwnw, pan yr ymddengys fel dialydd trugareddau. Mae y barnau yn disgyn yn drymach o herwydd gwrthod trugareddau. Bechadur, hen wrthodwr trugaredd faddeuol y Nefoedd, pwy a gymer dy blaid? Neb. Bydd pawb yn dy erbyn; ni fydd gan neb ddim i ddweyd yn erbyn dy ddamnio; y mae dy fater yn ddigon eglur: o flaen llygaid y Barnwr yr ydwyt wedi cyflawni dy holl ffieidd-derau. Bydd dy gydwybod dy hun yn dy erbyn, a bydd satan wedi troi yn gyhuddwr; ac fe allai yr angylion hefyd. O farn ofnadwy, pryd y bydd pawb yn dystion yn dy erbyn, a neb o dy blaid. O sesiwn rhyfedd! Y pethau hyny y darfu i'r pechadur feddwl fuasai o'i blaid ydynt i gyd yn troi yn ei erbyn. Y mae yr hen hunangyfiawnderau yn troi allan yn druenus: O gywilydd fydd ymddangos o flaen y Barnwr yn y fath garpiau ffiaidd! Pe gosodid un o'th bechodau lleiaf—a gadael y mwyaf yn llonydd—yn ei holl ysgelerder dychrynllyd o flaen dy feddwl, byddit wedi darfod son am nefoedd trwy dy gyfiawnder dy hun. Pe gwelit dy bechod fel y mae yn erbyn Duw yn Drindod o bersonau, fel y mae y Personau gogoneddus wedi eu clwyfo ganddo, a'th enaid dy hun wedi ei ysbeilio o'i holl brydferthwch, fel y mae yn erbyn rheswm, cyfraith, a'r efengyl, nis gellit byth ymddiried mewn dim o'r eiddot dy hun. Mae yn rhaid cael y cwbl o'r newydd, neu farw byth mewn pechod. Beth dâl i chwi son am hunan-gyfiawnderau? pe byddech yn euog ond o un pechod, a'r pechod hwnw yn un o'r rhai lleiaf a gyflawnasoch erioed, y mae yn ddigon i'ch damnio byth; ïe, damnio yr holl fyd. Ymaith am byth â'ch

hunan-gyfiawnderau, canys y maent yn damnio dynion wrth y miloedd yn yr oes hon.

Y mae pechod yn ddrwg rhy fawr i'w symud ymaith oddiar y pechadur trwy unrhyw foddion ond "gwaed Iesu Grist ei Fab ef." Yn mhob man lle y mae daioni a thrugaredd y Duw anfeidrol yn ymddangos, y mae pechod yn taflu dirmyg ar hyny. Mae yn dirmygu y Creawdwr yn ngwaith creadigaeth. Pe bai genyt ond un llaw, mor ddiolchgar y byddit yn teimlo i ryw un a allai rhoi llaw arall i ti. Paham na ddiolchit i Dduw am ddwylaw, traed, llygaid, clustiau, corph ac enaid, a'r cwbl sydd genyt mewn trefn? Nid yn unig yr wyt wedi cael bod, ond hefyd wedi cael y bod goreu sydd yn y greadigaeth yr wyt yn perthyn iddi. Nid bod o angenrheidrwydd ond o drugaredd yr wyt wedi ei gael. Pe byddai cant yn taflu coelbren am ryw swydd anrhydeddus, mor ddedwydd y cyfrifai yr enillwr ei hun! Yr ydwyt ti wedi dy greu yn uchel; yr ydwyt yn arglwydd yn nghanol y greadigaeth, yr ydwyt wedi dy greu â'r goron ar dy ben, a'r deyrnwialen yn dy law i lywodraethu yn nghanol holl anifeiliaid y maes; ac eto yr wyt yn cablu dy Greawdwr wrth fwynhau y rhagorfraint. Yr wyt wedi cael enaid â delw Duw arno yn moreu y greadigaeth, a rhoddodd ei hun i ti yn brif ddyben, ac yn berffaith ddedwyddwch. Ac er dy fod wedi pechu yn ei erbyn, y mae heb dy dori i lawr a'th fwrw i uffern hyd yr awr hon. Mae wedi tori rhai i lawr gyflawnodd lai o bechodau na thi, ac y maent yn dyoddef o'u plegyd yn uffern yr awr hon: dyna yr hyn a haeddodd dy bechodau dithau, eithr y mae efe yn ei drugaredd anfeidrol wedi dy arbed. Maent hwy heb feddyginiaeth am byth, eithr y mae efe yn dy alw di i edifeirwch hyd yn hyn, ac yn addaw maddeuant o'r holl bechodau.

Yr ydwyt yn nyled Duw am dy greu ac am dy gynal; ac nid wyt yn deilwng o'r cymeriad o ddyn, os nad wyt yn ei addoli, ac yn teimlo yn ddiolchgar iddo. Yr ydwyt yn fwy eto mewn dyled; yr ydwyt dros dy ben mewn dyled i ras am dy arbed cyhyd, ac am barhau i alw ar dy ol hyd yr awr hon. Os nad wyt yn ddiolchgar yn wyneb yr holl ddaioni hyn, nid yn unig yr ydwyt yn annheilwng o'r enw dyn, ond yr wyt yn deilwng o'r enw cythraul yn nghroen dyn. Yr wyt yn rhodio mewn gwagedd yn y byd, ac yn dibrisio sylweddau tragywyddoldeb. Mae Duw wedi danfon ei Fab i'r byd i

brynu pechaduriaid, wedi rhoddi ei air, wedi danfon ei weision i bregethu yr efengyl, ac wedi addaw ei Ysbryd i argyhoeddi a dyddanu, ac arwain trwy yr anialwch. Pa beth oedd yn bosibl iddo wneyd yn ychwaneg? Gallesit ti wneyd yn well iddo ef, ond ni wnaethost. Cei dy alw i gyfrif nid yn unig am dy fywyd dy hun, ond hefyd am ddiystyru bywyd ac angau yr Arglwydd Iesu. Mae y llofrudd yn crynu, er nad yw ond wedi lladd dyn drwg. Ti fyddi yn crynu o flaen y fainc am lofruddio y Cyfiawn, gan i ti wrthod Mab Duw yr Iachawdwr. Yr ydwyt yn barnu gwaed Crist yn beth aflan, pris a gwerth yr hwn sydd yn anfeidrol.

O, fel y bydd yr hwn oedd yn gryf yn dirmygu y groes yn crynu ger bron yr orseddfainc! Yn wyneb fod yr Arglwydd wedi rhoddi haul, lloer, awyr, dwfr, a phob daioni arall sydd yn angenrheidiol i fywyd a chysur, nid ydwyt yn gwneyd dim ond defnyddio yr holl ddaioni hyn i ymladd yn ei erbyn. Bydd bron cywilydd ar satan i arddel dyn annuwiol yn nydd y farn, hyd nes y caiff ef i'r pwll tywyll; yna bydd yn hyf i gymeryd meddiant arno. Bydd satan yn dywedyd wrth Dduw, "Ti greaist yr adyn yna er dy fwyn dy hun; ac wedi iddo bechu ti ddanfonaist Geidwad i'r byd er mwyn ei achub, yr hwn a fu fyw mewn trafferthion a gofidiau, ac a fu farw ar bren. Am danaf fi, nid wyf wedi gwneyd dim drosto ond ceisio ei suddo i drueni byth, a'i gloi yn dragywyddol mewn cell yn uffern; eto myfi y mae yn ei garu, myfi y myn wasanaethu. Mae yn well ganddo fy ngwasanaeth i heb wobr, na dy wasanaeth di â gwobr dragywyddol yn nglŷn â hi; ïe, y mae yn well ganddo fy ngwasanaeth i, er cael angau yn gyflog, na dy wasanaeth di, er cael bywyd tragywyddol yn wobr. Mae bron cywilydd arnaf i gael dim i wneyd â'r fath ynfytyn, a'r fath adyn diegwyddor. Ond gan ei fod yn fy ngharu yn fwy na thydi, gâd iddo fod yn eiddo i mi; gwneir rhyw beth o hono yn y tywyllwch eithaf." Y mae y Barnwr yn dywedyd, "Y mae wedi rhoddi ei hun i ti mor fynych, cymer ef i dân a brwmstan i dragywyddoldeb."

Wel, fy nghyfeillion, dyma y foment y mae y byd yn darfod, a pha beth yw dyn gwell o'r holl lafur y mae wedi ei gymeryd dan haul? Wele, y mae yn gadael y cwbl ar ol; y maent oll yn bethau meirwon iddo mwyach. Beth yw dyn gwell o gyfoeth, ac yntau yn gadael y cwbl ar ol? Beth yw gwell o dderbyn anrhydedd y byd, pan y mae yn ei adael am

byth? Y mae y cwbl yn awr fel pe na byddai, a'r "dyddiau fel cysgod wedi cilio." Ysgrifenwch enwau yr annuwiol mewn pres, hwy a bydrant byth serch hyny. Am hyny "rhoddwch eich serch ar bethau sydd uchod, ac nid ar bethau sydd ar y ddaear." Mae angau *un* dyn yn ddychrynllyd; ond beth yw hyny? y mae angau pob dyn yn agos. "Diwedd pob peth a nesaodd; am hyny byddwch sobr a gwyliadwrus i weddiau." Trowch oddiwrth oferedd; diangwch o dan adenydd Duw tragywyddoldeb cyn i'r cysgod fyned heibio.

# PREGETH XX.

## Y MEDDYG ANFFAELEDIG.

**"A'r Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrthynt, Nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg, ond i'r rhai cleifion," Luc v. 31.**

Y MAE y geiriau hyn yn cael eu llefaru mewn atebiad i rwgnachrwydd yr Iuddewon; yn benaf yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid. Yr oeddynt hwy yn ystyried eu hunain yn rhy lân i ymgymysgu gyda'r publicanod a'r pechaduriaid, ac yn cyhuddo yr Arglwydd Iesu o bechod o herwydd gwneyd hyny. "Paham yr wyt ti yn bwyta ac yn yfed gyda phechaduriaid? Y mae pawb sydd yn ymgymysgu â'r cyfryw yn cyfranogi o'u hanwiredd." "Na," ebe Crist, "yr wyf fi yn meddwl eu gwella hwynt; nid oes dim ynof fi i gymeryd y dolur oddiwrthynt; eithr y mae rhyw beth ynof i'w gwella hwynt. Mae yn rhaid i'r *doctor* fyned at y cleifion yn mhob sefyllfa, ac nid ofni a chilio oddiwrthynt. Eithr am danoch chwi, yr ydych yn iach; o leiaf yr ydych yn tybio eich hunain felly, fel nad ydych yn teimlo un angenrheidrwydd am feddyg: yr ydych chwi yn gyfiawn, nid oes arnoch eisiau cyfiawnder y Messiah; yr ydych chwi yn rhyddion, nid oes arnoch eisiau Gwaredwr; yr ydych chwi yn lân, nid oes arnoch eisiau ffynon i'ch golchi: yr ydych chwi yn ddifai, nid oes arnoch eisiau maddeuant pechodau." "Nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg, ond rhai cleifion."

Y mae yr Arglwydd Iesu, yn y testun, yn edrych ar bechod o dan y gydmariaeth o glefyd marwol; ac yn edrych arno ei hun yn feddyg anffaeledig gogyfer â'r clefyd hwn. Ni gawn ninau edrych ar bechod, a gwneyd rhai sylwadau arno o dan y gydmariaeth hono. Clefyd enaid yw pechod; ac y mae clefydau yr enaid yn fil gwaeth na chlefydau y corph. Mae dyfodiad pechod i'r byd wedi gwneyd y natur ddynol yn anufudd; y mae llygredigaeth yn haint sydd wedi ymledu trwy yr holl deulu, a marwolaeth yn ei ganlyn yn anwrthwynebol. Yr oedd dyn yn ei greadigaeth yn iach, yn heini, ac yn anfarwol; yn berffaith mewn tegwch, ac yn ardderchog mewn gogoniant. Yr oedd ei lygaid yn bur ac yn syml, ei galon yn santaidd a glân, a'i serchiadau wedi eu gosod mewn hwyl nefolaidd â bysedd Duw ei hun; yr oedd y cwbl mewn cydgordiad perffaith ag ewyllys y Goruchaf. "Gwnaeth Duw ddyn yn uniawn." Yr oedd yn bleser hyd

y nod gan yr angylion i edrych gyda syndod a rhyfeddod ar *masterpiece* y greadigaeth, y brenin newydd, ac ymerawdwr yr holl ddaear; *the sole monarch of the globe*, wedi ei "goroni â gogoniant ac â harddwch." Ond och o'r diwrnod! trwy fwyta ffrwyth y pren gwaharddedig syrthiodd y dyn, collodd yr ymerawdwr ei lywodraeth; "syrthiodd ei goron oddiar ei ben," a dacw ef yn awr mewn dyfnder erchyll; lle y buasai ef a'i hiliogaeth yn marw byth, oni buasai i'r Nefoedd gael allan ffordd o waredigaeth a meddyginiaeth.

Yn bresenol, fy nghyfeillion, ni gawn wneyd rhai sylwadau ar bechod dan y gydmariaeth o glefyd.

I. Y mae tebygolrwydd yn y dull o'i dderbyniad.

1. Y mae clefydau yn cael eu dal, neu yn cydio yn y cyfansoddiad, o herwydd esgeulusdod. Mae dynion yn cael anwyd trwy dynu eu dillad, a rhoi eu hunain mewn dull anmhriodol yn agored i'r tywydd. Collodd Adda ei wisg o gyfiawnder; agorodd hi wrth ddechreu siarad â'r cythraul yn nghylch y pren oedd yn nghanol yr ardd, ac yn fuan dyosgwyd ef yn llwyr, nes iddo, yn nghanol gwynt afiachus uffern, ddal clefyd marwol. Fel hyn y gwnawd paradwys yn ysbyty, a'r palas ardderchog a drowyd yn glafdy afiachus.

2. Y mae clefyd yn cael ei achosi trwy annghymedroldeb. Collodd ein rhieni ffrwyn auraidd cymedroldeb, a bwytasant y ffrwyth gwaharddedig, nes iddynt hwy a'u hiliogaeth alaru a myned yn glaf. Yr oedd clefyd ac angau o dan ddail y pren. Yr oedd y pren yn ymddangos yn dda, yn fwyd iachus, ac yn deg mewn golwg, ac yn ddymunol i beri deall; eithr yr oedd clefyd marwol yn llechu yn nghudd o dan ei ddail. Mae uffern a marwolaeth yn ymguddio o dan ddail llawer o brenau hyfryd yr olwg arnynt; ac y mae dynion yn llyncu tân a brwmstan yn nhameidiau melusion anwiredd. Y meddwon sydd yn llyncu uffern yn y cwrw. a'r ieuenctyd yn llyncu angau tragywyddol yn eu pleserau. Y llygredigaeth sydd yn felus i'r genau, ond yn chwerw i'r bol. Bydd miloedd yn gwaeddi allan mewn gwaew byth wedi bod yn gwledda yn felus ar ddanteithion pechod, "Fy mol, fy mol; gofidus wyf o barwydenau fy nghalon, y mae fy nghalon yn terfysgu ynof." Pechod sydd yn deg i'r llygad, ond yn wenwyn i'r cyfansoddiad. Achosodd annghymedroldeb Adda newyn a chlefyd; ac yr ydym wedi dal y dolur; y mae y clefyd wedi cydio yn ein holl gyfansoddiad. Er iddo ef ei

achosi, yr ydym ni yn ei gynyddu yn barhaus; felly yr ydym yn myned waeth waeth. "Eithr drwg-ddynion a thwyllwyr a ânt rhagddynt waeth waeth, gan dwyllo, a chael eu twyllo."

II. Y mae pechod yn debyg i glefyd o ran ei natur.

1. Y mae o natur gynyddol. Mae clefydau y corph yn rhedeg trwy yr holl ranau; y pen, y cylla, a'r cwbl. Nid ydyw pechod yn effeithio ar un rhan yn unig, ac yn cartrefu mewn un lle; eithr wedi rhedeg trwy yr holl gyfansoddiad naturiol ac ysbrydol; corph, enaid, ac ysbryd. Holl gyneddfau yr enaid, a holl ranau y corph ydynt yn afiachus a dolurus. "Oh genedlaeth bechadurus, pobl llwythog o anwiredd; had y rhai drygionus, meibion yn llygru; gwrthodasant yr Arglwydd, digiasant Sant Israel, ciliasant yn ol! I ba beth y'ch tarewir mwy? cildynrwydd a chwanegwch: y pen oll sydd glwyfus, a'r holl galon yn llesg. O wadn y troed hyd y pen nid oes dim cyfan ynddo; ond archollion, a chleisiau, a gwelïau crawnllyd; ni wasgwyd hwynt, ac ni rwymwyd, ac ni thynerwyd ag olew," Esay i. 4—6. Mae pechod wedi effeithio ar y deall; y mae *snuffers* pechod gwreiddiol wedi rhoddi lamp dealltwriaeth ysbrydol allan; y llygaid sydd wedi eu tywyllu, a'r dynion yn ymbalfalu fel "deillion a'r pared." Nid ydym yn adnabod Duw ein Creawdwr a'n Cynaliwr; ac nid ydym yn ein hadnabod ein hunain; yr ydym yn dywyllwch. Nid ydyw dyn yn gall i ddim ond gwneuthur drygioni: y mae hyny fel pe dywedech, "Nid yw dyn yn gall i ddim ond bod yn ffol, a gwneyd ynfytyn o hono ei hun." Och! arswydus yw dywedyd, mai yr holl synwyr sydd gan ddyn yn ei gyflwr natur yw synwyr i'w ddamnio ei hun. Nid yw yn gallu synied a barnu gair Duw yn briodol, mwy nag y gall dyn dall ddirnad a barnu lliwiau. Fel y mae ffon gymhwys mewn dwfr yn ymddangos yn gam, felly y mae llinellau cymhwys geiriau Duw yn ymddangos yn gam i bechadur ag sydd wedi tywyllu ei ddeall. Y mae y clefyd hwn wedi effeithio hefyd ar y cof. Yr oedd y cof ar y cyntaf yn gist auraidd yn mha un y cedwid gwirionedd Duw yn ddirgel, dan glo; eithr yn awr y mae fel llestr methedig, yn colli pob peth Duw allan; y mae fel gogr yn gollwng y blawd allan, ac yn cadw yr eisin i mewn. Mae yn "gollwng i golli" wirioneddau cadwedigol, ac yn cadw i mewn sothach damniol. Och, y mae dyn wedi myned yn ddychrynllyd; y mae yn annghofio pob peth ond drwg. Nid yw yn cofio ei ddyledswydd, nid yw yn cofio gwneyd da; y mae yn an-

nghofio Duw, am hyny y mae yn annghofio pob daioni. "Nid yw Duw yn ei holl feddyliau ef;" ac nid yw iachawdwriaeth ei enaid anfarwol ei hunan yn ei holl feddyliau: y mae yn colli y blawd i gyd, ac eto y mae llonaid y gogr o eisin. Mae y cof yn llawn o bob cymysg; y mae yno bridd a cheryg, tom a llaid, yn nghyda phob llygredigaeth uffernol; eithr nid oes dim da yn trigo ynddo. Mae yn cofio hen chwedl neu hen ganu, ac eto yn annghofio ei fara beunyddiol; yn annghofio ei weddi a'i holl ddyledion.

Y mae yr ewyllys hefyd o dan effeithiau y clefyd hwn. Ffrwyn aur oedd yr ewyllys i lywodraethu ac arwain Adda; yr oedd ewyllys y dyn yn ateb i ewyllys Duw fel adsain i lais. Ar ol clywed beth oedd ewyllys Duw, yr ydoedd yn llawn o lawenydd i'w gwblhau, ac yn dywedyd, "Da genyf wneuthur dy ewyllys, O fy Nuw: a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon," Sal. xl. 8. Mae genym haiarn wedi dyfod i'r galon trwy bechod; nid yw yn gallu plygu i ewyllys y Goruchaf: ac y mae y talcen yn bres, Esay xlviii. 4. Mae yn well gan y dyn farw na dyfod at y Meddyg i'w wella yn wyneb telerau yr efengyl. Pan y bydd genym haiarn yn yr ewyllys, y mae hi yn anmhlygadwy; a dyma y creadur sydd yn siarad am ewyllys rhydd. Ymaith â'ch ewyllys rhydd; y mae eich ewyllysiau yn eich damnio wrth y miloedd. Deuwch at y Meddyg i gael eich gwella. Beth dâl i chwi ddywedyd wrth ddyn claf sydd yn methu codi o'r gwely, Cerddwch i weithio? *Nonsense;* deuwch ag ef at y Meddyg i'w wella, yna gweithied a fyno wedi'n.

Cofiwch, fy nghyfeillion, nad yw yn bosibl i chwi wneyd gormod; y mae yn anmhosibl i chwi fod yn rhy ddiwyd yn ngwinllan eich Harglwydd, ond y mae yn rhaid eich gwneuthur yn iach yn gyntaf. Dewch â'r claf at y *Doctor* yn gyntaf, ac yna, ar ol ei adferyd, dywedwch, "Dos, gweithia" bellach "yn y winllan." Gwnewch ryw beth, ac nid siarad am wneyd, a pheidio gwneyd dim yn y diwedd. Yr ydych yn siarad am ewyllys rhydd, a'ch eneidiau mewn cadwynau ar yr un pryd. Y mae y serchiadau hefyd o dan effeithiau y clefyd hwn. Bydd llawer claf mewn twymyn yn dymuno am ryw beth i'w gymeryd; ond pe rhoddid iddo yr hyn y mae yn ei ddymuno, byddai yn ddrwg i'w ddolur, ac fe allai yn farwol. Mae yr enaid claf mewn newyn a syched am ryw beth yn gyson; eithr nid am y gwir fara a'r dwfr bywiol; ond am ryw beth sydd yn sicr o wneyd clefyd yn

waeth; ïe, rhyw beth fydd yn angau tragywyddol iddo yn fuan. Mae y *fever* yn dyrysu y synwyrau a'r holl deimladau, fe lyncai y peth fyddai yn angau iddo. Am fwyta pechod y mae, nid bara y bywyd; ac yfed anwiredd, nid dwfr pur a "gwin a llaeth" yr efengyl. Och! yfed gwenwyn y mae, ac yn gwrthod y feddyginiaeth. Mae y gydwybod hefyd o dan effeithiau y clefyd hwn. Ië, y mae hi i'r fath raddau, fel ag y mae bron yn annheimladwy. Nid ydyw yn dywedyd dim am glefyd yn y cyfansoddiad; y mae wedi ei serio â haiarn poeth; y mae yn debyg i hen bregethwr wedi ei daro yn fud, a'r teimlad o bechod wedi ei gymeryd ymaith yn yr arferiad o bechod.

2. Y mae clefyd yn gwanychu y corph; felly mae pechod yn gwanhau yr enaid. Yr oedd dyn cyn pechu fel angel mewn rhyw ystyr; yn gryf i ymwneyd â Duw; eithr y mae pechod wedi ei wneyd yn wan ac yn eiddil; nid yw yn gallu dim. Yr annuwiol sydd weiniaid; ac y mae y saint hefyd yn bur wan, ond y maent o dan law y meddyg yn dechreu gwella: hwy a ddeuant yn gryfion yn y man. Nid ydynt mor glaf ag y buont; y maent yn dechreu gwella yn rhagorol; eto y maent yn weinion hyd yn hyn. Nid ydyw eu gweddiau eto ond rhyw sibrwd gwan yn nghlustiau y Goruchaf; ac oni bai fod Crist yn eu gweddio drosodd drachefn, ni chlywid mo honynt byth. Mae pechod yn gryf heddyw, a gweddiau yn weinion; ond fe ddaw y dydd y bydd gweddiau yn gryf, a phechodau yn trengu. Gogoniant! "A minau ydwyf eiddil heddyw, er fy eneinio yn frenin; a'r gwŷr hyn, meibion Serfiah, sy rhy galed i mi." 2 Sam. iii. 39. Ond bendigedig! fe ddaw y dydd y byddaf fi yn rhy galed iddynt hwy; caf eu sathru oll o dan draed am byth. Mae yr anadl yn fyr heddyw, y mae yn wir; a'r dymuniadau yn wan; y syched am yr Arglwydd yn fach. Y mae pechod wedi ein dwyn yn isel iawn; ïe, wedi ein dwyn hyd at byrth marwolaeth; ond yr ydym wedi cyfarfod â'r Meddyg anffaeledig; ac y mae y dolur yn dechreu troi. Bendigedig fyddo Duw am obaith dyfod yn holl-iach.

3. Y mae clefyd yn dinystrio harddwch y wyneb. Y mae pryfed yn dinystrio harddwch y dillad, a chlefyd harddwch y corph; ond y mae pechod yn dinystrio harddwch y cwbl, corph ac enaid. Mae clefyd yn y corph yn dinystrio tegwch y wyneb hardd; yn tynu y rhosyn coch oddiar y grudd, ac yn ei droi yn las-wyn. "Pa fodd y tywyllodd yr aur! y

newidiodd yr aur coeth da! taflwyd ceryg y cysegr yn mhen pob heol," Galar. iv. 1. Mae pechod wedi andwyo pob harddwch, a gwneyd yr holl ymddangosiad yn hen. Cyn pechu yr oedd y deall yn hardd ac yn llawn goleu; yr ewyllys â choron hardd ar ei phen, yn teyrnasu mewn rhyddid; y serchiadau fel cynifer o seraphiaid yn llosgi o gariad at yr Arglwydd. Yn awr y mae y gogoniant wedi ymadael; y mae pechod wedi troi gogoniant a harddwch yn anferthwch. Mae rhai wynebau wedi eu hanharddu gymaint o herwydd clefyd, fel braidd y gellir eu hadnabod; felly y mae yr enaid wedi ei anharddu gymaint gan bechod, fel y gellir yn hawdd ei gymeryd yn lle y cythraul. Y ddelw hardd, yr hon oedd gynt fel haul yn dysgleirio mewn prydferthwch, sydd yn awr wedi ei throi yn Aipht o dywyllwch: a lle y mae gras wedi ei roi y mae hyd yn hyn fel haul o dan gwmwl.

4. Y mae clefyd yn cymeryd ymaith yr archwaeth. Y dyn claf, er iddo fwyta, nid ydyw yn mwynhau, oblegyd fod yr archwaeth yn ddrwg; y mae y melus yn fynych yn chwerw. Mae yr archwaeth at Dduw a phethau ysbrydol a thragywyddol wedi ei golli; fel nad oes dim melusder yn ngair yr Arglwydd ac ordinhadau yr efengyl. Mae yn taflu "didwyll laeth y gair" o'i enau, ac yn bwyta pridd a chalch, yn nghyda phethau afiachus eraill. Y gair santaidd, yr hwn sydd yn dyferu rhyw beth i'r cristion sydd yn "felusach na'r mel," sydd yn chwerwder, yn fustl, ac yn wermod iddo ef.

5. Y mae clefyd yn cymeryd ymaith gysuron bywyd. Nid oes gan ddyn claf hyfrydwch mewn dim; y mae bywyd yn myned yn boen. Mae y pechadur, yr hwn sydd yn nghafael clefyd pechod, yn amddifad o wir gysur; nid ydyw yn gallu tynu pleser allan o ddim, er ei geisio yn mhob man. Nid yw ei chwerthin ond breuddwydion hyfryd dyn claf; mae y pechodau heb eu maddeu, a gall yntau fod yn uffern yn ngafael yr ail farwolaeth cyn boreu fory, am ddim y mae yn ei wybod. Chwerthin heddyw, a syrthio, fe allai, i fflamiau tragywyddol cyn pen wythnos! Duw a'n gwaredo rhag y fath freuddwydion ofnadwy.

6. Y mae clefyd yn rhagredegydd marwolaeth. Pechod ac angau sydd wedi eu cysylltu yn agos â'u gilydd; y mae y naill ar sawdl y llall. Os na chewch ryw beth yn fuan at bechod er ei wella, bydd yr ail farwolaeth wedi cydio, ac yna bydd yn rhy ddiweddar i geisio meddyg.

Yn awr, fy nghyfeillion, gadewch i ni ymholi pa fath a

pha rai ydyw clefydau yr enaid? Torodd Adda flwch auraidd cyfiawnder gwreiddiol, a llanwyd ein byd ni â rhyw aneirif o glefydau marwol. Dywed physygwyr fod y corph dynol yn ddarostyngedig i dros dair mil o glefydau; eto y mae doluriau yr enaid yn llawer mwy lluosog. Y maent yn amlach na thywod y môr, yn amlach na ser y nefoedd; ïe, "anwireddau lawer" ydynt, medd y Salmydd. Mae genym chwydd gwyn balchder; y mae hwn yn lladd miloedd bob blwyddyn; mae y bobl yn chwyddo nes hollti yn chwilfriw. Yr ydym hefyd yn ddarostyngedig i lawer o dwymynau oddiwrth chwantau aflywodraethus; llawer sydd yn marw o gancr cyfeiliornadau; llawer o ddolur y galon; mae y *disease of the heart* yn ddychrynllyd yn y dyddiau hyn; calon ddrwg anghrediniaeth; y mae miloedd yn trengu yn ngwlad efengyl o'r clefyd dinystriol hwn; y mae yn bla ofnadwy, ac yn angau dychrynllyd o boenus. Ni welwn lawer yn dyoddef ac yn marw o *scurvy* rhagrith, ac o'r *wolf in the breast*, cenfigen a malais; o'r *dropsy*, cybydd-dod; a *lethargy*, cysgadrwydd ysbrydol; a'r *epilepsy*, clefyd y cwympo, y gwrthgilio, a thynu yn ol i golledigaeth. Dyma rai o glefydau yr enaid, y rhai, pan y deuant i'w llawn rym, sydd yn ofnadwy ac yn farwol oll. Y mae pechod yn glefyd gwaeth yn yr enaid na holl glefydau y corph yn un. Byddai yn well i gorph fod o dan dair mil o glefydau ar unwaith, a hyny am dragywyddoldeb, na suddo i uffern o dan bwys un pechod. Y mae corph yn llawn o glefydau yn ddigon poenus; ond y mae enaid yn llawn o bechodau yn fil mwy poenus. O Arglwydd, dyro ddiangfa i'r bobl yma rhag eu pechodau. Y Duw anfeidrol, tywallt yr Ysbryd Glân ar y wlad, i droi ei hwyneb at y Meddyg. Peth posibl yw i'r corph fod yn glaf, ac ar yr un pryd y gydwybod yn dawel a heddychol; o ganlyniad y beichiau yn ysgafnhau. "Ac ni ddywed y preswylydd, Claf ydwyf: maddeuir anwiredd y bobl a drigant ynddi," Esay xxxiii. 24. Y mae teimlad o faddeuant pechod yn feddyginiaeth i gorph ac ysbryd; ac y mae ystorm yn y gydwybod yn waeth na holl glefydau y byd. "Ni bydd heddwch, medd fy Nuw, i'r rhai annuwiol," Esay lix. 21.

Gall fod genych gyrph afiach, a Duw yn eich caru; y mae llawer o gyfeillion anwylaf yr Arglwydd Iesu yn glaf heblaw Lazarus gynt; ond y mae clefydau yr enaid yn tynu gwg ac anfoddlonrwydd yr Hollalluog; nid oes heddwch, na chysur, na dyogelwch. Goddefir clefydau y corph yn aml i fod yn

feddyginiaeth i'r enaid, o dan fendith y Nefoedd. Gall fod genych eneidiau iachus mewn cyrph afiachus; eneidiau yn gwella bob dydd mewn cyrph sydd yn gwaelu bob dydd. Nid yw clefyd corphorol, ar y gwaethaf, ond yn ein gwahanu oddiwrth gymdeithas cyfeillion; ond y mae pechod yn ein gwahanu oddiwrth ddynion da, angylion da, a Duw da. Y mae yn cau drysau y nefoedd yn ein herbyn, ac yn agor pyrth marwolaeth dragywyddol o'n blaen. "Nid â dim aflan i mewn yno." Bydd lle i'r rhai hyn i gyd yn mhlith cythreuliaid. "Ond i'r rhai ofnog, a'r digred, a'r ffiaidd, a'r llofruddion, a'r puteinwyr, a'r swyn-gyfareddwyr, a'r eilun-addolwyr, a'r holl gelwyddwyr, y bydd eu rhan yn y llyn sydd yn llosgi â thân a brwmstan, yr hwn yw yr ail farwolaeth," Dat. xxi. 8. Derbyniwch y Meddyg mawr i'ch tai, yr hwn sydd yn gwella yr holl glefydau eneidiol hyn. Prentisiaid yw gweinidogion y gair, neu ryw fath o is-feddygon, wedi eu danfon allan i'r holl ddaear i gynyg y cyfferi yn rhad i bob dyn. "Ewch gan hyny, a dysgwch yr holl genedloedd, gan eu bedyddio yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân; gan ddysgu iddynt gadw pob peth a'r a orchymynais i chwi. Ac wele, yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd. Amen," Mat. xxviii. 19, 20. Dyma addewid y Meddyg mawr i fod gyda'r is-feddygon bob amser, gyda phob claf hyd ddiwedd y byd; canys ni wna ein cyfarwyddiadau a'n plasterau ni y tro heb iddo ef eu cymhwyso. Ni allai yr holl feddygon is y nefoedd, na'r holl angylion yn y nefoedd wella ysbryd cystuddiedig heb y Meddyg mawr gyda hwynt. Gall yr is-feddygon ddweyd am feddyginiaeth anffaeledig, balm sydd yn gwella pob dolur, *a sovereign cure through the blood of the great Physician;* ond rhaid cael y Meddyg mawr gyda hwynt i gymhwyso y feddyginiaeth. Wel, y mae wedi addaw bod "bob amser, hyd ddiwedd y byd." Cawn alw eich sylw am ychydig at ddau beth:—

1. Fod Crist yn Feddyg. 2. Paham y mae yn Feddyg?

1. Y mae Crist yn Feddyg. Un o ditlau yr Arglwydd Iesu yw Meddyg. "Os gan wrando y gwrandewi ar lais yr Arglwydd dy Dduw, ac os gwnai di yr hyn sydd uniawn yn ei olwg ef, a rhoddi clust i'w orchymynion ef, a chadw ei holl ddeddfau ef; ni roddaf arnat un o'r clefydau a roddais ar yr Aiphtiaid; o herwydd myfi yw yr Arglwydd dy Iachawdwr di," Ex. xv. 26. Yr oedd yr Arglwydd yn meddyginiaethu cyrph ac eneidiau dynion pan oedd yma yn y byd. "Ac wedi

dyfod yr Iesu i mewn i Capernaum, daeth ato ganwriad, gan ddeisyfu arno, a dywedyd, Arglwydd, y mae fy ngwas yn gorwedd gartref yn glaf o'r parlys, ac mewn poen dirfawr. A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Mi a ddeuaf ac a'i iachaf ef." Efe yw Arglwydd yr holl ddaear, Creawdwr pob peth, yr hwn yn unig sydd wedi trefnu rhinwedd meddygol mewn llysiau, mwnau, a phethau eraill i fod yn feddyginiaeth i ddynion yn holl oesoedd y byd; eithr prif waith Crist fel Meddyg yw gwella eneidiau. Iachawdwr y byd ydyw. "Efe sydd yn iachau y rhai briwedig o galon, ac yn rhwymo eu doluriau." Yr ydym fel cynifer o greaduriaid claf a chlwyfus yn dyfod at y Meddyg. Y mae un mewn *fever* boeth, mae y llall yn y *palsy*, y nesaf â dyferlif gwaed; ïe, clefydau aneirif. Eto y mae yr Arglwydd Iesu yn Feddyg sydd yn gwella y rhai hyn i gyd. Dewch ato, fy nghyfeillion.

Y mae rhinweddau meddyginiaethol yr Arglwydd Iesu yn cael eu hegluro trwy lawer o bethau; ond nis gellir mynegi a gosod allan yr haner trwy ddim. Yr oedd y sarph bres yn y diffaethwch yn rhyw arwyddlun gwan o hono. Byddai yr Iuddewon yn cael eu gwella oddiwrth rwygiadau y seirph tanllyd drwy edrych ar y sarph bres. "Ac megys y dyrchafodd Moses y sarph yn y diffaethwch, felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn: fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol," Ioan iii. 14, 15. Un olwg ar Grist yn marw ar y groes sydd yn ddigon effeithiol i wella holl glwyfau y seirph tanllyd. Mae seirph tanllyd uffern wedi eich rhwygo yn farwol, bechaduriaid; edrychwch o'r man yr ydych ar Grist yn marw; y mae yma feddyginiaeth yn rhedeg allan o'i ystlys sydd yn tynu gwenwyn marwol y seirph allan, ac yn rhoddi bywyd tragywyddol i mewn. Bendigedig! *Look, and be saved.* Ond i chwi edrych byddwch yn iach. Yr oedd y Samaritan da yn debyg i Grist; gellwch ei weled yn hwnw, er fe allai mai nid egluro Crist yw amcan y ddameg. Wedi i ryw ddyn syrthio yn mhlith lladron, ei glwyfo, a'i adael yn haner marw, y mae pawb yn myned heibio a'i adael i drengu heb ddangos dim trugaredd iddo, ac y mae yntau yn ymdrybaeddu yn ei waed yn ddiobaith. Nid oedd dim gwahaniaeth rhwng offeiriad na Lefiad, yr oeddynt oll yn myned heibio iddo a'i adael yn ei waed; nid oeddynt am gael trafferth gydag ef, na thraul ychwaith. Eithr rhyw Samariad a ddaeth i waered y ffordd hono; "a phan ei gwelodd, a dosturiodd; ac a aeth ato, ac a

rwymodd ei archollion ef, gan dywallt ynddynt olew a gwin; ac a'i gosododd ef ar ei anifail ei hun, ac a'i dyg ef i'r llety, ac a'i hymgeleddodd," Luc x. 33, 34. Chwychwi sydd o dan law y Meddyg yn bresenol, yn gorwedd yn eich gwaed, wedi eich clwyfo gan bechod a satan y cafwyd chwi, a buasech yn trengu byth oni buasai i'r Meddyg mawr dosturio a chymeryd at eich gwellhau. "Ac am dy enedigaeth, ar y dydd y'th anwyd ni thorwyd dy fogail, ac mewn dwfr ni'th olchwyd i'th feddalhau; ni'th gyweiriwyd ychwaith â halen, ac ni'th rwymwyd â rhwymyn. Ni thosturiodd llygad wrthyt, i wneuthur i ti un o hyn, i dosturio wrthyt; ond ar wyneb y maes y'th daflwyd, i ffieiddio dy einioes ar y dydd y'th aned. A phan dramwyais heibio i ti, a'th weled yn ymdrybaeddu yn dy waed, dywedais wrthyt yn dy waed, Bydd fyw. Pan aethum heibio i ti, ac edrych arnat, wele dy amser yn amser serchawgrwydd; yna lledais fy aden drosot, a chuddiais dy noethni; tyngais hefyd i ti, ac aethum mewn cyfamod â thi, medd yr Arglwydd Dduw, a thi a aethost yn eiddof fi. Yna mi a'th olchais â dwfr; ïe, golchais dy waed oddiwrthyt, ac irais di ag olew," Ezec. xvi. 4—9. Diolch. Dyma drugaredd fel y môr, yn ddihysbydd; dyma dynerwch calon Jehofah. Bendigedig. Dyma le i bechadur clwyfus sydd wedi ei adael gan bawb i ddyfod yn iach byth.

Yr oedd prenau y cysegr yn arwyddo Crist fel Meddyg; ond yr oedd y cwbl yn nghyd yn anfeidrol ry fach. "Ac wrth yr afon y cyfyd, ac wrth ei min o'r ddau tu, pob pren ymborth, ei ddalen ni syrth, a'i ffrwyth ni dderfydd: yn ei fisoedd y dwg ffrwyth newydd; o herwydd ei ddyfroedd, hwy a ddaethant allan o'r cysegr: am hyny y bydd ei ffrwyth yn ymborth, a'i ddalen yn feddyginiaeth," Ezec. xlvii. 12. Croes ein Harglwydd Iesu Grist yw pren y bywyd; yr hwn y mae ei ffrwyth yn fara bywiol, a'i ddail yn feddyginiaeth. "Yn nghanol ei heol hi, ac o ddau tu yr afon yr oedd pren y bywyd, yn dwyn deuddeg rhyw ffrwyth, bob mis yn rhoddi ei ffrwyth; a dail y pren oedd yn iachau y cenedloedd." Dyma ymborth iachus i rasusau, a meddyginiaeth i bob clefydau. Gogoniant! Dewch yma, dyma le i wella hen chwydd gwyn balchder, surni malais a chenfigen, hen *scurvy* rhagrith, ïe, pob clefyd ac afiechyd ysbrydol. Dyma feddyginiaeth a gwledd; dyma iechyd a nerth. Bendigedig!

2. Sylwn paham y mae Crist wedi ymgymeryd â'r swydd o fod yn Feddyg. Daeth yn feddyg mewn ufudd-dod i alwad

ei Dad; yr oedd ei Dad yn ewyllysio iddo arfer meddyginiaeth. "Ysbryd yr Arglwydd sydd arnaf fi, o herwydd iddo fy eneinio i; i bregethu i'r tlodion yr anfonodd fi, i iachau y drylliedig o galon; i bregethu gollyngdod i'r caethion, a chaffaeliad golwg i'r deillion, i ollwng y rhai ysig mewn rhydd-deb," Luc iv. 18. Eneiniwyd ef at y gwaith o iachau: daeth i'r byd a throdd y gwallgofdy hwn yn ysbyty i wella eneidiau cleifion. Gan ein bod ni yn sefyll mewn angen meddyg, ac heb un i gael a wnelai y tro, daeth yr Arglwydd Iesu atom fel gweithred o drugaredd. Ni ddaeth o herwydd ein bod ni yn dymuno iddo ddyfod, ond o herwydd bod arnom ei angen. Nid ein teilyngdod ni, ond ei drugaredd ef, ddaeth ag ef o'r nefoedd i'r ddaear i arfer meddyginiaeth. Buasem yn marw yn ein gwaed a'n clwyfau yn dragywydd oni buasai iddo ef o'i anfeidrol drugaredd ddyfod atom, a chymeryd at ein gwellhad. Yr oeddym nid yn unig yn glaf iawn, ond wedi marw, ac nid oedd neb ond Crist yn medru adferyd i fywyd drachefn. Ffrwyth pren y bywyd yn unig allasai fod yn feddyginiaethol i ni. Trugarogrwydd yr Arglwydd Iesu at y byd ddaeth ag ef i arfer meddyginiaeth, trugaredd at y cleifion ddaeth ag ef yma. Mae y meddygon yn dyfod er eu mwyn eu hunain yn benaf, ac nid er mwyn cysur y dyn claf; enill arian, ac nid gwella y clefydau yw y prif bwnc; dyfod er mwyn helpu eu hunain yn fwy na helpu y dolurus; ond fe ddaeth Iesu Grist o gydymdeimlad a chariad at y cleifion. Nid oedd dim ynom ni yn ei demtio i'n gwella; nid oedd cymaint ag un dymuniad am Grist, ac nid oedd genym ddim i dalu. Daeth Meddyg mawr ein heneidiau o gariad pur; canys cafodd ni nid yn unig yn glaf a chlwyfus, ond hefyd heb ddim i dalu, yn hollol dlawd. "Meddyginiaethaf eu hymchweliad hwynt; caraf hwynt yn rhad." Cariad a'i gosododd ef i weithio; a derbyniodd awdurdod oddiwrth y Tad i drin meddyginiaeth. Tosturi at y cleifion tlawd ddaeth ag ef i'r ysbyty. Alltudiodd y brenin Dafydd y dall a'r cloff allan o'r ddinas, eithr y mae y Brenin Iesu yn dyfod at y dall a'r cloff i'w gwellhau. "A dywedodd Dafydd y dwthwn hwnw, Pwy bynag a elo i fyny i'r gwter, ac a darawo y Jebusiaid, a'r cloffion a'r deillion, y rhai sydd gas gan enaid Dafydd, hwnw fydd blaenor. Am hyny y dywedasant, Y dall a'r cloff ni ddaw i mewn i'r tŷ," 2 Sam. v. 8. Bendigedig! y mae Crist, Mab Dafydd, yn dyfod at y cloffion a'r deillion, ac yn eu hiachau. "Y mae y deillion yn gweled

eilwaith, a'r cloffion yn rhodio, a'r cleifion gwahanol wedi eu glanhau, a'r byddariaid yn clywed; y mae y meirw yn cyfodi, a'r tlodion yn cael pregethu yr efengyl iddynt," Mat. xi. 5. Mae Gwr y tŷ yn gorchymyn i'r gweision am gymhell pawb yn ddiwahan, beth bynag fyddo eu doluriau, i ddyfod i gael meddyginiaeth. "Dos allan ar frys i heolydd ac ystrydoedd y ddinas, a dwg i mewn yma y tlodion, a'r anafus, a'r cloffion, a'r deillion," Luc xiv. 21. Mae Mab Dafydd yn rhagori filoedd o weithiau ar ei dad; y mae tynerwch anfeidrol yn ei galon, a meddyginiaeth o dan ei esgyll at bob clefyd ac afiechyd.

Yr unig Feddyg effeithiol ac anffaeledig yw Iesu Grist. "Ac nid oes iachawdwriaeth yn neb arall: canys nid oes enw arall dan y nef, wedi ei roddi yn mhlith dynion, trwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig," Act. iv. 12. Y Pabyddion ydynt yn ceisio doctoriaid eraill heblaw yr Arglwydd Iesu; y maent hwy yn myned at Doctor Angel a Doctor Sant, a lluaws o bethau; ac yn dymuno ar y rhai hyn i wella eu clwyfau. Fy nghyfeillion, nid oes gallu yn yr holl angylion a'r saint yn nghyd i wella un o'ch clwyfau marwol chwi. Mae yn wir fod gan yr angylion adenydd ardderchog, eithr nid oes meddyginineth o danynt. Mae y Pabyddion, nid yn unig yn myned at saint ac angylion, ond hefyd yn troi yn feddygon iddynt eu hunain, ac yn ceisio gwella eu doluriau trwy weithredoedd da, a theilyngdod dynol. Och, y maent yn marw byth yn nghanol eu plasterau o deilyngdod. Bwytaodd Adda yn Eden ffrwyth y pren gwaharddedig; a gwnaeth y ffrwyth ef yn glaf, mewn corph ac enaid, yn nghyda'i holl hiliogaeth. Methwyd â chael llysieuyn yn mhlith holl lysiau paradwys allasai wella y dolur hwn. Ymaith â'ch teilyngdod; y mae eich gweithredoedd goreu yn ddamniol, ac nid yn feddyginiaethol. Mae y *quacks* ysbrydol hyn yn lladd miloedd trwy gymhwyso cyfferi marwol ac nid meddyginiaethol. Peth peryglus hefyd yw cymysgu moddion y crachfeddygon a'r gwir Feddyg yn nghyd. Mae fel pe buasai Israel yn codi sarph heblaw yr hon a gododd Duw, er ei chynorthwyo. Beth fuasai y canlyniad i hyny? Marw heb drugaredd; canys ychwanegu pechod y buasai hyny, ac nid ychwanegu meddyginiaeth. Mae yn beryglus ceisio llawer o feddygon. Os ydyw yr enaid claf yn chwenych meddygon heblaw Crist, y mae hyny yn arwyddo marwolaeth sicr.

Yr ydym yn canfod Crist yn arfer meddyginiaeth trwy amrywiol ffyrdd.

1. Trwy ei air. "Anfonodd ei air, a iachaodd hwynt, ac a'u gwaredodd o'u dinystr," Sal cvii. 20. Mae y gair o enau ei weision yn meddyginiaethu; y mae yn "arogl bywyd i fywyd" i'r rhai sydd yn ei dderbyn, a "marwolaeth i farwolaeth" i'r rhai sydd yn ei wrthod. Pan y bydd ystorm yn y gydwybod, y mae yr Arglwydd Iesu yn creu ffrwyth y gwefusau i lefaru heddwch er ei dawelu. "Myfi sydd yn creu ffrwyth y gwefusau; heddwch, heddwch, i bell ac i agos, medd yr Arglwydd; a mi a'i iachaf ef," Esay lvii. 19. Mae y gair ysgrifenedig yn ystordy, yn mha un y mae yr Arglwydd Iesu wedi trysori i fyny ei olew penaf. Dyma lle y cewch y *balsams* digyffelyb ar gyfer holl glwyfau yr enaid. Pregethu y gair yw ei roddiad allan o'r ystorfa: a'i arllwysiad i mewn i glwyfau y dolurus. Trwy bregethu y cymhwysir y plastr at y cornwydydd. Yr eglwys ar y ddaear yw yr *hospital*, a'r *society* yw y *surgery*, lle y chwilir ac y glanheir y clwyfau, ac y cymhwysir y cyfferi. Yma y torir ymaith y cnawd marw, a'r aelodau gwywedig, i'r dyben o ddyogelu y bywyd. Y pwlpud yw *shop* y *doctor*. "Danfonodd ei air, ac a'u hachubodd hwynt."

Yr ydych chwi yn edrych ar bregethu yr efengyl yn beth bach, ac yn barod i ymholi, "Beth all fod yn y geiriau a siaredir gan ddyn marwol at achub dyn arall?" Mae yn wir fod geiriau dyn yn rhy fach i achub dyn; eithr yma dyn sydd yn siarad geiriau y Duw Goruchaf ar ei orchymyn; yn dyweyd dros Dduw; a'r Arglwydd wedi ymrwymo i fod gyda'i eiriau bob amser hyd ddiwedd y byd, er achub a meddyginiaethu. *Recipes* y Meddyg mawr yw y geiriau; cyfarwyddiadau meddygol; geiriau y bywyd tragywyddol. Dail pren y bywyd yw y geiriau, y rhai ydynt yn llawn o'r *oils* a'r *balsams* gwerthfawrocaf. *Here are the recipes, and they are all certain cures.* Mae y Meddyg yn bresenol gyda'i holl *prescriptions*, i roddi effeithioldeb ynddynt, a'u gwneyd yn *certain cures*. "A bu ar ryw ddiwrnod, fel yr oedd efe yn athrawiaethu, fod y Phariseaid a doctoriaid y gyfraith yn eistedd yno, y rhai a ddaethant o bob pentref yn Galilea, a Judea, a Jerusalem; ac yr oedd gallu yr Arglwydd i'w hiachau hwynt," Luc v. 17. Yr ydym ni yn y pwlpud i rhoddi cyfarwyddiadau yn ol y gair, ac y mae yntau yn bresenol i gymhwyso y *prescriptions*, a'u gwneyd yn effeithiol.

Geiriau yr Arglwydd Iesu sydd yn cynwys pob meddyginiaeth; y mae pob penod yn llawn o falm; pob adnod yn cynwys rhyw botel yn llawn o feddyginiaeth ysbrydol. Eto, mwyaf y trueni, nid yw y geiriau hyn yn feddyginiaeth i rai, ond yn hytrach yn wenwyn; nid ydynt yn eiriau y bywyd tragywyddol, eithr yn eiriau marwolaeth dragywyddol.

2. Y mae gwialen Crist yn feddyginiaethol. Ië, y mae miloedd yr awr hon o dan y wialen, ac yn gwella yn hyfryd ar ol pob fflangelliad. "A darawodd efe ef fel y tarawodd y rhai a'i tarawsai? a laddwyd ef fel lladdfa ei laddedigion ef? Wrth fesur, pan êl allan, yr ymddadleu ag ef: y mae yn atal ei wynt garw ar ddydd dwyrein-wynt. Am hyny trwy hyn y glanheir anwiredd Jacob; a dyma yr holl ffrwyth, tynu ymaith ei bechod," Esay xxvii. 7—9. Nid ydyw yr Arglwydd Iesu byth yn clwyfo ond i feddyginiaethu; defnyddia gwialen cystudd i wella eneidiau claf. Drylliwyd esgyrn Dafydd i gadw ei enaid yn gyfan. Bydd yr Arglwydd yn defnyddio cystudd fel y bydd y llaw-feddyg yn defnyddio y *lance;* i ollwng allan y gwenwyn, y gweliau crawnllyd, a gwneyd ffordd i'r feddyginiaeth.

3. Y mae clwyfau Crist yn feddyginiaethol. "Efe a archollwyd am ein camweddau ni; efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni: cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef; a thrwy ei gleisiau ef yr iachawyd ni." "Gogwyddwch eich clust a deuwch ataf; gwrandewch, a bydd byw eich enaid;" Esay liii. 5; lv. 3. Gwnaeth Crist gyfferi o'i waed ei hun; bu y Meddyg farw i wella y claf. Yr oedd yn ddywediad am y pelican, pan y brethid ei rhai bach gan seirph, ei bod yn eu porthi â'i gwaed i'w gwella. Mae hyn yn ddigon gwir am yr Arglwydd Iesu; canys pan brathir y saint gan ddiafol, yr hen sarph, y mae yn cymhwyso ei waed ei hun i'w meddyginiaethu. Mae gwaed Iesu Grist, yn gymaint a'i fod yn waed y natur ddynol mewn undeb a Pherson tragywyddol y Gair, yn cynwys ynddo rinweddau anfeidrol. Mae ynddo ddigon i'r Nefoedd ac i'r ddaear, i Dduw a dynion. Mae ynddo heddwch i Dduw, a meddyginiaeth i ddyn. Dyma y balm o Gilead sydd yn gwella yr enaid dolurus wedi i bawb a phob peth fethu. Ffrwyth math o fanwydden yw y balm, yr hon wedi y torir â gwydr sydd yn dyferu y sudd meddyginiaethol hwn allan. Gellir dywedyd mai gwaed y fanwydden ydyw, yr hwn a lifa allan o'r clwyfau. Yr oedd y manwydd hyn mewn bri mawr gynt; yr oedd eu harogl yn

hyfryd, a'u rhinwedd meddygol yn enwog trwy yr holl wledydd. Mae y balm hyn yn debyg i waed Crist, yr hwn sydd yn cynwys rhinweddau at bob clefyd a phob afiechyd yn mhlith y bobl. Dyma y balm sydd yn gwella hen gornwydydd pechod a brathiadau seirph. Yr oedd y balm gynt yn werthfawr, ond nid ydyw i gydmaru mewn gwerth i'r gwaed trwy yr hwn yr ydym yn derbyn maddeuant pechodau, iachad oddiwrth ein holl glefydau, rhyddhad a gwaredigaeth hollol oddiwrth angau, oddiwrth uffern, oddiwrth ddiafol, ac yn cael mynedfa i dir y bywyd trwy y môr coch hwn o waed Crist. O Arglwydd, cymhwysa y balm hwn at ein clwyfau.

4. Y mae Crist yn gweinyddu meddyginiaeth trwy ei Ysbryd. Crist, trwy ei waed, sydd yn gwella euogrwydd, a thrwy ei Ysbryd yn iachau oddiwrth halogrwydd. Cydmerir Ysbryd Duw i olew; ac y mae eneiniad yr Ysbryd yn meddyginiaethu ac yn llaesu poenau yr enaid. "Ysbryd yr Arglwydd Dduw sydd arnaf, o herwydd yr Arglwydd a'm heneiniodd i efengylu i'r rhai llariaidd; efe a'm hanfonodd i rwymo y rhai ysig eu calon, i gyhoeddi rhyddid i'r caethion, ac agoriad carchar i'r rhai sydd yn rhwym; i gyhoeddi blwyddyn gymeradwy yr Arglwydd, a dydd dial ein Duw ni; i gysuro pob galarus; i osod i alarwyr Sïon, ac i roddi iddynt ogoniant yn lle lludw, olew llawenydd yn lle galar, gwisg moliant yn lle ysbryd cystuddiedig; fel y gelwid hwynt yn brenau cyfiawnder, yn blanhigion yrArglwydd, fel y gogonedder ef," Esay lxi. 1—3. Mae yr olew hwn yn disgyn oddiwrth yr Ysbryd Glân ar yr Iesu, a thrwy Iesu ar glwyfau y cystuddiedig. "Mae fel yr enaint gwerthfawr ar y pen, yn disgyn ar hyd y farf, sef barf Aaron; yr hwn oedd yn disgyn ar hyd ymyl ei wisgoedd ef. Fel gwlith Hermon, ac fel y gwlith yn disgyn ar fynyddoedd Sïon: canys yno y gorchymynodd yr Arglwydd y fendith, sef bywyd yn dragywydd." Mae olew yr Ysbryd yn tyneru y galon gareg, yn ystwytho yr ewyllys, ac yn meddyginiaethu yn dyner yr holl natur. Er nad ydyw pechod wedi ei lwyr iachau, eto y mae y feddyginiaeth yn gwneyd ei waith yn raddol. Bydd yn rhaid tynu y tŷ i lawr i gael y gwahan-glwyf allan o hono yn hollol; er hyny y mae y cyfferi wedi cael blaen y dolur eisoes; y mae pechod wedi ei ddarostwng, y mae wedi ei wanychu, mae y clefyd wedi troi, nid ydyw mwyach i farwolaeth.

Ein Harglwydd Iesu yw y Meddyg goreu; efe yw y Meddyg mwyaf gwybodus a medrus; nid aeth yr un clefyd

erioed yn rhy galed iddo. "Yr hwn sydd yn maddeu dy holl anwireddau, yr hwn sydd yn iachau dy holl lesgedd." Yr oedd llyn Bethesda yn rhyw arwydd gwan o iachawdwriaeth drwy Grist, eithr yn hynod o anmherffaith: canys ar amserau yr ydoedd yn rhinweddol, pan ddisgynai yr angel; eithr y mae gwaed Iesu Grist yn rhinweddol bob amser, ddydd a nos. Ni l o dd llyn Bethe da yn gwella dim ond y corph; eithr y mae gwaed Crist yn gwella corph ac ysbryd. Nid oedd llyn Bethesda yn gwella ond un ar unwaith, "yr hwn a âi i mewn gyntaf;" eithr y mae Crist yn ddigon rhinweddol i wella yr holl fyd ar unwaith, ond iddo ddyfod ato. Mae rhyw glefydau yn y corph ag y mae y meddygon yn methu eu gwella: nid oes ganddynt ddim i roi; nid oes ganddynt feddyginiaeth ar eu cyfer. Pwy glywodd am un clefyd ddyrysodd fedrusrwydd y Meddyg mawr? Mae yn gwella y doluriau mwyaf anhawdd ac ystyfnig; y mae yn gwella nid yn unig hen ddoluriau, ond hen ddoluriau y galon—*diseases of the heart*—wedi iddynt sefyll yn hir iawn. Gwellhaodd Magdalen o anniweirdeb, a Saul o hunan-gyfiawnder; yr oedd y gwellhad mor rhyfeddol, fel yr oedd pawb yn sefyll dan synu a chodi dwylaw uwch ben yr yscil feddygol. Yr oedd yr apostol ei hun yn synu trwy ei oes uwch ben grym y cyfferi a drodd ei ddolur mor sydyn. "Yr hwn oeddwn o'r blaen yn gablwr, ac yn erlidiwr, ac yn drahaus. Eithr mi a gefais drugaredd, am i mi yn ddiarwybod ei wneuthur trwy annghrediniaeth. A gras ein Harglwydd ni a dra-amlhaodd gyda ffydd a chariad, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu. Gwir yw y gair, ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid; o ba rai penaf ydwyf fi," 1 Tim. i. 13—15.

Y mae Crist yn gwella dolur y pen a dolur y galon; ïe, holl ddoluriau cnawd ac ysbryd. Bechadur crynedig, paid anobeithio. "Ië," ebe y claf, "ni bu neb erioed mor glwyfus ac anafus a myfi." Enaid, paid edrych cymaint ar dy glwyfau, eithr cwyd dy olwg at y Meddyg, yr hwn ni fethodd erioed. Mae ganddo *balsam* sydd yn sicr o fod yn ddigon effeithiol i wella dy hen glwyfau di. Mae yn toddi y galon galetaf, ac yn gwella oddiwrth holl halogrwydd pechod, trwy ei waed ei hun. Er fod dy glwyfau yn ddyfnion, ac wedi cael sefyll yn hir, eto gobeithia yn berffaith, canys y mae y cyfferi yn gryfach na'r dolur. Eithr y mae un clefyd nad yw gwaed Crist yn ei feddyginiaethu. Y mae *un*, fel na

rhyfygoch; nid oes ond un, fel na anobeithioch. Y pechod yn erbyn yr Ysbryd Glân sydd yn anfaddeuol. Os gwyddoch am ryw rai wedi cyflawni y pechod hwn, yr ydych i'w cau allan o'ch gweddiau. "Os gwel neb ei frawd yn pechu pechod nid yw i farwolaeth, efe a ddeisyf, ac efe a rydd iddo fywyd, i'r rhai sydd yn pechu nid i farwolaeth. Y mae pechod i farwolaeth; nid am hwnw yr wyf yn dywedyd ar ddeisyf o hono," 1 Ioan v. 16. Dyma un clefyd anfeddyginiaethol; ac nid oes yr un duedd yn neb ag sydd wedi ei gyflawni i dderbyn maddeuant. Ni fyn fywyd; y mae yn well ganddo drengu gan ddiystyru gwaed Crist, a difenwi Ysbryd y gras; am hyny nid oes obaith mwyach wedi ei adael, gan ei fod yn dirmygu yr unig un sydd mewn bod. "Canys os o'n gwirfodd y pechwn, ar ol derbyn gwybodaeth y gwirionedd, nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach; eithr rhyw ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth, ac angerdd tân, yr hwn a ddifa y gwrthwynebwyr," Heb. x. 26, 27.

Gochelwch gellwair â'r feddyginiaeth, rhag i chwi gael eich gadael yn eich clwyfau i bob tragywyddoldeb. Crist yw y Meddyg goreu; am hyny trowch eich wynebau ato. Efe yn unig sydd yn gwella doluriau yr enaid, y rhan bwysicaf o'r dyn. Gall meddygon eraill wella doluriau yr afu, y prudd-glwyf, a llawer eraill; eithr y mae Crist yn iachau y galon, yn gwella cydwybod euog a halogedig. "Canys ag un offrwm y perffeithiodd efe yn dragywyddol y rhai sydd wedi eu santeiddio," Heb. x. 14. Mae meddygon eraill yn gallu gwella y gareg yn yr arenau, eithr y mae Hwn yn gallu gwella y gareg yn y galon. Yr enaid sydd fod urddasol yn y greadigaeth, yn gymaint ag iddo gael ei greu ar ddelw Duw; ac y mae y meddyg sydd yn gallu gwella clefydau enaid o angenrheidrwydd yn urddasol yn mhlith meddygon. Y mae efe yn gwneyd i'r cleifion deimlo eu doluriau. Er fod pechod yn ddamniol, eto y mae yn anweledig ac yn annheimladwy i filoedd o bechaduriaid. Mae y cythraul wedi rhoddi cyfferi marweiddiol, fel y mae y pechadur claf yn huno hûn marwolaeth; ac nis gall holl felldithion, mellt, a tharanau Sinai ei ddihuno ef. Eithr y mae yr Arglwydd Iesu, y Meddyg mawr, yn ei ddihuno o'i gwsg ysbrydol, ac yn peri iddo deimlo ei ddolur; felly y mae yr achos yn dyfod yn obeithiol. Yr oedd arwyddion bod y dolur yn troi ar geidwad y carchar wedi iddo ddihuno o'i gwsg ysbrydol, a dechreu

gwaeddi allan, "Beth sydd raid i mi ei wneuthur fel y byddwyf gadwedig?"

Y mae yr Arglwydd Iesu yn dangos mwy o gariad tuag at ei gleifion nag un meddyg arall, yr hyn sydd yn ymddangos mewn pump ffordd:—

1. Yn y daith bell a gymerodd o'r nefoedd i'r ddaear i ymweled â hwynt yn eu sefyllfa isel.

2. Y mae yn dyfod heb neb yn ei geisio. Mae y claf, neu ryw un drosto, yn danfon am y meddyg; eithr mae Crist wedi dyfod i chwilio am gleifion i'w gwella. "Ceisiwyd fi gan y rhai ni ymofynasant am danaf; cafwyd fi gan y rhai ni'm ceisiasant: dywedais, Wele fi, wele fi, wrth genedlaeth ni alwyd ar fy enw. Estynais fy llaw ar hyd y dydd at bobl wrthryfelgar, y rhai a rodiant y ffordd nid oedd dda, yn ol eu meddyliau eu hun." Rhyfeddol byth! y mae efe yn dyfod atom mewn trugaredd a thosturi, gan ddeisyf arnom i dderbyn y feddyginiaeth.

3. Tywalltodd y Meddyg hwn ei waed i'n meddyginiaethu; agorwyd ei ystlys ar y pren fel y gallai y byd weled "ymysgaroedd trugareddau."

4. Nid yw anniolchgarwch y cleifion yn peri i Grist eu rhoi i fyny a'u gadael. Y mae meddygon eraill yn troi eu cefnau, ac yn gadael y cleifion i farw o'u rhan hwy. Mae eu hanniolchgarwch a'u ceintachrwydd yn treulio allan eu hamynedd, fel y maent yn ymadael mewn pang, ac yn peidio dyfod yn agos byth mwyach. Yr ydym wedi cam-ymddwyn at Grist, ac wedi ei ddigio lawer o weithiau; eto y mae yn parhau i ddyfod atom; nid yw yn ein rhoddi i fyny; a phan y mae y drws yn nghau yn ei erbyn, y mae efe yn amyneddgar yn sefyll ac yn curo, ac yn fynych yn aros yn hir am dderbyniad. "Pobl y rhai a'm llidiant i yn wastad yn fy wyneb." Mae efe wedi dodi i fyny gydag anniolchgarwch ac anfoesgarwch; ac er y cwbl yn penderfynu i "gwbl iachau."

5. Y mae Crist yn Feddyg rhad. Peth yw clefyd sydd nid yn unig yn treulio y corph, ond y gôd hefyd. Yr oedd y wraig hono â'r dyferlif gwaed wedi treulio pob dimau a feddai wrth geisio cael gwellhad. Mae clefyd trwm mewn teulu yn costio yn ddrud mewn llawer ffordd. "A gwraig, yr hon oedd mewn dyferlif gwaed er ys deuddeg mlynedd, yr hon a dreuliasai ar y physygwyr ei holl fywyd, ac nis gallai gael gan neb ei hiachau, a ddaeth o'r tu cefn, ac a gyffyrddodd ag ymyl ei wisg ef: ac yn y fan y safodd dyferlif ei gwaed hi.

A dywedodd yr Iesu, Pwy yw a gyffyrddodd â mi? Ac a phawb yn gwadu, y dywedodd Pedr, a'r rhai oedd gydag ef, O Feistr, y mae y bobloedd yn dy wasgu, ac yn dy flino; ac a ddywedi di, Pwy a gyffyrddodd â mi? A'r Iesu a ddywedodd, Rhyw un a gyffyrddodd â mi: canys mi a wn fyned rhinwedd allan o honof. A phan welodd y wraig nad oedd hi guddiedig, hi a ddaeth dan grynu, ac a syrthiodd ger ei fron ef, ac a fynegodd iddo yn ngwydd yr holl bobl am ba achos y cyffyrddasai hi ag ef, ac fel yr iachasid hi yn ebrwydd. Yntau a ddywedodd wrthi, Cymer gysur, ferch; dy ffydd a'th iachaodd: dos mewn tangnefedd," Luc viii. 43—48. Hi a oddefasai lawer gan feddygon, medd Marc; ac a dreuliasai gymaint ag oedd ar ei helw, ac ni chawsai ddim llesâd, eithr yn hytrach myned waeth waeth. "Pan glybu hi am yr Iesu, hi a ddaeth yn y dyrfa o'r tu ol, ac a gyffyrddodd â'i wisg ef." Yr oedd y wraig hon wedi dyoddef llawer o boen yn ei chorph oddiwrth feddygon trwy gymeryd eu cyfferi; yr oedd hyny yn ychwanegiad dolur at yr hyn oedd arni. Yr oedd y cyfferi yn gwneyd y clefyd yn waeth ac yn fwy annyoddefol. "Ni chawsai ddim llesâd." Dyoddefodd lawer oddiwrth y meddygon yn ei hamgylchiadau hefyd: er nad oeddynt yn gwneyd dim llesâd iddi hi, yr oeddynt yn gwneyd llesâd iddynt eu hunain; yr oeddynt yn mynu eu biliau, llesâd neu beidio. Felly hi a "dreuliasai gymaint ag oedd ar ei helw." Fe allai, pe buasai ganddi swllt yn ychwaneg, y buasai yn troi at ryw gwac eilwaith; ond yr oedd yn anmhosibl cael *doctor* wedi i'r arian ddarfod; am hyny nid oedd gobaith am wella byth, nid oedd ond marw i fod. Yn y cyfyngder mawr hyn, hi a glywodd am yr Iesu, ac a ddaeth ato; a chwi welwch, dyma iechyd perffaith yn cael ei adferyd ar unwaith, ac heb un *bill* i dalu. Yr oedd clywed son am Iesu yn hyfryd; yr ydoedd yn wawr gobaith o'r newydd ar ol methu yn mhob man.

Y mae y claf yn holi am y meddygon goreu yn mhob man, yn mhell ac yn agos; eithr am yr iach, nid ydynt hwy yn gwybod nemawr am y doctoriaid. Gleifion ysbrydol, deuwch at yr Iesu; y mae eich sefyllfa yn anobeithiol yn mhob man arall. Bendigedig am y dydd y clywodd fy enaid tlawd a chlwyfus am yr Iesu, nes ffurfio ynddo benderfyniad i ddyfod ato. Mi glywais am yr Iesu pan yn las-fachgenyn yn Morganwg, lawer o weithiau cyn croesi trosodd i Fynwy; eithr yr oedd fy enaid heb deimlo ei ddolur, am hyny nid oedd

dim gwerth ynddo. Ond pan y dechreuais deimlo fy nghlefyd, ac heb wybod beth i wneyd; ac wedi bod gyda'r holl feddygon, a methu cael dim llesâd, ac wedi rhoi fyny i farw byth, fe glywodd fy enaid tlawd son am Iesu yn Hope Chapel, yn y Casnewydd, a phenderfynais fyned ato fel yr ymgyrchfa ddiweddaf. Gogoniant! cymerodd y Meddyg mawr at fy ngwellhad heb ofyn dim yn nghylch arian. Bendigedig am y diwrnod. Yr oeddwn wedi treulio y cwbl oedd ar fy elw, ac wedi dyoddef llawer hefyd oddiwrth yr holl feddygon: bu eu cyfferi yn agos a fy lladd. Bum yn ymgynghori â Doctor Sosinus, a Doctor Infidelius, a Doctor Arminus; ïe, yr holl feddygon yn Lloegr, a Ffrainc, ac Itali, a Germani, a phob man arall lle y clywswn am feddyg, nes treulio y cwbl, ac mewn poen dirfawr; yn hytrach yn myned waeth waeth. Diolch! yn Hope Chapel, yn y Casnewydd, mi glywais am y Meddyg anffaeledig pan oedd fy enaid yn y teimlad o'r angen o hono; a'i fod yn Feddyg rhad, nes oedd fy enaid yn llamu o lawenydd. Aethum ato, ac yr wyf yn ei law o hyd; yr wyf mewn gobaith cryf fy mod yn gwella, ac y byddaf yn berffaith iach yn y man: ac y mae y Meddyg wedi dweyd wrthyf na fydd un *bill* i dalu. Bendigedig yn oes oesoedd! ar ei ben y byddo y goron yr awr hon ac yn dragywydd. "Oh deuwch i'r dyfroedd, bob un y mae syched arno; ïe, yr hwn nid oes arian ganddo; deuwch, prynwch win a llaeth, heb arian, ac heb werth," Esay lv. i. Deued y cleifion yn y blaen, y mae eich gwellhad yn sicr; er cymaint sydd wedi eu gwella, y mae y rhinweddau meddygol yn parhau. Diolch! "Am hyny efe a ddichon hefyd yn gwbl iachau y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at Dduw, gan ei fod ef yn byw bob amser i eiriol drostynt hwy," Heb. vii. 25. Nid yw ein *doctor* ni yn marw; y mae "yn byw bob amser." Nid yw byth yn methu iachau; "efe a ddichon hefyd yn gwbl iachau." Gogoniant! er maint fy nolur, y mae yn obeithiol; y mae y clefyd yn troi. Nid yw yr Iesu yn gorchymyn i ni ddyfod â dim ato ef ond calonau drylliog, ac ysbrydoedd cystuddiedig; ac ar ol ein gwella yn holl-iach nid yw yn ceisio dim tâl ond "lloi ein gwefusau," sef mawl a diolchgarwch.

6. Y mae yn iachau yn esmwythach na meddygon eraill. Y maent hwy yn cymhwyso plasterau, yn rhoddi peleni, yn gwaedu, a llawer o bethau eraill, sydd yn mron cynddrwg a'r dolur ei hun. Bydd y Meddyg mawr yn gwella yn fynych

â gair o'i enau. Gwellhaodd y bachgen oedd â chythraul ynddo â gair. Rhyw gythraul ofnadwy oedd hwn hefyd. "A pha le bynag y cymero ef, efe a'i rhwyga; ac yntau a fwrw ewyn, ac a ysgyrnyga ddanedd, ac y mae yn dihoeni. A mi a ddywedais wrth dy ddysgyblion ar iddynt ei fwrw allan, ac nis gallasant. A mynych y taflodd efe ef yn y tân, ac i'r dyfroedd, fel y dyfethai efe ef; ond os gelli di ddim, cymhorth ni, gan dosturio wrthym. A phan welodd yr Iesu fod y dyrfa yn cyd-redeg ato, efe a geryddodd yr ysbryd aflan, gan ddywedyd, Tydi ysbryd mud a byddar, yr wyf yn gorchymyn i ti, Tyred allan o hono, ac na ddos mwy iddo ef," Marc ix. 18. Y mae rhinwedd a nerth yn ngair yr Iesu. Dyma y dyn hwn yn derbyn rhyddid a iachad, ond yn unig iddo ddywedyd y gair. Mae Crist nid yn unig yn meddyginiaethu trwy ei air, ond hefyd trwy ei edrychiad. Mae yn ddigon i'r Arglwydd Iesu edrych arnoch i beri i'ch doluriau ffoi o'i flaen, a pheidio dychwelyd byth mwyach. Toddodd Pedr mewn edifeirwch, ond i Grist edrych arno. "A'r Arglwydd a drodd ac a edrychodd ar Pedr. A Pedr a gofiodd ymadrodd yr Arglwydd, fel y dywedasai efe wrtho, Cyn canu o'r ceiliog y gwedi fi deirgwaith. A Pedr a aeth allan, ac a wylodd yn chwerw-dost," Luc xxii. 61, 62. Yr oedd yr edrychiad yn feddyginiaethol: y mae un edrychiad oddiwrth Grist yn ddigon i ddarostwng yr enaid i'r llwch, a'i godi i fyny i ogoniant. Y mae Dafydd yn gweddio yn daer am i Dduw edrych arno. "Edrych arnaf, a thrugarha wrthyf, yn ol dy arfer i'r rhai a garant dy enw," Sal. cxix. 132.

7. Crist yw y Meddyg mwyaf calon-dyner. Y mae ei ddyoddefiadau ef wedi dybenu, ond y mae ei gyd-oddef yn parhau. Mae ei gydymdeimlad mor fawr a'i wybodaeth a'i fedrusrwydd. O, fel y mae yn tosturio wrth enaid claf a chlwyfus! "Pa fodd y'th roddaf ymaith, Ephraim? y'th roddaf i fyny, Israel? pa fodd y'th wnaf fel Adma, ac y'th osodaf megys Seboim? Trodd fy nghalon ynof, a'm hedifeirwch a gyd-gyneuwyd. Ni chyflawnaf angerdd fy llid, ni ddychwelaf i ddinystrio Ephraim; canys Duw ydwyf fi, ac nid dyn; y Sanct yn dy ganol di; ac nid âf i mewn i'r ddinas," Hos. xi. 8, 9. O, y Duw anfeidrol, y mae dy drugaredd yn annhraethadwy! Nid yw efe, fel y meddygon yn gyffredin, yn ddibris am deimladau a bywydau y cleifion, ac yn gwneyd *experiments*, *kill or cure*, nid gwaeth pa un, ryw lawer. Na; y mae efe yn cyfartalu y cyfferi â nerth cyfan-

soddiad y claf, yn gwylio eu heffeithiau bob moment; ac nid yw yn ymddiried yr achos i neb o'i law ei hun. Mae cyfferi yn nwylaw yr annghyfarwydd wedi lladd yn agos cymaint a chlefydau; y maent weithiau yn rhy gryf, weithiau yn rhy wan, weithiau yn annghymhwys; ac o ganlyniad yn niweidiol ac yn farwol. Nid oes yr un camsyniad byth gan ein Meddyg mawr ni; y mae pob peth yn ei le, a phob peth yn ateb y dyben amcanedig. Efe a rydd weithiau gyfferi gweinion ac adfywiol, brydiau eraill rhai cryfion iawn; yn ol fel y byddo natur y dolur, a grym y cyfansoddiad.

Y mae yn ysigo y claf; eithr nid ydyw byth yn tori y gorsen ysig, nac yn diffodd llin yn mygu; efe a ddeil eu penau a'u calonau pan yn llesmeirio; ac a geidw yr enaid rhag marw â *chordials* ei addewidion. Weithiau y mae y peleni yn chwerwon, eto y maent yn sicr o feddyginiaethu. "Efe sydd yn iachau y rhai briwedig o galon." A phan y maent mewn poen dirfawr yn griddfan o dan ei law, O fel y mae yn cydymdeimlo ac yn cyd-oddef, fel pe bai pob ucheneid yn myned trwy ei galon. Ni chânt ond cymaint ag sydd yn eisiau i'r dim; ni roddir un gronyn yn y cyfferi yn fwy nag a fydd yn iachusol. "Wrth fesur, pan êl allan, yr ymddadleu ag ef: y mae yn atal ei wynt garw ar ddydd dwyrein-wynt. Am hyny trwy hyn y glanheir anwiredd Jacob; a dyma yr holl ffrwyth, tynu ymaith ei bechod," Esay xxvii. 8, 9. Pan y mae yn gorfod rhoi ambell belen chwerw i ddadwreiddio rhyw hen ddolur, o herwydd trugaredd anfeidrol ei galon y mae yn cyfranogi yn y teimlad chwerw y mae yn achosi i'r claf. "Canys nid oes i ni Arch-offeiriad heb fedru cydddyoddef gyda'n gwendid ni; ond wedi ei demtio yn mhob peth yr un ffunud a ninau, eto heb bechod." Bendigedig! O dan law y Meddyg mawr y byddom, fy nghyfeillion, nes dyfod yn berffaith iach. "Am hyny awn yn hyderus at orseddfainc y gras, fel y derbyniom drugaredd, ac y caffom ras yn gymhorth cyfamserol," Heb. iv. 15, 16.

8. Y mae Crist yn berffaith gydnabyddus â'ch doluriau. Bydd meddygon yn camsynied yn fynych natur y clefyd, ac o ganlyniad yn cymhwyso pethau annghymhwys ac anmhriodol, y rhai sydd yn lladd y claf, ac nid ei wella. Maent, o herwydd camsynied y clefyd, yn rhoi pethau i boethi a gwresogi, yn lle pethau i oeri, ac felly yn cynorthwyo y dolur i ladd y dyn, ac nid cynorthwyo y dyn i ladd y dolur. A chwi wyddoch, pan y byddo *fever* a *spleen* yn cydgyfarfod, y

mae y pethau sydd yn gwella un yn gwaethu y llall, ac felly y mae yn anhawdd iawn i iachau y dyn hwnw. Eithr y mae cyfferi y Meddyg mawr yn gwella bob cynyg; nid ydynt yn cyduno ag un dolur; y maent yn lladd yr holl ddoluriau, yn iachau oddiwrth yr holl glefydau; y maent yn anffaeledig yn eu gweithrediadau. Bendigedig! Os balchder fydd y dolur, gweinydda gyfferi cystuddiau i'w wella; ac y mae hyny fynychaf yn *certain cure.* Fe drodd y brenin Nebuchodonosor i'r borfa i gael ei wella o chwydd gwyn balchder, ac fe atebodd y moddion yr amcan; daeth yr holl chwydd i lawr; braidd y gallesech ei adnabod pan ydoedd yn dychwelyd gartref o'r borfa. Yr oedd wedi dyfod ato ei hun, ac i faintioli cymedrol, ac yn edrych ac yn gweithredu yn debyg i ddyn rhesymol, ac yn ei iawn bwyll. "Yr awr hono y cyflawnwyd y gair ar Nebuchodonosor, ac y gyrwyd ef oddiwrth ddynion, ac y porodd wellt fel eidionau, ac y gwlychwyd ei gorph ef gan wlith y nefoedd, hyd oni thyfodd ei flew ef fel plu eryrod, a'i ewinedd fel ewinedd adar. Ac yn niwedd y dyddiau, myfi Nebuchodonosor a ddyrchefais fy llygaid i'r nefoedd, a'm gwybodaeth a ddychwelodd ataf, a bendithiais y Goruchaf, a molienais a gogoneddais yr hwn sydd yn byw byth, am fod ei lywodraeth ef yn llywodraeth dragywyddol, a'i freniniaeth hyd genedlaeth a chenedlaeth," Dan. iv. 33, 34, Fe ddarfu i'r Meddyg mawr *prescribio* porfa at wella balchder; ac y mae y driniaeth yn ateb y dyben; y mae y chwydd yn dyfod i lawr, a dyma y brenin yn ystwytho, ac wedi dyfod i ddeall mai Duw sydd oruchaf, ac yntau yn greadur gwael.

Os diogi fydd y dolur, y mae yn ei wella trwy gymhwyso rhyw wirionedd cynhyrfiol ac adfywiol. "Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ddyn o honoch fydd â chanddo un ddafad, ac os syrth hono mewn pwll ar y dydd Sabbath, nid ymeifl ynddi a'i chodi allan? Pa faint gwell gan hyny ydyw dyn na dafad? felly rhydd yw gwneuthur yn dda ar y Sabbathau." "Ymdrechwch am fyned i mewn trwy y porth cyfyng: canys llawer, meddaf i chwi, a geisiant fyned i mewn, ac nis gallant." "Ac os braidd y mae y cyfiawn yn gadwedig, pa le yr ymddengys yr annuwiol a'r pechadur?" Mat. xii. 11; Luc xiii. 24; 1 Pedr iv. 18. Os y dolur fydd y gareg yn y galon; y mae efe weithiau yn cymeryd gordd y ddeddf yn ei law, ac yn ei tharo yn ddrylliau mân, a phrydiau eraill yn arllwys ei gariad i'r fynwes, a'i thoddi yn fwynaidd. *He dissolves the heart in infinite love.* Os llesmair annghrediniaeth yw y

dolur, y mae ganddo *gordial* adgyfnerthol yn yr ysgrythyrau i fywiocâu ac adnewyddu. Mae yn dywedyd, "Wele fy ngwasanaethwr, yr hwn a ddewisais; fy anwylyd, yn yr hwn y mae fy enaid yn foddlon: gosodaf fy Ysbryd arno; ac efe a draetha farn i'r Cenedloedd. Nid ymryson efe, ac ni lefain; ac ni chlyw neb ei lais yn yr heolydd. Corsen ysig nis tyr, a llin yn mygu nis diffydd, hyd oni ddygo efe allan farn i fuddugoliaeth. Ac yn ei enw ef y gobeithia y Cenedloedd. Canys fel hyn y dywed y Goruchel, a'r dyrchafedig, yr hwn a breswylia dragywyddoldeb, ac y mae ei enw yn Santaidd, Y goruchelder a'r cysegr a breswyliaf; a chyda'r cystuddiedig a'r isel o ysbryd, i fywhau y rhai isel o ysbryd, ac i fywhau calon y rhai cystuddiedig. Canys nid byth yr ymrysonaf, ac nid yn dragywydd y digiaf: o herwydd yr ysbryd a ballai o'm blaen i, a'r eneidiau a wnaethum i. Ei ffyrdd a welais, a mi a'i iachaf ef: tywysaf ef hefyd, ac adferaf gysur iddo, ac i'w alarwyr." Esay lvii. 15—18.

9. Nid yw y cyfferi byth yn aneffeithiol yn llaw y Meddyg mawr. Er holl fedrusrwydd y meddygon goreu sydd yn y byd, y mae llawer iawn o aflwyddiant. Yn fynych y mae y cleifion yn meirw o dan eu dwylaw. Ond ni bu neb farw erioed o dan ddwylaw yr Arglwydd Iesu; mor sicr ag i ti ddyfod yno, ti âi oddiyno wedi cael perffaith wellhad. Os cymerwyd di i mewn i ysbyty Mab Duw, ti ddeui allan nid ychydig yn well, eithr wedi dy wella yn llwyr; dy "gwbl iachau." "Tra fum gyda hwynt yn y byd, mi a'u cedwais yn dy enw: y rhai a roddaist i mi a gedwais; ac ni chollwyd o honynt ond mab y golledigaeth; fel y cyflawnid yr ysgrythyr. Ac yr awr hon yr wyf yn dyfod atat ti: a'r pethau hyn yr wyf yn eu llefaru yn y byd, fel y caffont fy llawenydd i yn gyflawn ynddynt eu hunain," Ioan xvii. 12, 13. Nid oedd Judas wedi ei roddi iddo, ni dderbyniwyd ef fel claf i'r ysbyty, onide buasai yntau hefyd wedi ei iachau. Fy nghyfeillion, rhoddwch eich hunain iddo, y mae yn ddigon sicr na wnewch farw byth o dan ei ddwylaw, eithr fe'ch gwelir wedi eich iachau yn llwyr yn y man. Fe allai y byddwch yn sâl iawn, yn griddfan lawer diwrnod o dan bwys trwm eich cystuddiau; ac y teimlwch y nos yn hir ac yn drymaidd, gan ymdroi yn fynych, a dymuno gweled y cyf-ddydd; a'ch gwely yn foddfa gan ddagrau o herwydd eich doluriau; er hyn i gyd, cymerwch gysur, y mae y Meddyg yn drech na'ch doluriau; gwella ac nid marw a wnewch. Mae Crist yn

arllwys ei *balsam* anffaeledig i'r clwyfau. ac hefyd yn tywallt ei weddiau per-aroglaidd drosot i'r nefoedd, y rhai sydd yn iachau awyr yr ystafell fel y mae iechyd yn cael ei dynu i mewn gyda phob anadl. Gogoniant! y mae yr ystafell yn cael ei pher-arogli bob dydd â gweddiau y Meddyg mawr. "Ac nid wyf mwyach yn y byd. ond y rhai hyn sydd yn y byd: a myfi sydd yn dyfod atat ti: y Tad santeiddiol, cadw hwynt trwy dy enw, y rhai a roddaist i mi; fel y byddont un megys ninau," Ioan xvii. 11.

Ni chaiff satan ddanod byth i Grist fod neb o'i gleifion wedi marw. Na; "chwi y rhai oeddych yn glynu wrth yr Arglwydd eich Duw, byw ydych heddyw oll. Nid â'n tadau ni y gwnaeth yr Arglwydd y cyfamod hwn, ond â nyni; nyni, y rhai ydym yn fyw bob un yma heddyw;" Deut. iv. 4; v. 3. Glynwch wrth gyfarwyddyd y Meddyg. fy nghyfeillion; os ydyw y ddracht yn chwerw, y mae yn feddyginiaethol; y mae y bywyd yn ddyogel. Diolch! "Ni byddaf farw, ond byw; a mynegaf weithredoedd yr Arglwydd." Crist yw y "bara bywiol." "Os bwyty neb o'r bara hwn, efe a fydd byw yn dragywydd: a'r bara a roddaf fi yw fy nghnawd i, yr hwn a roddaf dros fywyd y byd. Byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd. A phwy bynag sydd yn fyw, ac yn credu ynof fi, ni bydd marw yn dragywydd. Canys nis gallant farw mwy," Sal. cxviii. 17; Ioan xi. 26; Luc xx. 36.

10. Y mae y Meddyg hwn yn gwella nid yn unig ein clefydau, ond hefyd ein hafluneiddrwydd. Eithaf yr holl feddygon yw gwneyd dyn yn iach; ond os bydd wedi ei afluneiddio. nis gallant ei brydferthu. Fe wellodd llawer yn dda o'r frech; eto y mae ei hol hi yn drwm arnynt; y mae eu hwynebau wedi anmhrydferthu. Gwellwyd y clwyfau gafwyd ar y pen a'r wyneb; ond y mae y creithiau yn aros, y rhai sydd yn anafu prydferthwch y wedd. Eithr Crist sydd nid yn unig yn rhoddi iechyd, ond harddwch hefyd. Nid yn unig y mae pechod wedi ein gwneyd yn glaf, ond hefyd yn anmhrydferth; y mae wedi ein hanffurfio a'n gwneyd yn atgas. Bendigedig fyddo enw ein Meddyg mawr, yr hwn sydd yn ein gwella a'n prydferthu; yn ein gwneyd nid yn unig yn ddibechod, ond hefyd yn ddifrychau. Nid yw efe yn meddwl ein bod wedi ein gwella yn llwyr, nes y mae wedi ein llunio yn hollol ar ei ddelw ogoneddus ei hun. "Y ffigysbren a fwriodd allan ei ffigys irion, a'r gwinwydd â'u

hegin grawn a roddasant arogl teg. Cyfod di, fy anwylyd, a thyred di, fy mhrydferth. Fy ngholomen, yr hon wyt yn holltau y graig, yn lloches y grisiau, gâd i mi weled dy wyneb, gâd i mi glywed dy lais; canys dy lais sydd beraidd, a'th olwg yn hardd," Can. ii. 13, 14. Y mae yr anwylyd yn edrych yn dda yn awr; yn hardd ac yn ogoneddus; eithr gwisgoedd hardd, a *jewels* ardderchog y Meddyg sydd yn ei gwneyd felly; y mae efe nid yn unig yn meddyginiaethu, ond hefyd yn addurno. Mae efe yn Haul cyfiawnder, â meddyginiaeth yn ei esgyll: ac nid yn unig meddyginiaeth, ond hefyd gwisgoedd cyfiawnder, i ddilladu yn brydferth yr hwn gynt fuasai yn glaf ac anafus, tlawd, a noeth, fel yr ymddangoso mewn prydferthwch anfarwol ger bron Duw, a cher bron yr angylion santaidd. "A rhyfeddod mawr a welwyd yn y nef; gwraig wedi ei gwisgo â'r haul, a'r lleuad dan ei thraed, ac ar ei phen goron o ddeuddeg seren," Dat. xii. i.

11. Crist yw y Meddyg mwyaf haelfrydig. Y mae cleifion eraill yn cyfoethogi y meddygon, ond yma y mae y meddyg yn cyfoethogi yr holl gleifion. Mae efe yn eu dyrchafu o'r cystudd mawr i uchder gogoniant Duw; yn eu gwella, ac yn eu coroni. "Nac ofna ddim o'r pethau yr ydwyt i'w dyoddef. Wele, y cythraul a fwrw rai o honoch chwi i garchar, fel y'ch profer; a chwi a gewch gystudd ddeng niwrnod. Bydd ffyddlon hyd angau, a mi a roddaf i ti goron y bywyd." Nid yn unig y mae yn eu codi i fyny oddiar wely cystudd, a'u dyrchafu o fedd pechod, ond hefyd eu dyrchafu i fyny i'r orseddfainc; y mae efe yn rhoddi nid yn unig iechyd, ond nefoedd.

Yn olaf. Y mae Crist yn cymeryd at hen glefydau, ac yn sicrhau eu gwellhad. Bydd meddygon yn dweyd yn aml fod y dolur wedi myned yn rhy hen, fod yn anmhosibl ei wella, ei fod wedi gwreiddio yn rhy ddwfn yn y cyfansoddiad. Fel hyn y mae llawer wedi eu gadael gan y meddygon i farw heb geisio eu gwella mwy, yn gymaint a bod eu clefydau wedi myned yn rhy hen ac ystyfnig. Ac wrth y rhan fwyaf o'r cleifion y maent yn dywedyd, "Yr ydoedd bron wedi myned yn rhy ddiweddar; pe buasech ychydig oriau yn hŵy cyn danfon am y *doctor*, buasai yn *all over*." Mae yn wir fod hen glefydau pechod yn ystyfnig, ac wedi cymeryd gafael yn yr holl gyfansoddiad; er hyny deuwch at yr Iesu, y mae efe yn dywedyd y cymer at eich gwellhad. Ni ddywed, Pe buasit yn dyfod yn gynt buasai gobaith; ond yn awr y mae y

dolur yn rhy hen, y mae yn anwelladwy. Na; tyred fel yr wyt ti, a thyred yn eon hefyd; ti âi yn iach o ba glefyd bynag a pha oedran bynag. Yr oedd y lleidr ar y groes yn ngafael hen glefyd marwol, ac wedi myned yn hen iawn; ac oni buasai iddo gyfarfod â Christ ar y groes, buasai wedi myned yn rhy hen i'w wella; buasai wedi marw yn dragywyddol. Yr oedd ei glwyf yn hen ac yn grawnllyd; yn ystyfnig ac anwelladwy i bawb oedd ar y ddaear, nac yn y nefoedd ychwaith; y mae yr unig feddyg a'r unig feddyginiaeth yn ei ymyl, a dyna safiodd ei fywyd. Yr oedd yn dda iddo y diwrnod hwnw fod meddyg o hyd galw, onide yr oedd hi *all over* am byth mwy. Galwodd, pan oedd ar drengu, ar y Meddyg, ac efe a waredodd ei fywyd o ddystryw. "Arglwydd," eb efe, "cofia fi;" a chyda hyny, dyma y feddyginiaeth yn rhedeg o glwyfau y Meddyg i glwyfau y lleidr, nes ydoedd yn berffaith iach cyn pen nemawr o oriau. "Heddyw y byddi gyda mi yn mharadwys." Gogoniant! "Pwy a ŵyr na olchir finau?" Mae yr hen leidr wedi ei gwbl iachau; aeth y cyfferi yn gryfach na hen glefydau marwol pechod. Bendigedig! mi ymddiriedaf ynddo byth.

"Mae ffynon hyfryd lawn o waed,
A redodd ar y bryn;
Y pechaduriaid dua' gaed
A olchir ynddi'n wyn.

Bu'r lleidr aflan un prydnawn
Yn edrych arni'n llon;
A minau olchir, sydd yn llawn
Mor frwnt ag ef, yn hon.

Anwylaf Oen! dy werthfawr waed
Ni chyll ei rinwedd mwy,
Nes bo prynedig deulu Duw
Yn iach, heb bla na chlwy!

Yr oedd Zacheus yn hen bechadur; yr oedd ei glefyd wedi sefyll yn hir; *organic disease* ydoedd, ac wedi hen sefydlu yn ei gyfansoddiad, a phob arwyddion marwolaeth yn ei natur. Hen dwyllwr, hen gam-achwynwr, hen gribddeiliwr ydoedd; ïe, yr oedd yn haner lleidr, os nid ychwaneg; yr ydoedd yn hen bob peth ag oedd yn ddrwg. Ond danfonodd yr Arglwydd Iesu belen iddo gymeryd ar ben y sycamorwydden, ac wedi iddo lyncu hono y mae arwyddion uniongyrchol fod y dolur yn dechreu troi, a'r hen beswch o gam-achwyn yn gwellhau; y mae yn disgyn yn y fan wedi colli yr hen *asthma* bron yn llwyr. "Ac efe a ddisgynodd ar frys, ac a dderbyn-

iodd yr Arglwydd Iesu yn llawen. A Zacheus a safodd, ac a ddywedodd wrth yr Arglwydd, Wele, haner fy na, O Arglwydd, yr ydwyf yn ei roddi i'r tlodion; ac os dygais ddim o'r eiddo neb trwy gam-achwyn, yr ydwyf yn ei dalu ar ei bedwerydd. A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Heddyw y daeth iachawdwriaeth i'r tŷ hwn," Luc xix. 6—8. Byddai yr Arglwydd Iesu yn gwella cyrph ac eneidiau dynion bob dydd, a phob awr o'r dydd a'r nos; yn foreu ac yn hwyr. Yr oedd wedi myned yn hwyr ar lawer; mor ddiweddar a'r pump mynyd olaf; eto os cyfarfyddent â'r Iesu yn hwyr y dydd, yr oedd gwawr a gobaith ar eu hachos. Yr oedd efe yn athrawiaethu yn y synagog yn Capernaum, yn iachau ac yn bwrw allan gythreuliaid; ac wedi hyny yn myned i mewn i dŷ Pedr, ac yn gwella chwegr Pedr o gryd blin; ac felly yn parhau wrthi nes wedi machlud haul. "A phan fachludodd yr haul, pawb a'r oedd ganddynt rai cleifion o amryw glefydau, a'u dygasant hwy ato ef; ac efe a roddes ei ddwylaw ar bob un o honynt, ac a'u hiachaodd hwynt. A'r cythreuliaid hefyd a aethant o lawer, dan lefain a dywedyd, Ti yw Crist, Mab Duw," Luc iv. 40, 41. O Arglwydd Iesu, tyred yn nes atom, canys y mae bron wedi myned yn fachlud haul. Y mae yn iachau rhai pan y byddo haul bywyd *yn* machlud; eithr nid wedi iddo fachlud. Achubir rhai ar yr unfed awr ar ddeg; ond peidiwch ymddiried yn yr awr hono. Dywedir hyn wrth y rhai ag sydd wedi bod mor anffortunus ag esgeuluso eu tymhor goreu ar y ddaear, ag sydd eisoes yn yr awr hono, fel na byddont yn digaloni ac anobeithio; ac nid i'r dyben o beri i chwi esgeuluso eich amser, gan ymddiried i'r awr hono am iachawdwriaeth.

Yn awr, gwnawn ychydig gasgliadau oddiwrth yr hyn a ddywedwyd.

1. Peidiwch cuddio eich clefydau. Dangoswch hwynt i'r Meddyg. Mae dynion wedi dyoddef a marw o herwydd fod arnynt gywilydd arddel eu clefydau, a'u dangos i'r *doctor*. Bydd y drygionus yn ddiau yn cymeryd mwy o boen a thrafferth o lawer i guddio eu clefydau na'u cyffesu, a gweddio am wellhad. "Y neb a guddio ei bechodau, ni lwydda; ond y neb a'u haddefo, ac a'u gadawo, a gaiff drugaredd."

2. Bydded i'th glefyd dy ddarostwng i'r llwch. Pe byddai wyneb hardd gan fenyw, ond y *cancer* yn y fron, ni byddai yn debyg o fyned yn falch byth o herwydd ei thegwch, y mae y *cancer* yn ddigon byth i'w chadw yn ostyngedig;

byddai poen y fron yn ddigon i gadw y galon rhag ymfalchio o herwydd prydferthwch y wyneb. Yr ydym yn darllen am y brenin Uzziah, iddo godi i enwogrwydd annghyffredinol; "Canys yn rhyfedd y cynorthwywyd ef, nes ei gadarnhau. Ond pan aeth yn gryf, ei galon a ddyrchafwyd i'w ddinystr ei hun; canys efe a droseddodd yn erbyn yr Arglwydd ei Dduw; ac efe a aeth i mewn i deml yr Arglwydd i arogl-darthu ar allor yr arogl-darth." Cariodd ei falchder ef mor bell ag anturio yn groes i bob rheol i ymgymeryd â'r swydd offeiriadol, ac ni fynai wrando ar neb. Yr ydoedd yn digio ac yn ffromi wrth bawb oedd yn beiddio dywedyd wrtho am beidio cyffwrdd â'r swyddau santaidd; felly yn mlaen yr aeth yn ei ben-rhyddid a'i hunanoldeb i draws-feddianu y swydd offeiriadol, ac arogl-darthu ger bron yr Arglwydd. Eithr y mae yr Arglwydd yn dyfod allan i'w gyfarfod; os ydoedd yn drech na dynion, y mae Un sydd yn drech nag ef yn dyfod allan i'w gyfarfod yn awr. Dacw y brenin balch yn cael ei daro â gwahan-glwyf yn ei dalcen ger bron yr holl offeiriaid. Nid gwiw son am gryfder, mawredd, a gogoniant bellach; y mae y gwahan-glwyf yn y talcen; dyma ddigon i ddod â phob mawredd i lawr i'r llwch. Och! dacw y gwychder a'r ardderchogrwydd a phob peth yn warth ac yn ffieidd-dra. "Ac Uzziah y brenin a fu wahan-glwyfus hyd ddydd ei farwol-aeth, ac a drigodd yn wahan-glwyfus mewn tŷ neillduol; canys efe a dorasid ymaith o dŷ yr Arglwydd," 2 Cron. xxvi. 21. Ymostyngwch, peidiwch codi eich trwynau ac edrych i fyny i'r awyr; canys yr ydych yn wahan-glwyfus. Peidiwch edrych ar eich dillad hardd, a'ch tlysau gwerthfawr, a myned yn feilchion; canys y mae y gwahan-glwyf o danynt. Peid-iwch ymddiried i'ch aur a'ch arian, a pheidiwch ymfalchio yn eich tai a'ch tiroedd; yr ydych yn wahan-glwyfus; ac oddieithr i chwi gyfarfod â'r Meddyg anffaeledig, byddwch yn rhy gywilyddus i gael eich derbyn i dŷ yr Arglwydd; cewch eich cau allan o'r palas breninol, a marw yn dragywydd mewn gwarth a chywilydd.

Yr oedd Naaman y Syriad yn wr mawr yn ngolwg ei argl-wydd, ac yn anrhydeddus; canys trwyddo ef y rhoddasai yr Arglwydd ymwared i Syria: ac yr oedd yn wr cadarn nerthol, ond yr oedd yn wahan-glwyfus. Er ei holl ragor-iaethau i gyd, y mae un *ond* yn dinystrio y cwbl, ac yn di-flasu yr holl fwynhad. "Ond yr oedd efe yn wahan-glwyfus." Saint y Goruchaf, ymostyngwch; peidiwch gadael i'ch don-

iau a'ch grasusau ysbrydol eich tra-dyrchafu. Y mae yn wir fod genych ddoniau a grasusau ardderchog a gogoneddus; *jewels* y drydedd nef ydynt; y maent fel cadwynau am eich gyddfau; ond y mae y gwahan-glwyf yn drewi o dan y cwbl. Peidiwch byth, fy nghyfeillion, a cholli eich golwg ar y gwahan-glwyf; na cholli eich teimlad ychwaith o'i atgasrwydd. Y teimlad o'n bod yn wahan-glwyfus a'n gwnelo yn ostyngedig gyda phob peth ac yn mhob man, yn enwedig ger bron yr Arglwydd. Y mae y gwahan-glwyf wedi dinystrio ein heddwch, am hyny dylai hefyd ddarostwng ein balchder.

3. Gan fod pechod y fath glefyd marwol, ofnwch. Pan y mae clefyd mewn tŷ bydd y teulu yn ofni rhag iddo ddybenu yn angeuol. Ofned y meddwyn, rhag i'r clefyd ddybenu mewn marwolaeth; ofned y tyngwr, rhag i'w lwon fod yn farwol; ofned y godinebwr, ofned y torwr Sabbathau; ïe, ofned pawb, rhag i'r doluriau hyn ddybenu yn angau diddiwedd. Yr wyf yn ofni fod y dwymyn wedi codi i benau miloedd, nes ydynt yn annheimladwy o'u clefydau; maent yn teimlo eu hunain yn berffaith iach, a hwythau yn mron tynu yr anadliad olaf. Mae y *fever* wedi codi i benau miloedd o hen feddwon Cymru yn y dyddiau hyn, a hen dyngwyr a hen fasweddwyr hefyd, o ran hyny; ïe, pechaduriaid o bob math; y maent yn credu eu bod yn iach, fod pob peth yn dda ac yn gysurus, a hwythau o fewn ychydig i syrthio i'r "llyn sydd yn llosgi â thân a brwmstan." Gwelir hwynt â'r cwpan yn eu dwylaw yn yfed iechyd da i'w cyd-feddwon yr wythnos hon, a chyn yr wythnos nesaf yn drachtio o gwpan digofaint Duw yn oes oesoedd. Bechaduriaid, beth ydych yn feddwl am ddrachtio byth o'r cwpan ofnadwy hwn? Ni chewch hamdden i'w dynu oddiwrth eich mîn, i yfed iechyd da i neb byth mwyach. Bobl, diangfa, diangfa! Trowch eich wynebau at y Meddyg mawr cyn iddo gau y siop i fyny. Bydd llawer yn syrthio i ryw fath o drymgwsg yn eu hafiechyd, fel y maent yn hollol annheimladwy, ac yn cysgu hûn marwolaeth heb deimlo eu hangau. Mae arnaf ofn, y mae yr Arglwydd yn gwybod, fod miloedd yn Nghymru y dyddiau hyn wedi syrthio er ys amser i drymgwsg calon—*lethargy of heart*—ac y byddant feirw heb deimlo eu doluriau erioed; ac mai tân anniffoddadwy fydd yn eu dihuno byth. Mae y dyn yn cysgu yn swn taranau Sinai, yn cysgu yn swn llefau cryf a dagrau Mab Duw, yn cysgu yn swn y gair "gorphenwyd," yn cysgu yn swn cymhelliadau taer yr efengyl,

yn cysgu yn swn gweddiau y saint, yn cysgu yn swn y farn ddiweddaf yn ngweinidogaeth y gair, yn cysgu yn swn angau ei gymydogion; och, y mae fy nghalon yn crynu rhag nad oes dim a'i dihuna ond cwymp i'r pwll diwaelod, i ganol fflamiau na ddiffydd byth! "Beth fydd diwedd y rhai nad ydynt yn ufuddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist?" Gellwch ganu y gloch uwch ben y dyn hwnw sydd â chalon annghrediniol, a chydwybod "wedi ei serio â haiarn poeth;" nid ydyw yn mhell o'r pwll diwaelod, y mae dydd ei gladdedigaeth yno yn sicr o fod gerllaw. Y Nefoedd a drugarhao wrth y wlad annuwiol.

4. Cofiwch fod terfyn i foddion gras fod yn iachawdwriaeth. Deuwch mewn pryd at y Meddyg, cyn fod y Meddyg wedi rhoddi heibio y fusnes. Mae amser yn fyr, cofiwch, ac y mae angau yn cerdded yn gyflym; *death is on the quick march;* ac nid oes meddyginiaeth yn y bedd, lle yr ydych chwi yn myned. Mae rhai yn meddwl y gwna ychydig o ddagrau a gweddiau ar wely angau y tro i feddyginiaethu holl ddoluriau a chlwyfau oes. Och, twyll ydyw i gyd. Deuwch at y Meddyg yr awr hon, onide gall fod yn rhy ddiweddar yr awr nesaf. Bydd pangfeydd marwolaeth yn llawn ddigon i'w dyoddef, heb fyned o dan bangfeydd yr adenedigaeth hefyd ar yr un pryd. Gobeithio y bydd pangfeydd argyhoeddiad wedi darfod pan y bydd pangfeydd marwolaeth yn cydio ynom. Peidiwch meddwl y bydd yn beth hawdd i waedu yr hen Adda i farwolaeth pan y byddoch yn rhy wan i ymdroi yn y gwely; cewch weled fod yr hen Adda yn gryf, a bod eisiau cryfder mawr i'w ladd. Nid yw y gwahan-glwyf mor hawdd i'w wella ag y mae miloedd yn tybied; am hyny diangwch yr awr hon at y Meddyg.

5. Peidiwch beio y pregethwr sydd yn eich chwilio, ac yn eich deffroi o'ch cwsg. Pwy yn ei synwyr all feio y meddyg am rhoddi peleni chwerwon, pan y mae yr amcan i achub y bywyd? Nid yw y claf yn rhoddi pwys ar chwerwder y cyfferi, ond iddynt fod yn effeithiol i ladd y dolur a iachau y corph. Yr wyf yn ofni fod y meddygon yn rhy wan yn mhwlpudau Cymru i wella y clefyd cryf hwn; ïe, y mae canoedd o bwlpudau yn ei gryfhau, yn lle ei wanhau a'i ladd. Gyda phwys yr wyf yn dywedyd, fod canoedd o bregethwyr yn Nghymru a Lloegr nad ydynt ddim amgen na gweision bach i'r cythraul, i siglo y cryd i roddi dynion i gysgu yn eu pechodau hûn marwolaeth dragywyddol. Mae

yr îs-feddygon hyn yn cymysgu y cyfferi sydd yn cryfhau y dolur, ac yn lladd y dyn. Maent yn cymysgu gweithredoedd da a gwaed y groes am ben eu gilydd; yn tynu Duwdod Crist allan, ac yn rhoddi ei ddynoliaeth yn unig yn y belen; yn tynu yr Ysbryd Glân allan, ac yn rhoi ewyllys rhydd yn ei le yn y belen: felly os ceir dynion i lyncu y peleni hyn, bydd y feddyginiaeth yn waeth na'r clwyf. Y mae y cyfferi yn farwol, yn wenwyn perffaith, yn lladd fel na byddo meddyginiaeth. O bobl, dewch at y Meddyg mawr ei hun, dewch "at y gair ac at y dystiolaeth; oni ddywedant yn ol y gair hwn, hyny yw am nad oes oleuni ynddynt." Gwell yw i'r moddion fod yn chwerw, a'r effeithiau yn felus, nag i'r moddion fod yn felus, a'r effeithiau yn chwerwder tragywyddol.

6. Ymwrthodwch â phob peth sydd â thuedd i gryfhau eich clefydau. Bydd y meddygon yn cynghori y cleifion beth i fwyta a pheth i yfed mewn gwahanol ddoluriau, canys y mae rhyw fwydydd a diodydd yn cryfhau clefydau. Byddant yn cynghori y rhai sydd mewn *fevers* i beidio cyffwrdd â chig hallt, ac â gwin, na dim arall fyddo yn poethi. Fel hyn ymdrechir newynu y clefyd, a chryfhau y cyfansoddiad. Pwy yn ei synwyr a bortha elyn? Gelyn eich eneidiau yw pechod; ymdrechwch ei newynu, onide fe'ch newyna chwi am dragywyddoldeb. Meddwon, newynwch eich meddwdod trwy ymwrthod yn llwyr â thafarndai, onide byddwch mewn syched byth, ac heb ddim i'w dori yn fuan. Ieuenctyd, newynwch eich chwantau trwy gilio oddiwrthynt, onide hwy a ymgryfhant o'r diwedd yn ddigon i'ch sathru byth o dan draed. Mae bwyta pechod yn cryfhau pechod, ac yn lladd y pechadur.

7. Ymogelwch rhag rhyw fân bechodau. Cofiwch fod clefydau cyffredin yn lladd fel y pla dinystriol. Fy nghyfeillion, ymunwch â mi i fendithio y Meddyg mawr am ei drugaredd, ei ofal, a'i amynedd, yn glynu wrthym er ys cynifer o flynyddoedd, ac yn penderfynu glynu hyd nes y delom yn berffaith iach. "Deuwch, gwrandewch, y rhai oll a ofnwch Dduw, a mynegaf yr hyn a wnaeth efe i'm henaid." Y mae wedi gwella fy enaid clwyfus. Bendigedig! dewch yn y blaen, y rhai oll sydd yn ofni yr Arglwydd, i edrych ar y gwellhad. Edrychwch ar y *cure*, a chanmolwch y Meddyg. Y mae llawer o'm cyfoedion wedi myned i uffern yn eu clwyfau; ond o drugaredd yr Arglwydd dyma fi o dan law y Meddyg, ac mewn gobaith cryf y caf wella yn holl-iach.

Diolch! Gwnewch fel y bydd dynion yn gwneyd yn gyffredin ar ol derbyn gwellhad rhyfeddol; dywedwch wrth bawb am y moddion a'ch meddyginiaethodd, a chanmolwch y Meddyg ddarfu roddi i chwi y *prescription.*

Mae y Meddyg wedi eich gwella o gysgadrwydd a marweidd-dra; gochelwch syrthio yn ol eto, clwyfo eich hunain o'r newydd, a gorfod myned o dan eich clwyfau i ryw fesur i'r bedd. Gochelwch glafychu mewn gwrthgiliadau. Gan fod pechod, fel clefydau eraill, yn heintus, cedwch yn mhell oddiwrtho. Byddwch fel Lot yn Sodom; er ei fod yn nghanol anniwair ymarweddiad yr anniweiriaid, eto ni chymerodd clefydau y ddinas afael arno; diangodd oddiwrthynt oll. Cymerwch ofal yn y ffeiriau a'r marchnadoedd, a phan eich gelwir i blith y meddwon, oblegyd y mae clefydau pechod yn heintus iawn. Gochelwch hefyd glefydau proffeswyr ysgafn; "ciliwch oddiwrth y cyfryw," canys y "mae ymddyddanion drwg yn llygru moesau da." Y mae clefydau dychrynllyd, ïe, marwol, yn nglŷn â phroffeswyr ysgafn. Deuwch allan o'u canol hwynt. Ymdrechwch yn erbyn pechod yn mhob rhyw fodd. Deuwch bob dydd, ac yn aml bob dydd, at y Meddyg; a chewch deimlo eich hunain yn y man yn rhydd oddiwrth eich holl glefydau, ac oddiwrth y perygl o'u cael byth mwyach. Yr wyf yn credu, fy nghyfeillion, fod moddion yr efengyl yn cytuno yn dda â fy nolur; y mae hi yn gwella fy nghorph a fy enaid. Gogoniant! Yr oeddwn yn teimlo fy hun yn sâl iawn wrth ddyfod tuag yma heddyw yn fy nghorph, ac yn sâl hefyd o ran fy enaid; ond bendigedig! y mae y cwrdd hwn wedi fy ngwella; nid wyf yn teimlo dim ond rhinwedd y feddyginiaeth yn gweithredu iachawdwriaeth dragywyddol. Bendigedig yn oes oesoedd! Yr wyf fi, fel y gwyddoch, yn ddarostyngedig i amryw ddoluriau; y maent yn mron wedi bwyta fy nghnawd oddiar fy esgyrn eisoes, fel na fydd gwledd fawr i bryfed mân y llwch; er hyny yr wyf yn meddwl y "caf weled Duw yn fy nghnawd, yr hwn a gaf i mi fy hun ei weled, a'm llygaid a'i gwelant, ac nid arall; er i'm harenau ddarfod ynof." Gogoniant! Ni bydd gwayw yn y pen, na phruddglwyf, na dim o'r cyfryw. "Yr hwn a gyfnewidia ein corph gwael ni, fel y gwneler ef yn un ffurf â'i gorph gogoneddus ef; yn ol y nerthol weithrediad trwy yr hwn y dichon efe, ïe, ddarostwng pob peth iddo ei hun," Phil. iii. 21.

Dyma foreu y bydd y corph egwan hwn sydd o'ch blaen

heddyw yn berffaith iach, yn gryf, heb wendid, yn gymhwys at wasanaethu Duw ddydd a nos. Dyma foreu y gwelir fy enaid tlawd, llygredig heb gymaint ag un meddwl llygredig ynddo. Henffych y boreu! Bydd Sïon Duw, er yn eiddil heddyw yn ymlusgo trwy yr anialwch, yn werth ei gweled y dydd hwnw. "Fel y santeiddiai efe hi, a'i glanhau â'r olchfa ddwfr trwy y gair; fel y gosodai efe hi yn ogoneddus iddo ei hun, yn eglwys heb arni na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw; ond fel y byddai yn santaidd a difeius." Dyma ddydd y bydd y Meddyg wedi dileu pob clefyd o'r holl gyfansoddiad: ni bydd clefyd mwyach. "Ac fe sych Duw ymaith bob deigr oddiwrth eu llygaid hwynt; a marwolaeth ni bydd mwyach, na thristwch, na llefain, na phoen, ni bydd mwyach; oblegyd y pethau cyntaf a aeth heibio," Dat. xxi. 4. Mae y Meddyg yn dywedyd eich bod yn hollol allan o berygl yn awr, ond eich bod yn weinion, a'r dolur heb ymadael â chwi yn llwyr; eithr yn fuan byddwch yn ddiboen, ac yn gryfion am dragywyddoldeb. O dan law y Meddyg y byddo yr holl gynulleidfa hon. Amen.

# PREGETH XXI.

## GWYNFYDEDIGRWYDD Y MEIRW YN YR ARGLWYDD.

"Ac mi a glywais lef o'r nef yn dywedyd wrthyf, Ysgrifena, Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, medd yr Ysbryd, fel y gorphwysont oddiwrth eu llafur; a'u gweithredoedd sydd yn eu canlyn hwynt," Dat. xiv. 13.

Yr ydym yn darllen yn y benod hon am chwech angel yn pregethu bob un o honynt bregeth ardderchog. Yr angel cyntaf sydd yn pregethu dan ehedeg yn nghanol y nef. Mae hwn yn cyhoeddi iachawdwriaeth ar ehedeg, yn frysiog, a chyda sel tanllyd. "A mi a welais angel arall yn ehedeg yn nghanol y nef, a'r efengyl dragywyddol ganddo, i efengylu i'r rhai sydd yn trigo ar y ddaear, ac i bob cenedl, a llwyth, ac iaith, a phobl; gan ddywedyd â llef uchel, Ofnwch Dduw, a rhoddwch iddo ogoniant; oblegyd daeth awr ei farn ef: ac addolwch yr hwn a wnaeth y nef, a'r ddaear, a'r môr, a'r ffynonau dyfroedd." Mae yr ail angel yn pregethu pregeth ar gwymp Babilon, y butain fawr. "Ac angel arall a ddylynodd, gan ddywedyd, Syrthiodd, syrthiodd Babilon, y ddinas fawr hono; oblegyd hi a ddiododd yr holl genedloedd â gwin llid ei godineb." Mae y trydydd angel yn pregethu pregeth ar y perygl o wasanaethu y bwystfil Rhufeinig, a derbyn ei ddelw. "A'r trydydd angel a'u dylynodd hwynt, gan ddywedyd â llef uchel, Os addola neb y bwystfil, a'i ddelw ef, a derbyn ei nod ef yn ei dalcen, neu yn ei law; hwnw hefyd a ŷf o win digofaint Duw, yr hwn yn ddigymysg a dywalltwyd yn phiol ei lid ef; ac efe a boenir mewn tân a brwmstan yn ngolwg yr angylion santaidd, ac yn ngolwg yr Oen." Y pedwerydd angel sydd yn pregethu ar addfedrwydd y ddaear i farn; ac yn anog Mab y dyn, yr hwn oedd yn eistedd ar y cwmwl, i fwrw ei gryman i mewn, a tharo yn nghyda'r cynhauaf yn uniongyrchol. "Ac angel arall a ddaeth allan o'r deml, gan lefain â llef uchel wrth yr hwn oedd yn eistedd ar y cwmwl, Bwrw dy gryman i mewn, a meda; canys daeth yr amser i ti i fedi; oblegyd addfedodd cynhauaf y ddaear." Y pumed angel sydd yn dyfod allan â chryman yn ei law yn barod i dori i lawr y gwinwydd diffrwyth; ac y mae y chweched angel yn dyfod allan oddiwrth yr allor, yn gorchymyn iddo fwrw ei gryman i mewn yn ddioed. "Bwrw i mewn dy gryman llym, a chasgl gangenau gwinwydden y ddaear; oblegyd addfedodd ei grawn hi."

Bydd yn amser ofnadwy yn y byd pan y bydd y gerwyn yn cael ei sathru, a'r gwaed yn llifo allan o honi, "hyd at ffrwynau y meirch." Och o'r diwrnod! Eithr yn nghanol y cwbl, y mae y "rhai sydd yn cadw gorchymynion Duw a ffydd Iesu" yn ddyogel. Diolch. "Ac mi a glywais lef o'r nef yn dywedyd wrthyf, Ysgrifena, Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, medd yr Ysbryd, fel y gorphwysont oddiwrth eu llafur; a'u gweithredoedd sydd yn eu canlyn hwynt."

Y mae geiriau y testun yn rhan o bregeth y trydydd angel. Y testun sydd mewn cysylltiad agos, ac yn ymddibynu ar y geiriau blaenorol; y mae y cwbl yn lleferydd yr un angel. Angel oedd y pregethwr y tro hwn; yr oedd Duw y nefoedd yn danfon cenadwri at ei wasanaethwr Ioan, a holl oesoedd y byd, trwy angel o'r nef. Llwybr cyffredin y Nefoedd i bregethu i ddyn yw trwy ddynion; ond yma y mae yn defnyddio angel o'r nefoedd. Angel yw y pregethwr y tro hwn, y nefoedd yw y pwlpud, Ioan oedd y gwrandawr. "Mi a glywais lef o'r nef yn dywedyd wrthyf." Gwrandawodd Ioan drosto ei hun yn y lle cyntaf, ac yna gorchymynwyd iddo ysgrifenu y bregeth i ni.

"Ysgrifena." Y mae Ioan yn llygad-dyst, ac yn glust-dyst o athrawiaeth y llyfr hwn: y mae efe yn dywedyd yn aml, "Mi a edrychais, ac wele Oen yn sefyll ar fynydd Sïon;" ac yn yr ail adnod y mae yn dywedyd iddo glywed: "Ac mi a glywais lef o'r nef, fel llef dyfroedd lawer, ac fel llef taran fawr: ac mi a glywais lef telynorion yn canu ar eu telynau." Yn y drydedd adnod ar ddeg, sef adnod ein testun, y mae yn clywed eto: "Ac mi a glywais lef o'r nef, yn dywedyd wrthyf, Ysgrifena, Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd;" ac yn y bedwaredd adnod ar ddeg y mae yn edrych: "Ac mi a edrychais; ac wele gwmwl gwyn; ac ar y cwmwl un yn eistedd tebyg i Fab y dyn." Felly y mae Ioan yn edrych, yn gweled, ac yn clywed ryw lawer o weithiau yn ysbaid y gweledigaethau sydd yn gynwysedig yn y llyfr hwn. Yr ydym yn darllen yn y seithfed adnod fod y pregethwr angylaidd yn cyhoeddi y pethau hyn â "llef uchel." "Gan ddywedyd â llef uchel, Ofnwch Dduw; a rhoddwch iddo ogoniant." Yr oedd yn anmhosibl i'r gwrandawr gamsynied a chamddeall, canys yr oedd y geiriau yn cael eu llefaru yn uchel ac yn eglur. Mae pregeth yr angel

hwn yn cynwys y geiriau o'r nawfed adnod hyd ddiwedd adnod ein testun. Pwnc y bregeth yw,—

1. Dinystr y drygionus yn y byd hwn a'r byd nesaf.

2. Gwaredigaeth y duwiol allan o'u holl brofedigaethau yn y byd presenol, a'u gwaredigaeth byth, yn nghyda'u dedwyddwch mewn byd dyfodol.

3. Trefn y bregeth, yr hon sydd yn athrawiaeth a chymhwysiad.

Y rhan athrawiaethol sydd yn cynwys adnodau 8, 9, 10, 11. Mae cwymp Babilon yn cael ei drin a'i fynegi; "Syrthiodd, syrthiodd Babilon," &c. Bydd y pläau mwyaf dychrynllyd ac ofnadwy yn disgyn ar annghrist, a phawb a ymlynant mewn unrhyw ddull wrth ei lywodraeth, yn nghyda'r holl annuwiol o bob math. Y mater hwn sydd yn cael ei egluro yn y nawfed a'r ddegfed adnod; y rhai sydd yn gosod allan helaethrwydd a llymdostrwydd y gospedigaeth. "Os addola neb y bwystfil, a'i ddelw ef, a derbyn ei nod ef yn ei dalcen neu yn ei law; hwnw hefyd a ŷf o win digofaint Duw, yr hwn yn ddigymysg a dywalltwyd yn phiol ei lid ef; ac efe a boenir mewn tân a brwmstan yn ngolwg yr angylion santaidd, ac yn ngolwg yr Oen." Gwin digofaint Duw; gwin madrondod ydyw; gwin a wna i bwy bynag a yfo o hono gael ei daro â syndod, ac yn wallgof byth. Ië, gwneir pwy bynag a'i hyfo yn gynddeiriog; bydd yn wylo a rhincian danedd mewn poenau tragywyddol heb wybod beth i wneyd. Bydd y gwin yn ddigymysg, heb gymaint a dyferyn o drugaredd. "Canys barn ddidrugaredd fydd i'r hwn ni wnaeth drugaredd," Iago ii. 13. Mae yn wir fod tân a brwmstan yn gymysg â'r gwin hwn; ond ychydig o gysur sydd yn y cymysg hwnw; y mae yn gwneyd y cwpan yn fwy ofnadwy byth. Bydd yfed mawr yn uffern; eithr drachtio tân a brwmstan y byddis, ac nid dwfr oer; yfed y peth sydd yn cynyddu y syched byth, ac nid yn ei dori. Mae yr unfed adnod ar ddeg yn datgan tragywyddoldeb y gospedigaeth. "A mwg eu poenedigaeth sydd yn esgyn i fyny yn oes oesoedd: ac nid ydynt hwy yn cael gorphwysdra ddydd na nos." Nid yw trueni yr annuwiol yn y bywyd hwn ond "dechreuad gofidiau;" bydd y diwedd yn ddiddiwedd. Nid oes desgrifiad o gospedigaeth mwy ofnadwy yn llyfr Duw na hwn. O Arglwydd daionus, gwared ni, er mwyn cospedigaeth angau y groes, rhag bod yn ngafael y gospedigaeth ofnadwy hon.

Cymhwysiad yr athrawiaeth yn mhregeth yr angel sydd yn ddeublyg.

(1.) Y mae efe yn llefaru mewn ffordd o *hysbysiad* yn y ddeuddegfed adnod: "Yma y mae amynedd y saint." Dyma yr amser y bydd eu hamynedd yn weledig mewn ymarferiad. Pan y bydd barnau Duw ar y ddaear yn gospedigaethol ar yr annuwiol, y maent yn cael eu defnyddio hefyd yn brofion ar ffydd ac amynedd y saint. Mae yn hawdd ddigon rhwyfo ar fôr tawel a llyfn; ond i'r dyben i gyfarfod ag ymchwydd tonau cynddéiriog, ac ystormydd a thymestloedd geirwon, heb fyned yn ddrylliau, a gwneyd llong-ddrylliad am y ffydd a chydwybod dda, sydd yn gryn bwnc. Nid oes neb ond cristionogion "cwbl oll" yn myned trwy y profion hyn yn ddyogel; wedi "ymdrechu ymdrech deg, a chadw y ffydd." Y cristion "o fewn ychydig" sydd yn rhy wan, fel Agrippa; y mae yn rhaid fod yn gwbl oll fel Paul, onide yr ydym yn sicr o syrthio fel Babilon fawr, fel maen melin i ddyfnder y môr. Pan y byddo barnau ofnadwy ar y ddaear, y mae amynedd y saint yn cael cyfleusdra i ymeglurhau; y pryd hwnw y mae y rhai ag sydd yn cadw gorchymynion Duw a ffydd Iesu yn dyfod fwyaf i'r golwg.

Ond fe allai y gofyn rhyw rai, "Pa fodd y mae eu hamynedd yn cael ei brofi trwy y barnau a dywelltir ar deyrnas y bwystfil?" Pa bryd bynag y mae y drygionus yn gorfod yfed cwpan digofaint yn y byd hwn, y maent yn ymlanw â chabledd yn erbyn Duw, ac nid oes yr un ffordd i'w ollwng allan ond mewn ymddial, trwy erledigaethau gwaedlyd ar saint y Goruchaf. Yn mhob oes o'r byd yr ydym wedi gweled hyn; Duw yn tywallt ei farnau ar y gau grefyddwyr, ac ar yr annuwiolion yn gyffredinol, a hwythau eu digofaint hyd yr eithaf ar y saint. Os bydd yr Arglwydd yn tywallt ei farnedigaethau, fe brofir amynedd y saint. "Wel, os felly," ebe rhywun, "nid oes gwahaniaeth rhwng y da a'r drwg; gallwn ddywedyd gyda y dynion llygredig yn y prophwyd Malachi, 'Oferedd yw gwasanaethu Duw; a pha lesiant sydd er i ni gadw ei orchymynion ef, ac er i ni rodio yn alarus ger bron Arglwydd y lluoedd?' Os gwna yr Arglwydd oddef y cyfiawn i gael eu lladd gan y drygionus, y mae yn well i ni fod yn ddrygionus nag yn gyfiawn." Cofiwch y testun, fy nghyfeillion, ac yna cewch weled y gwahaniaeth sydd rhyngddynt. Mae y testun yn dyfod i mewn yn ddefnydd cysur yn nghanol drygfyd dychrynllyd. Os gwna y gorthrymwyr

hafog o'ch cyrph, fe gymer Duw ofal am eich eneidiau; os lleddir eich cyrph gan ddwylaw gwaedlyd y gorthrymwyr, os collwch eich bywydau, yr hyn a ystyrir y golled fwyaf yn y byd hwn; eto y mae gwynfydedigrwydd yn canlyn yn fuan: "Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, medd yr Ysbryd, fel y gorphwysont oddiwrth eu llafur."

Gogoniant! y mae y testun yn cynwys cysur a nerth i bobl yr Arglwydd yn eu holl ddyoddefiadau mewn cysylltiad â'i achos bendigedig ar y ddaear. Os oes *gwaith* i amynedd yn yr adnodau blaenorol, y mae *ymborth* i amynedd yn yr adnod hon, i'w nerthu i ymadael nid yn unig ag un aelod o'r corph, eithr yr holl aelodau; ïe, yr holl gorph, er mwyn yr Arglwydd Iesu, y Pen. Cynwys y testun ddigon i beri i ni adael yn ewyllysgar ac yn llawen bob peth sydd ar y ddaear, canys y mae coron anniflanedig yn y nefoedd mewn golwg. Gallwn golli ein bywydau yn llawen, ac ymadael â glyn wylofain yn gysurus, os bydd bywyd tragywyddol mewn golwg ar fynydd Sion. Pan byddo barnau Duw ar y ddaear y maent yn profi nid yn unig amynedd y saint, ond eu ffydd hefyd. Y maent yn dyfod â ffydd i weithrediad mwy grymus, fel ag i edrych ar y nefoedd trwy ganol uffern; *and see eternal life in present death.* Bendigedig! y mae ffydd yn gweled dedwyddwch y nef, a gorphwysfa dawel y saint, trwy ganol tân a brwmstan barnau Duw. Yr oedd ffydd y merthyron, yn nghanol tân y ddaear, yn credu Duw ar ei air, na chollid un o wallt eu penau, gan eu bod oll dan gyfrif. Credwch, gan hyny, ei fod ef yn gofalu am danoch chwi a throsoch chwi. Cymerwch gysur yn nghanol mwg a thân; yr ydych yn werthfawr yn ngolwg eich Tad; y mae pob deigryn yr ydych yn wylo ger ei fron ef yn berl; pob dafn o waed a gollir mewn cysylltiad â'i enw a'i achos yn rubi, yn *ddiamond* i'w gosod yn nghoronau eich gogoniant yn dragywydd.

Cafodd y merthyron waith caled i gredu yn Nuw pan oedd yr holl ddaear a holl uffern yn eu herbyn, ac, mewn ymddangosiad, yr holl nefoedd hefyd. Eithr i gadarnhau eu ffydd a'u hamynedd yn y fath amser profedigaethus, y mae yr Arglwydd Iesu yn cyhoeddi o'r nefoedd ei fod yntau ei hun wedi bod yn druenus yn y bywyd hwn, ond ei fod yn awr wedi myned trwy angau, a sefydlu yn gysurus yn nghanol gwynfydedigrwydd tragywyddol; ac y cânt hwythau, er yn druenus yn y byd, fod yn gysurus yn angau, wrth ymadael

â'r byd, ac yn wynfydedig byth y tu draw iddo. Y peth gwaethaf y gall eich gelynion wneyd i chwi yw lladd y corph, ac ni bydd hyny na mwy na llai na'ch gosod ar unwaith mewn dedwyddwch tragywyddol. Beth bynag y mae yr enaid yn ddywedyd yn groes i farw, ac am loesion chwerwon angau, y mae yr Ysbryd Glân yn dywedyd yn uwch o lawer, "Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, fel y gorphwysont oddiwrth eu llafur." Y mae cnawd yn dywedyd fod marw yn arswydus, eithr yr Ysbryd sydd yn dywedyd fod marw yn gysurus; y mae cnawd yn dywedyd fod marw yn dywyllwch, ond yr Ysbryd sydd yn dywedyd fod "goleuni yn yr hwyr;" y mae cnawd yn dywedyd fod marw yn ddarfod, y mae yr Ysbryd yn dywedyd fod marw yn ddechreu; y mae cnawd yn dywedyd fod marw yn ddrwg mawr, y mae yr Ysbryd yn dywedyd fod marwolaeth yn well na genedigaeth—"dydd marwolaeth yn well na dydd genedigaeth;" y mae cnawd yn dywedyd fod marwolaeth yn gwywo pob gobaith, y mae yr Ysbryd yn dywedyd fod marw yn ddrws gobaith, yn borth y nef, ac yn fynediad i mewn i "dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist, yr hwn a ddyddimodd angau, ac a ddyg fywyd ac anllygredigaeth i oleuni trwy yr efengyl." "Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, medd yr Ysbryd." Bendigedig! y mae yr Ysbryd yn llefaru yn uwch na holl gnawd y byd, yn boddi swn y ddaear yn ei leferydd, ac yn codi fy enaid gwan o'r dyfnderoedd i fyny. Diolch! Yr wyf yn meddwl y clywaf ei lais y fynyd hon yn dywedyd yn ngeiriau yr efengyl, nes y mae ofn angau wedi gorfod ffoi o'm corph a'm hysbryd. Yr oeddwn bron marw y boreu heddyw; tybiais nas gallwn byth esgyn i risiau y pwlpud yma, ac yn ofni mai marw y buaswn cyn pen nemawr o amser bellach, a chael fy nghuddio mewn bedd tywyll: yr oedd y pruddglwyf yn mron fy lladd. Gogoniant! y mae lleferydd yr Ysbryd wedi gwella fy nghorph a'm hysbryd; wedi gyru ofn allan o'm cyfansoddiad, wedi curo yr hen bruddglwyf dros y drws, ac wedi ymlid tywyllwch y bedd yn mhell oddiwrthyf. Diolch! y mae llef yr Ysbryd wedi fy nghodi ar fy nhraed; yr wyf yn teimlo fy hun yn goncwerwr mawr, ïe, yn "fwy na choncwerwr" ar angau a'r bedd. O Ysbryd Glân, dywed heddyw nes codi dy bobl uwchlaw tywyllwch pruddaidd y bedd.

Ni adawn y merthyron yn bresenol, fy nghyfeillion, a

deuwn at y testun, i edrych arno fel *cordial* hyfryd i'r holl eglwys, ac i bob aelod unigol ynddi, yn mhob oes o'r byd, ac yn mhob sefyllfa a gwlad. Nid yn unig y mae y meirw sydd yn marw marwolaeth annaturiol yn wynfydedig, ond yr holl feirw sydd yn marw yn yr Arglwydd, bydded eu marwolaeth yn naturiol neu yn annaturiol. Y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd ar eu gwelyau gartref yn gystal a'r rhai sydd yn marw mewn tân a ffagodau. Nid yn unig y rhai sydd yn marw *dros* yr Arglwydd, eithr y rhai ddichon farw unrhyw ffordd arall, ond yn marw *yn* yr Arglwydd. Y mae marw mewn undeb â'r Arglwydd yn wynfydedig, er marw mewn newyn a noethni, marw ar y domen, neu yn y lle gwaethaf yn y byd. "Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd." Mae hyn yn *gordial* cyfnerthol, fy nghyfeillion; yn enwedig pan ystyriom yr hyn sydd yn myned o'r blaen a'r hyn sydd yn canlyn. Y mae llef o'r nef yn myned o'r blaen, gan gyhoeddi gwynfydedigrwydd y "meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd," yr hyn sydd yn rhoddi hawl a grym yn y titl i ddedwyddwch. Rhagymadroddir y bregeth â llef o'r nef. "Ac mi a glywais lef o'r nef yn dywedyd, Ysgrifena, Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd;" ac yn canlyn y mae tystiolaeth yr Ysbryd yn sel wrth y dystiolaeth. "O hyn allan, medd yr Ysbryd, fel y gorphwysont oddiwrth eu llafur, a'u gweithredoedd sydd yn eu canlyn hwynt." Bendigedig, y mae y *title deed* yn dda; nis gall holl lysoedd y pwll diwaelod ei dori byth. Mae y llef o'r nef a thystiolaeth yr Ysbryd yn yn dyfod at yr eglwys gyda gosgordd fawr iawn, yn debyg fel yr oedd y frenines Seba yn dyfod at Solomon. "A hi a ddaeth i Jerusalem â llu mawr, a meini gwerthfawr." Eithr beth yw holl *drain* y frenines Seba at y *train* o fendithion diddiwedd y mae yr efengyl yn eu dwyn at bechaduriaid. Dyma "lef o'r nef," a'r holl nefoedd yn osgordd ogoneddus yn eu dylyn. Yn ein testun, fy nghyfeillion, y mae rhyw drysorau anmhrisiadwy, cyfoeth na dderfydd byth, a gwynfydedigrwydd perffaith.

1. Dyma etifeddiaeth fawr: "gwyn eu byd y meirw." Edrychwch ar uchder, dyfnder, hyd, a lled, yr etifeddiaeth yn y geiriau hyn: "Y maent yn gorphwys oddiwrth eu llafur, a'u gweithredoedd sydd yn eu canlyn hwynt."

2. Dyma etifeddion yr etifeddiaeth: "y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd."

3. Yr amser y maent yn dyfod i hawl gyflawn o'r etifeddiaeth: yn angau, pan y maent yn "marw yn yr Arglwydd." Maent y pryd hwnw yn myned i mewn i'r etifeddiaeth dragywyddol, a'r orphwysfa dawel.

4. Tragywyddoldeb y mwynhad: "o hyn allan." Y maent yn cymeryd meddiant o'r ystad yn angau, ac yn cychwyn ar y mwynhad; eithr ni bydd diwedd yn oes oesoedd—y mae y *title* yn *freehold property*—"o hyn allan." Tangnefedd i bara byth ydyw.

5. Dyma weithredoedd yr etifeddiaeth mewn ysgrifen: "Ysgrifena, Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan." Nid hawl draddodiadol ydyw, eithr hawl gyfreithiol a gwirioneddol, wedi ei hysgrifenu a'i *henrolio* yn llyfr bywyd yr Oen.

6. Dyma dystion y gweithredoedd. Yr holl nefoedd, a'r holl ddaear, Duw a dyn. "Llef o'r nef yn dywedyd;" yr holl nefoedd yn tystiolaethu yn y llef hon. Ioan a'r Ysbryd ar y ddaear. Mae digon i brofi gwirionedd y gweithredoedd hyn. Chwi welwch fod yma dystiolaeth ddynol; y mae Ioan, ein brawd a'n cydymaith mewn cystudd, yn un o'r tystion wrth y *deed*. Eb efe, "Mi a edrychais; mi a welais; mi a glywais." Dyma hefyd dystiolaeth ddwyfol: "medd yr Ysbryd." Clywodd Ioan "lef o'r nef yn dywedyd;" eithr y mae yr Ysbryd yn tystiolaethu byth ar y ddaear o hyny hyd yn awr, nid trwy lefain o'r nefoedd, ond trwy selio gwirioneddau yr efengyl yn y galon. "Yn cyd-dystiolaethu â'n hysbryd ni, ein bod ni yn blant i Dduw." Wel, fy nghyfeillion, dyma'r mater yn oleu; y mae pob peth yn dda; dyma hen *deeds* y drydedd nef yn berffaith; dyma ditl ansigledig. "Cyfamod tragywyddol a wnaeth efe â mi, wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr." Gogoniant yn oes oesoedd.

"Plant ydym eto dan ein hoed,
Yn dysgwyl am y 'stad;
Mae etifeddiaeth i ni'n dod,
'Nol testament ein Tad."

Y mae diafol yn ceisio tori yr hen *ditle deeds* yn fynych trwy ddadleu yn eu herbyn, ac ymdrechu fy mherswadio nad oes genyf un rhan na chyfran yn fy Nuw; ac yr wyf lawer diwrnod yn mron ildio y mater iddo, a syrthio i anobaith byth, gan benderfynu myned i garchar tragywyddol. Bendigedig, yr wyf yn teimlo fy nhroed ar wâr y gelyn heddyw; y mae fy ffydd mor gryf ag eiddo Abraham; mae yr hen wirionedd-

au, yr hen lwon, yr hen addewidion fel mynyddoedd cedyrn o dan fy nhraed, y rhai ni syflant byth.

"Dyfais fawr tragywyddol gariad ydyw'r iachawdwriaeth lawn,
Sail cyfamod hedd sy gadarn, ac nis derfydd byth mo'i ddawn;
Dyma'r fan y gorphwys f'enaid, dyma'r fan y byddaf byw,
Mewn tangnefedd pur heddychol, yn mhob 'stormydd gyda'm Duw.

Syfled iechyd, syfled bywyd, cnawd a chalon yn gytun;
Byth ni syfla amod heddwch, hen gytundeb Tri yn Un:
Dianwadal yw'r addewid, cadarn byth yw cynghor Duw;
Cysur yw i'r neb a gredo'n haeddiant Iesu i gael byw."

Haleluia. Eled mynyddoedd y Birlwn a'r Garth i ganol y môr; "nid ofnaf niwed; yr wyt ti gyda mi; dy wialen a'th ffon a'm cysurant." Diolch. Edrychwch, fy nghyfeillion, ar yr hen Fibl yma sydd yn fy llaw; dyma hen *ditle deeds* yr etifeddiaeth dragywyddol, y rhai a bery yn oes oesoedd. "Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Os gellwch ddyddimu fy nghyfamod â'r dydd, a'm cyfamod â'r nos, ac na byddo dydd a nos yn eu hamserau; yna y dyddimir fy nghyfamod â Dafydd fy ngwas, na byddo iddo fab yn teyrnasu ar ei deyrngadair ef, ac â'r Lefiaid yr offeiriaid fy ngweinidogion. Megys na ellir cyfrif llu y nefoedd, ac na ellir mesur tywod y môr; felly myfi a amlhaf had Dafydd fy ngwas, a'r Lefiaid y rhai sydd yn gweini i mi. Oni weli di pa beth y mae y bobl hyn yn ei lefaru, gan ddywedyd, Y ddau deulu a ddewisodd yr Arglwydd, efe a'u gwrthododd hwynt? felly y dirmygasant fy mhobl, fel nad ydynt mwyach yn genedl yn eu golwg hwynt. Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Os fy nghyfamod â'r dydd, ac â'r nos ni saif, ac oni osodais i ddefodau y nefoedd a'r ddaear; yna had Jacob a Dafydd fy ngwas a wrthodaf fi, fel na chymerwyf o'i had ef lywodraethwyr ar had Abraham, Isaac, a Jacob; canys mi a ddychwelaf eu caethiwed hwynt, ac a drugarhaf wrthynt," Jer. xxxiii. 20—26. Dyma yr hen *ditle deeds*, fy nghyfeillion, nis dyddimir hwynt yn dragywyddol; y maent wedi eu selio â sel fy anwyl Briod; dyma y sel coch, "gwaed Iesu Grist ei Fab ef yn glanhau oddiwrth bob pechod." "Haws yw i'r nef a'r ddaear fyned heibio, nag i un iot na thipyn ballu." Bendigedig! y mae satan yn gorfod ffoi allan o'r *court*, y mae y *trial* yn myned yn ei erbyn, y mae hen *deeds* y teulu yn rhy eglur. *Here are the old family papers, satan; look at them.* Y mae yn ffoi yn gywilyddus o'r llys; hen leidr ac ysbeiliwr ydyw. Gogoniant! "O angau pa le y mae dy golyn? o uffern pa le y mae dy fuddugoliaeth?"

Y mae ein hawl i'r etifeddiaeth dragywyddol yn cael ei brofi hefyd yn ein cydwybodau ein hunain; *the court of conscience.* Mae genym ddadleuwr o fewn yn egluro ein hawl yn wyneb hen *deeds* y teulu. Y mae yn profi ein bod ni yn blant; "ac os plant, etifeddion hefyd." Os ydych yn blant i'r Arglwydd, yr Arglwydd yw eich rhan a'ch etifeddiaeth. Pan y byddoch yn marw ynddo, cyhoeddir chwi yn wynfydedig yn dragywydd. Yr ydym wedi darllen yn y Bibl fod heddwch i'r saint yn eu diwedd, a'u bod yn myned i dangnefedd; ac yr ydym wedi gweled hyn yn rhai o'r duwiolion wrth farw; yr oedd yn ddigon amlwg fod y nefoedd yn llifo yn helaeth i'w calonau cyn eu bod hwy yn myned i mewn i'r nefoedd: yr oeddynt yn ddedwydd ac yn wynfydedig eu meddyliau yn yr afon. Yr wyf yn gobeithio, fy nghyfeillion, na fyddwch byth yn amheu y gwirionedd hwn mwyach, ac os daw satan atoch i geisio eich dyrysu, cerddwch ar eich gliniau, ac ysgubwch y llwch ymaith oddiar yr hen *ditle deeds*, a rhowch hwynt iddo i'w darllen.

Os oes arnoch eisiau ychwaneg o dystion am wynfydedigrwydd y meirw, y rhai sydd yn "marw yn yr Arglwydd;" gallwn ychwanegu tystiolaethau aneirif allan o'r Hen Destament a'r Testament Newydd; y maent yn rhy aml i'w gosod i lawr yma. Lluaws o ddynion drwg, a chythreuliaid uffern hefyd, sydd wedi gorfod, o'u hanfodd, gadarnhau y dystiolaeth hon, fod y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd yn wynfydedig. Balaam y dewin sydd yn dywedyd fod y cyfiawn yn wynfydedig, er ar yr un pryd yn ceisio eu melldithio. Y mae hefyd yn dymuno marw fel hwythau, yn yr Arglwydd, er byw i'r cythraul yn ei oes. "Pwy a rif lwch Jacob, a rhifedi pedwaredd ran Israel? Marw a wnelwyf o farwolaeth yr uniawn; a bydded fy niwedd fel yr eiddo yntau," Num. xxiii. 10. Mae yn rhaid i gythreuliaid uffern gyfaddef fod y saint yn dianc o'u gafael hwynt yn angau; maent yn myned i rywle lle y mae yn anmhosibl iddynt hwy gyffwrdd â hwynt byth mwyach. Unwaith yr elont trwy "lyn cysgod angau," y mae uffern yn colli ei golwg arnynt am byth; gan hyny y mae yn ddigon sicr eu bod wedi cyrhaedd tangnefedd; a'u bod yn wynfydedig "o hyn allan."

Yn awr, pa fodd y mae yn bosibl i ddyn ddyfod i hawl o'r gwynfydedigrwydd a'r dedwyddwch tragywyddol hwn? Pa fodd y gall dyn, yr hwn sydd wedi ei eni yn druenus, farw yn wynfydedig yn yr Arglwydd? Rhaid i chwi ffoi at Iesu

Grist; y mae digon yn ei angau ef i'ch cuddio rhag y drwg sydd yn eich angau chwi: y mae cysgod yn angau Iesu; ond dyfod yno, chwi deimlwch heddwch yn yr Arglwydd yn nghanol holl ystormydd y byd; ac fe wna yr undeb hwn â'r Arglwydd yn Nghrist Iesu, "ddyffryn Achor yn ddrws gobaith," a phorth angau yn borth y bywyd. Gadewch i angau ddyfod yn ei ffurfiau mwyaf dychrynllyd ac ofnadwy, y mae y dyn hwn yn wynfydedig. Mae yn wir ei fod yn marw fel eraill; y mae corph ac enaid yn ymwahanu oddiwrth eu gilydd, ond y mae yn "marw yn yr Arglwydd," ac y mae marw yn yr Arglwydd yn gwneyd marwolaeth yn fendith, ac nid yn felldith. Dyma ddyn sydd yn byw yn gystal a marw yn yr Arglwydd.

Y mae y testun hwn mor werthfawr a chynwysfawr, fel na ddylem fyned heibio un sill heb sylwi yn fanwl arni. Un llais o'r nef ydyw y cwbl, ac y mae rhyw beroriaeth nefol yn y llais; y mae yn rhyw fiwsig sydd yn codi fy enaid o'r llaid i'r lan. Gogoniant! Dyma beroriaeth y nefoedd, yr hon sydd yn fwy cerddgar a soniarus i'r enaid pruddglwyfus na holl fiwsig y byd yn un. "A mi a glywais lef o'r nef yn dywedyd, Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd." Gadewch i ni eistedd, fel y wenynen, ar holl flodau y testun, fel na chollom y dyferyn lleiaf o'r mêl gwerthfawr sydd ynddynt. Bydd y wenynen yn ddiwyd iawn yn tynu melusder o holl flodau natur; eithr yr ydym ni yn amcanu tynu mêl, yr hwn sydd yn fil melusach, o flodau hyfryd goruwch natur. "Ofn yr Arglwydd sydd lân, yn parhau yn dragywydd; barnau yr Arglwydd ydynt wirionedd: cyfiawn ydynt i gyd. Mwy dymunol ynt nag aur, ïe, nag aur coeth lawer: melusach hefyd na'r mêl, ac na dyferiad diliau mêl," Sal. xix. 9, 10. Y mae pob deilen a phob blodeuyn yn mharadwys y testun yn llawn o'r mêl mwyaf dewisol; am hyny ni amcanwn aros ychydig ar bob sill, i geisio sugno y melusder tragywyddol sydd ynddo.

1. Yr ydym yn darllen am dri dyn, y rhai sydd yn cael eu galw yn anwyl gan yr Arglwydd, sef Solomon, Daniel, a Ioan; ac i'r rhai hyn y datguddiodd efe yn helaeth ddirgelion ei deyrnas. "Dirgelwch yr Arglwydd sydd gyda'r rhai a'i hofnant: a'i gyfamod hefyd i'w cyfarwyddo hwynt," Sal. xxv. 14. Y mae efe yn datguddio ei ogoniant i'w rhai anwyl, ac yn dywedyd dirgelion ei fynwes. Clywodd Ioan ryfeddodau y llyfr hwn pan oedd yn yr ysbryd ar ddydd yr

Arglwydd. Os ydym ninau yn ysbryd yr efengyl yn ymdrechu i gadw dydd yr Arglwydd yn grefyddol ac yn dduwiol, gan fyfyrio yn ei gyfraith, cawn ninau hefyd glywed llefau o'r nefoedd yn ein heneidiau.

2. Mi a *glywais.* Y mae yn rhaid aros, fel y dywedasom, ar bob sill, canys y mae pob blodeuyn yn llawn o fêl. Dywedais o'r blaen i Ioan weled a chlywed; eithr â pha glustiau y darfu iddo glywed y llef hon o'r nefoedd? "Yn gymaint a'i fod mewn per-lewyg ysbrydol, yr hyn yn gyffredin sydd yn cau i fyny yr holl synwyrau corphorol, pa fodd yr ydoedd yn clywed?" Y mae tafodau i siarad gan ysbrydion; y mae yr apostol Paul yn son am "dafodau angylion;" felly hefyd y mae ganddynt glustiau i glywed y naill y llall; hyny yw, cyneddfau ysbrydol yn cyfateb i'w sefyllfa a'u bodolaeth; fel y mae ein cyneddfau corphorol ni yn ateb i'r sefyllfa a'r dull o fodoli yn y byd hwn. Yr oedd Ioan ar y pryd yn yr ysbryd; yr ydoedd mor llwyr felly a phe na buasai yn y cnawd; gan hyny efe a glywodd yn yr ysbryd, ac a welodd yn yr ysbryd, efe a siaradodd yn yr ysbryd; yr oedd pob symudiad a phob awgrymiad yn yr ysbryd, a ddatguddir yn y llyfr hwn. Cipiwyd Paul i fyny i baradwys, a chlywodd "bethau annhraethadwy, y rhai nid yw gyfreithlawn i gnawd eu hadrodd." Efe a welodd yn ddiau y gwrthddrychau ysbrydol hyny nid â synwyrau cnawdol, ond â chyneddfau ysbrydol, synwyrau y meddwl; ac felly y darfu i Ioan glywed y llef hon o'r nef, yn dywedyd, "Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd." Fy nghyfeillion, y mae genym glustiau i glywed, a llygaid i weled yr anweledig; llygaid y meddwl, a chlustiau y meddwl. Mae meddwl dyn yn gallu cynwŷs ynddo y byd a'i symudiadau, pan y mae synwyrau y corph wedi eu cau i fyny mewn cwsg. Y meddwl sydd yn clywed a gweled yr anweledig heb lun na delw weledig o ddim a'r y sydd ar y ddaear isod, nac yn y nefoedd uchod. Rhaid i ni weled â llygaid y meddwl fel yr ydys yn gweled goleu â llygad y corph, heb lun dim. Rhaid i ni glywed â chlustiau y meddwl fel yr ydym yn clywed y gwynt â'n clustiau corphorol, heb weled dim. Dywedodd dyn wrthyf unwaith, fod yn anmhosibl ganddo ef i weddio ar Iesu Grist heb wneyd llun y groes yn ei feddwl, a'r Iesu wedi ei hoelio arni; neu gwneyd pictiwr o'r orsedd, a Iesu Grist yn eistedd arni. Nis gallasai weddio ar y Tad, medd efe, heb dynu rhyw lun yn ei feddwl

o'r Bod anfeidrol ac anweledig hwnw. Dywedais inau wrtho fod hyny oll yn eilun-addoliaeth ffiaidd a brwnt, ac yn drosedd yn erbyn yr ail orchymyn, "Na fydded it' dduwiau eraill ger fy mron i. Na wna it' ddelw gerfiedig, na llun dim a'r y sydd yn y nefoedd uchod, nac ar y ddaear isod, nac a'r y sydd yn y dwfr tan y ddaear." Y mae yn bechod mawr i lygaid y corph, na'r meddwl ychwaith, gael dim a wnelont â lluniau o un natur yn addoliad y Duw mawr ac anweledig. O Arglwydd, dyro i ni synwyrau ysbrydol, fel yr addolom dy fawredd mewn modd ysbrydol, yn ol fel y mae dy air yn cyfarwyddo. Bydded i ni ymwneyd â byd ysbrydol mewn dull ysbrydol; ac â phethau byd ysbrydol "mewn ysbryd a gwirionedd."

3. *Llef.* Mi a glywais *lef.* Syndod! Y mae llef o'r nefoedd yn gyffredin yn ddychryn a gwae i'n byd ni. Yr oedd rhai o'r dysgedigion paganaidd yn dywedyd fod y cyrph nefol yn eu symudiadau rheolaidd yn gwneyd seiniau cynghaneddol a soniarus. Beth bynag, mae y salmydd yn ein dysgu fod y nefoedd "yn datgan gogoniant Duw; a'r ffurfafen yn mynegi gwaith ei ddwylaw ef. Dydd i ddydd a draetha ymadrodd, a nos i nos a ddengys wybodaeth. Nid oes iaith nac ymadrodd lle ni chlybuwyd eu lleferydd hwynt. Eu llinyn a aeth trwy yr holl ddaear, a'u geiriau hyd eithafoedd byd." Llef y nefoedd weledig yw hon yn datgan gogoniant a mawredd ei Chreawdwr mewn llais dystaw; eithr llef y testun, nid llef y nefoedd ydyw, ond llef o'r nefoedd: nid iaith natur yn canmol Duw, ond cenadwri Duw at ddyn. Clywodd Ioan y llef, nid yn allanol, â'i glustiau corphorol; ond yn dufewnol, â chlustiau y meddwl. Yr ydym yn darllen am lef yn gorchymyn i'r prophwyd Esay waeddi; llef Duw yn dywedyd wrth y dyn am lefain. "Y llef a ddywedodd, Gwaedda. Yntau a ddywedodd, Beth a waeddaf? Pob cnawd sydd wellt, a'i holl odidawgrwydd fel blodeuyn y maes. Gwywa y gwelltyn, syrth y blodeuyn; ond gair ein Duw ni a saif byth," Esay xl. 6, 8. "Gwellt yn ddiau yw y bobl." Dyma lef o'r nef yn melldithio; ond y llef a glywodd Ioan oedd yn bendithio. Swn melldith yr hen gyfamod sydd yn y llef glywodd Esay, ond swn bendith y cyfamod o hedd sydd yn y llef glywodd Ioan. Y llef gyntaf sydd yn bygwth marw, a'r ail lef yn cyhoeddi heddwch i'r rhai sydd yn marw. "Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd." Yr oedd y llef gyntaf yn cyhoeddi dedryd marwolaeth; y

mae yr ail yn cyhoeddi bywyd yn angau. Diolch! Y mae y ddiweddaf hon wedi tori awch y llef gyntaf; wedi troi angau yn fywyd; "dyffryn Achor yn ddrws gobaith;" wedi troi y nos yn ddydd, a pheri i oleuni dysglaer godi yn yr hwyr. Rhoddodd y llef gyntaf glwyf marwol i ni; ac y mae ymchwiliad manwl wedi bod trwy holl ardd natur am blastr i'w wella, eithr yn aflwyddianus. Buasai yn rhaid i bawb farw heb feddyginiaeth, a marw yn dragywydd oni fuasai i Dduw ddanfon cyfferi i wella ein clwyfau marwol mewn llef o'r nef. Yr hwn a'n taflodd i lawr yn y llef gyntaf, yw yr hwn hefyd sydd yn ein codi i fyny yn yr ail lef i uchder gogoniant. Bendigedig am yr ail lef hon, "Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd."

Clywyd llef o'r nefoedd ar fynydd Sinai, er sefydlu awdurdod ddwyfol y gyfraith foesol, a chadarnhau ein ffydd yn Nuw y Creawdwr. Llef ofnadwy oedd hono; yn nghanol mwg a thân, dychryn ac arswyd. "A'r trydydd dydd, ar y boreu-ddydd, yr oedd taranau, a mellt, a chwmwl tew ar y mynydd, a llais yr udgorn ydoedd gryf iawn; fel y dychrynodd yr holl bobl oedd yn y gwersyll. A mynydd Sinai oedd i gyd yn mygu, o herwydd disgyn o'r Arglwydd arno mewn tân: a'i fwg a ddyrchafodd fel mwg ffwrn, a'r holl fynydd a grynodd yn ddirfawr. Pan ydoedd llais yr udgorn yn hir, ac yn cryfhau fwy fwy, Moses a lefarodd, a Duw a atebodd mewn llais." "Canys ni ddaethoch chwi at y mynydd teimladwy, sydd yn llosgi gan dân, a chwmwl, a thywyllwch, a thymhestl. A sain udgorn, a llef geiriau, yr hon pwy bynag a'i clywsant a ddeisyfasant na chwanegid yr ymadrodd wrthynt. Oblegyd ni allent hwy oddef yr hyn a orchymynasid. Ac mor ofnadwy oedd y golwg, ag y dywedodd Moses, Yr ydwyf yn ofni ac yn crynu;" Ex. xix. 16—19; Heb xii. 18—21. Llef arall o'r nefoedd oedd ar y mynydd santaidd, yn ngwedd-newidiad yr Arglwydd Iesu, yr hon oedd i sefydlu awdurdod yr efengyl, a chadarnhau ein ffydd yn Nuw ein Gwaredwr. "Canys nid gan ddylyn chwedlau cyfrwys yr hysbysasom i chwi nerth a dyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist, eithr wedi gweled ei fawredd ef â'n llygaid. Canys efe a dderbyniodd gan Dduw Dad barch a gogoniant, pan ddaeth y cyfryw lef ato, oddiwrth y mawr-ragorol Ogoniant, Hwn yw fy anwyl Fab i, yn yr hwn y'm boddlonwyd. A'r llef yma, yr hon a ddaeth o'r nef, a glywsom ni, pan oeddym gydag ef yn y mynydd santaidd," 2 Pedr i. 16—18.

Llef arall, neu swn, fel y dywedir, a glywyd ar ddydd y Pentecost, er cadarnhau ein ffydd yn Nuw Ysbryd Glân y Dyddanydd. "Ac yn ddisymwth y daeth swn o'r nef, megys gwynt nerthol yn rhuthro, ac a lanwodd yr holl dŷ lle yr oeddynt yn eistedd," Act. ii. 2. Llef arall o'r nefoedd oedd yn medydd yr Arglwydd Iesu, er cadarnhau ein ffydd yn nhrindod ac undeb y Duwdod. "A'r Iesu, wedi ei fedyddio, a aeth yn y fan i fyny o'r dwfr: ac wele y nefoedd a agorwyd iddo, ac efe a welodd Ysbryd Duw yn disgyn fel colomen, ac yn dyfod arno ef. Ac wele lef o'r nefoedd yn dywedyd, Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd," Mat. iii. 16, 17. Llef arall o'r nefoedd a glywyd gan Pedr, mewn gweledigaeth yn nhŷ Simon, er cadarnhau ein ffydd mewn perthynas i'r eglwys gatholig, ac egluro fod Iuddewon a Chenedloedd yn un corph trwy y groes. "Ac efe a welai y nef yn agored, a rhyw lestr yn disgyn arno, fel llen-llian fawr, wedi rhwymo ei phedair congl, a'i gollwng i waered hyd at y ddaear; yn yr hon yr oedd pob rhyw bedwar-carnolion y ddaear, a gwylltfilod ac ymlusgiaid, ac ehediaid y nef. A daeth llef ato, Cyfod, Pedr, lladd a bwyta. A Phedr a ddywedodd, Nid felly, Arglwydd: canys ni fwyteais i erioed ddim cyffredin neu aflan. A'r llef drachefn a ddywedodd wrtho yr ail waith, Y pethau a lanhaodd Duw, na alw di yn gyffredin," Act. x. 11—15.

Yn y testun y mae y llef o'r nef yn sefydlu ein ffydd yn yr erthygl ddiweddaf o'r gredo; sef y farn ddiweddaf, a gwynfydedigrwydd a sefyllfa ogoneddus y saint yn y byd a ddaw. Dyma lefau o'r nefoedd mewn perthynas i bob peth hanfodol y datguddiad dwyfol. Llef ar Sinai i sefydlu ein ffydd yn nwyfoldeb y ddeddf foesol; llef ar y mynydd santaidd i sefydlu ein ffydd yn Nuw ein Gwaredwr; llef neu swn ar ddydd y Pentecost i sefydlu ein ffydd yn Nuw ein Dyddanydd; llef yn medydd Crist i sefydlu ein ffydd mewn Trindod mewn Undod; llef yn nhŷ Simon i sefydlu ein ffydd mewn perthynas i'r eglwys gatholig; a dyma lef yn y testun i sefydlu ein ffydd mewn perthynas i'r eglwys orfoleddus. "A mi a glywais lef o'r nef yn dywedyd, Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan."

Os ydym am gael gwybod ansawdd eglwys Crist yn Sumatra, neu Japan, rhaid i ni ymgyfeillachu â rhai o bobl y gwledydd hyny, neu â rhyw rai sydd wedi bod yn teithio drwyddynt. Os ydym am wybod am gyflwr a sefyllfa dinas-

yddion y Jerusalem nefol, eu lluosogrwydd dirifedi, eu hurddau ardderchog, eu rhagorfreintiau mawrion, eu llawenydd digymysg, eu gwleddoedd danteithiol, eu gwisgoedd gwychion, eu palmau, eu coronau, a'u caniadau, y mae yn rhaid i ni ymholi â rhyw rai sydd yn byw yno, neu ryw rai ag sydd wedi bod yno, a gweled yr holl drefniadau. Dyma lef o'r nefoedd yn hysbysu, ac yn egluro; yr hon lef sydd yn llawn ddigon i dynu ein sylw oddiwrth bob peth at y dirgeledigaethau nefol. Y mae ei pheroriaeth wrth seinio gwynfydedigrwydd y "meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd," yn ddigon i beri i'r byw ddawnsio o lawenydd yn nghanol y gwterydd. Gogoniant! Llef o'r nef, ryw ddydd, fydd yn gosod nid yn unig y byw i ddawnsio o lawenydd, ond hefyd yn codi y meirw o'r llwch i'r lan, a'u gosod hwythau i lamu a dawnsio mewn gorfoledd o flaen wyneb y Prynwr a'r Priod bendigedig. "Efe a lwnc angau mewn buddugoliaeth; a'r Arglwydd Dduw a sych ymaith ddagrau oddiar bob wyneb, ac efe a dyn ymaith warthrudd ei bobl oddiar yr holl ddaear: canys yr Arglwydd a'i llefarodd. A'r dydd hwnw y dywedir, Wele, dyma ein Duw ni; gobeithiasom ynddo, ac efe a'n ceidw; dyma yr Arglwydd; gobeithiasom ynddo, gorfoleddwn a llawenychwn yn ei iachawdwriaeth ef," Esay xxv. 8, 9. Bendigedig am obaith fod yn mhlith y teulu byw yn y dydd mawr a ddaw, yn neidio ar lwch y byd, gyda llef yr archangel ac udgorn Duw.

4. *Ysgrifena.* "Mi a glywais lef yn dywedyd, Ysgrifena." Dyma air arall o werth anfeidrol; dyma flodeuyn eto yn llawn o fêl hyfryd. Ysgrifena. Ni ewyllysiodd yr Arglwydd ddysgu ei eglwys drwy ysgrifeniadau am laweroedd o oesau; yr oedd y tadau cyn y diluw yn byw cyhyd, fel yr oedd yn gwasanaethu yn lle llyfr. Fel hyn y bu cyn y diluw, ac ychydig wedi hyny; yr oeddynt yn trosglwyddo o un i'r llall yr hanesion, canys nid oedd ganddynt ddatguddiad Duw mewn ysgrifen hyd ddyddiau Moses. Yr oeddynt yn cael datguddiedigaethau dwyfol o'r nefoedd yn awr ac eilwaith, drwy weledigaethau a breuddwydion: ïe, mewn "llawer dull a llawer modd." Eithr pan y byrhawyd dyddiau dyn ar y ddaear, gwelodd yr Arglwydd yn dda i roddi y gair yn ysgrifenedig, a dysgu yr eglwys trwy yr ysgrifeniadau hyny. Nid yw ysgrifenu y gair yn ychwanegiad at ei awdurdod; yr oedd yn awdurdodol mewn traddodiad yn gystal ag mewn ysgrifen; ac yr oedd yn rhaid ufuddhau i'w orchymynion, neu dderbyn

ei gosp byth. Eto yr ydym yn bendithio Duw ei fod genym mewn ysgrifen, fel y gallom ymgyrchu at lygad y ffynon am bob peth. "At y gyfraith, ac at y dystiolaeth: oni ddywedant yn ol y gair hwn, hyny sydd am nad oes oleuni ynddynt," Esay viii. 20. Buasai llawer o wirioneddau dwyfol wedi eu troi yn gelwydd, hanesyddiaeth ddwyfol wedi ei throi yn chwedlau, pe buasent yn cael eu cadw mewn traddodiad yn unig, a'u hestyn i lawr o law i law, ac o ddyn i ddyn.

Yr ydym yn diolch i Dduw am yr ysgrythyrau, a phob rhan o'r ysgrythyrau, canys y mae rhyw beth mawr ynddynt yn nghadw i ni. "Eithr nid ysgrifenwyd hyny er ei fwyn ef yn unig, ddarfod ei gyfrif iddo; ond er ein mwyn ninau hefyd, i'r rhai y cyfrifir, y rhai ydym yn credu yn yr hwn a gyfododd Iesu ein Harglwydd ni o feirw. Canys pa bethau bynag a ysgrifenwyd o'r blaen, er addysg i ni yr ysgrifenwyd hwynt, fel trwy amynedd a dyddanwch yr ysgrythyrau y gallem gael gobaith," Rhuf. iv. 23, 24; xv. 4. Mae pob sill a brawddeg yn werthfawr; y maent yn cynwys ewyllys Duw yn gyflawn am bob peth sydd yn angenrheidiol er ein hiachawdwriaeth. Er fod pob sill a phob gair yn werthfawr, eto yr ydym yn darllen yn yr ysgrythyrau fod y Duw anfeidrol yn nodi allan rai pethau, ac yn gosod y pwys mwyaf arnynt; ac fel pe byddai yn eu nodi allan â'i fys, Cofiwch ysgrifenu y pethau hyn. Mae y testun yn ymddangos yn un o'r brawddegau hyny; cyfeirir ati â bys y Goruchaf, gan ddywedyd, "*Ysgrifena*, Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan." Rhoddir gorchymynion yn gyffredinol am ysgrifenu yr holl wirioneddau dwyfol, a gorchymyn yn benodol i Ioan ysgrifenu yr holl Ddatguddiad sydd yn y llyfr hwn; eithr y mae hwn yn orchymyn neillduol, yn gyfeiriol at y frawddeg hon. Fel pe buasai yr Arglwydd yn dyweyd, "Ioan, cofia osod y perl hwn yn y blwch, er dim. Ysgrifena y llyfr, ysgrifena yr holl lyfr; eithr cofia ysgrifenu hyn yn y llyfr, Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, fel y gorphwysont oddiwrth eu llafur, a'u gweithredoedd sydd yn eu canlyn hwynt."

Ystyrir geiriau breninoedd y byd hwn yn bur bwysig, yn enwedig eu *proclamations;* nid ydynt fel pob siarad cyffredin a diystyr. Felly y mae yr holl lefau o'r nefoedd yn teilyngu ystyriaethau pwysig a difrifol, ac yn galw am ufudd-dod; eto y mae rhyw bethau fel pe byddai yr uchel lys wedi rhoddi awdurdod dwbl wrthynt. Un o'r brawddegau hyn yw y

testun. Dyma y Brenin tragywyddol, anfarwol, ac anweledig, yn cyhoeddi â llef o'r nef, Ysgrifena y geiriau hyn yn benodol. "Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd." Mae pob rhan o bregeth yr angel yn bwysig a difrifol iawn; eithr y mae rhyw beth yn y rhan hon fel pe dywedasai Duw fod arno chwant cadw hyn o flaen ein llygaid bob amser. Mae y gair hwn, ysgrifena, fel rhyw fyneg-bys, yn cyfeirio at ryw ran benodol yn nghanol y cwbl. "Ysgrifena." Mae fel rhyw seren ddysglaer yn ein harwain at drysorau digyffelyb; fel y seren a ymddangosodd i'r doethion yn y dwyrain, ac a'u harweiniodd i'r man lle yr oedd Ceidwad y byd wedi ei droi mewn cadachau. "Ysgrifena." Mae fel canwyll wedi ei goleuo, a'i gosod ar ganwyllbren aur, i chwilio am y dryll a gollasid. Bydd y duwinyddion yn dywedyd fod y gair "wele" o flaen ymadrodd, a'r gair "selah" ar ei ol, yn dangos fod y gwirioneddau hyny yn rhai ardderchog, pwysig, a gogoneddus, ac yn teilyngu sylw pawb yn neillduol atynt. Mae rhyw beth ynddynt sydd yn galw am droi atynt eilwaith ac eilwaith, ac edrych i mewn i'w trysorau a'u gogoniant. Felly y gallwn ddywedyd am y gair hwn. Ysgrifena â phin o ddiamwnt, fel na ellir byth ei ddileu. Ysgrifena, fel y gall pob dyn ei ddarllen, yn enwedig y saint ofnus, y rhai sydd mewn "caethiwed dros eu bywyd, gan ofn marwolaeth." Ysgrifena, fel y byddo i'r hwn sydd yn rhedeg ddarllen, drwy holl oesau y byd, mai "gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd." Ysgrifena â phin o haiarn ar geryg beddau y rhai oll sydd wedi myned o'r blaen, ac wedi marw yn yr Arglwydd eisoes, "Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan." Mae hyn yn cael ei ysgrifenu yn aml yn y mynwentydd ar geryg beddau yr annuwiolion, yr hyn sydd yn gysegr ysbeiliad ofnadwy. Dylai yr ysgrifen fod, "Melldigedig yw y meirw y rhai sydd yn marw yn eu pechodau, o hyn allan; y maent yn gorphwys oddiwrth eu pleserau, a'u drygioni sydd yn eu canlyn hwynt." Ysgrifena, fel y gallo y saint tlawd droi ato yn eu gorthrymderau, darllen drostynt eu hunain, a throi eilwaith ac eilwaith i edrych dros yr un geiriau; ïe, chwilio yr ysgrythyrau drostynt eu hunain, fel y gallont gael sicrwydd am fywyd tragywyddol. "Minau a welais yn dda," medd yr efengylwr Luc, "wedi i mi ddylyn pob peth yn ddyfal o'r dechreuad, ysgrifenu mewn trefn atat, O ardderch-

ocaf Theophilus; fel y cait wybod sicrwydd am y pethau y'th ddysgwyd ynddynt."

5. Medd yr *Ysbryd.* Dyma air arall, fy nghyfeillion, yn ddyddanwch, blodeuyn â mêl yn llifo o hono; un o ddail melusion "pren y bywyd, sydd yn nghanol paradwys Duw." "Medd yr Ysbryd." Yr ydym yn darllen yn y gyfraith a'r prophwydi, "Fel hyn y dywed yr Arglwydd;" yn yr Efengylau, "Fel hyn y dywed yr Iesu;" ac yn yr Epistolau a Datguddiad Ioan, "Fel hyn y dywed yr Ysbryd." "Yr hwn sydd ganddo glust, gwrandawed beth y mae yr Ysbryd yn ei ddywedyd wrth yr eglwysi." Pan oedd Crist yn trigo ar y ddaear yn nghanol ei eglwys, efe a ddysgodd eiriau y bywyd â'i enau ei hun; ond oddiar ei ddyrchafiad i'r drydedd nef i ddeheulaw Duw, y mae efe yn dysgu trwy yr Ysbryd Glân, ac felly yn arwain ei eglwys i bob gwirionedd. Rhaglaw Crist ar y ddaear yw yr Ysbryd: "mi a weddiaf ar y Tad, ac efe a rydd i chwi Ddyddanydd arall, fel yr aroso gyda chwi yn dragywyddol; Ysbryd y gwirionedd, yr hwn ni ddichon y byd ei dderbyn, am nad yw yn ei weled, nac yn ei adnabod ef: ond chwi a'i hadwaenoch ef; o herwydd y mae yn aros gyda chwi, ac ynoch y bydd efe. Nis gadawaf chwi yn amddifad: mi a ddeuaf atoch chwi," Ioan xiv. 16—18. Mae yr Ysbryd Glân yn pregethu, ac yn iachau yr eglwys, yn lle yr Arglwydd Iesu.

"Medd yr *Ysbryd,*" nid medd y cnawd, cofiwch. Mae y ddaear yn gwadu y gwirionedd hwn, eithr y mae yr Ysbryd yn parhau i'w ddweyd. Pan symudir dyn allan o'r byd hwn trwy angau, nid yw y cnawd yn gallu gweled dim ond corph marw wedi ei roi mewn arch a'i daflu i'r bedd; eithr y mae y ffydd a weithredir gan yr Ysbryd Glân yn enaid y credadyn yn gallu gweled angylion yn cario yr enaid i fyny i'r drydedd nef, ac yn ei roddi i gadw yn mynwes Abraham hyd y dydd y bydd Tad yr ysbrydoedd yn ei uno eto â'r corph sydd yn y bedd, a gwisgo yr holl ddyn mewn gwisgoedd gogoneddus. Nid oes yr un athrawiaeth yn cael mwy o wrthwynebiad gan y diafol, y cnawd, a'r byd, na'r hyn a gyhoeddir gan yr Ysbryd yn ein testun yn nghylch gwynfydedigrwydd y meirw yn yr Arglwydd. Y mae yr holl baganiaid, atheistiaid, Saduceaid, hereticiaid, a dynion cnawdol, yn gwadu hyn. Mae *llawer* o honynt yn gwadu adgyfodiad y corph o'r bedd; rhai o honynt yn gwadu anfarwoldeb yr enaid. Bydd llawer wedi byw mor ddrwg yn y byd hwn,

fel y maent yn dymuno na fyddai un byd arall. Bydd y dyn yn ymdrechu hyd yr eithaf i ddiffodd y goleu sydd yn ei gydwybod; goleu, er mor wan ydyw, pe bai dyn yn agor ei lygaid, canfyddai ynddo ei hun y farn ddyfodol. Er ei eithaf y mae yn methu diffodd y goleu bach bob amser, canys y mae yn crynu i'r gwaelod yn fynych, rhag mai uffern fydd ei ran mewn byd tragywyddol. Beth bynag, dyweded cnawd, dyweded dynion drwg, dyweded pawb y peth a fynont yn nghylch sefyllfa y meirw, mae Ysbryd y gwirionedd yn parhau i dystiolaethu, "Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd."

"Yn mha le y mae yr Ysbryd yn dyweyd hyny?" Mae efe yn dweyd yn rhy aml i ni allu rhoi cyfrif i chwi yn awr; nis gallwn ddyfod â i holl dystiolaethau i mewn yma; eto ni awn dros rai o honynt. Mae yr Ysbryd yn tystiolaethu yn aml yn yr Hen Destament ac yn y Testament Newydd, yn y weledigaeth hon i Ioan hefyd, ac yn nghydwybod pob gwir gredadyn. Rhyw beth cyffelyb i ddydd priodas yw marwolaeth y saint yn nghyfrif y nef. "Gwerthfawr yn ngolwg yr Arglwydd yw marwolaeth ei saint ef," Salm cxvi. 15. Am hyny, fy nghyfeillion, peidiwch plygu eich penau, a thristâu yn ormodol gyda golwg ar farwolaeth, canys "fe dry cysgod angau yn foreu-ddydd." Codwch eich penau, ac edrychwch yn siriol; y mae marw yn yr Arglwydd yn wynfydedigrwydd. Gogoniant! "Fel hyn y dywed yr Arglwydd; Atal dy lef rhag wylo, a'th lygaid rhag dagrau: canys y mae tâl i'th lafur, medd yr Arglwydd; a hwy a ddychwelant o dir y gelyn. Ac y mae gobaith yn dy ddiwedd (diolch!) y dychwel dy blant i'w bro eu hun," Jer, xxxi. 16, 17.

Bendigedig! Yr wyf yn gwaeddi bendigedig weithiau mewn gwaed oer; ond yn bresenol yr wyf yn teimlo tystiolaeth yr Ysbryd yn fy nhwymno a fy ngwresogi hyd y nod wrth sefyll uwchben angau creulawn, a'r bedd oer a rhewllyd. Diolch am y "llef o'r nef," am dystiolaeth yr Ysbryd Glân; y mae yn codi fy enaid, a fy nghorph hefyd, oddiar y ddaear i uchder gogoniant. Am holl lefau y ddaear, y maent yn tynu fy enaid i lawr i'r "pridd tew, a'r clai tomlyd;" i oerfel y dyffryn tywyll. Diolch am dystiolaeth yr Ysbryd; y mae hi yn taflu goleu ar achos tywyll, ac yn "codi fy mhen uwchlaw fy ngelynion oll," er fod tystiolaeth y byd, y cnawd, a satan, yn ceisio fy ngwasgu i lawr. "Byw i mi yw Crist, a marw sydd elw." "Y mae genyf chwant i'm datod, ac i fod

gyda Christ: canys llawer iawn gwell ydyw." "Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr uniawn; canys diwedd y gwr hwnw fydd tangnefedd;" Phil. i. 23; Sal. xxxvii. 37. Dyma angau yn well na bywyd, y diwedd yn well na'r dechreuad; dydd marwolaeth yn well na dydd genedigaeth. Diolch.

Y mae yr Ysbryd yn dywedyd y pethau hyn yn nghalonau a chydwybodau y credinwyr, yn nghanol gorthrymderau, yn awr angau, yn nghanol tân a ffagodau wrth yr ystanciau. Y mae yr Ysbryd wedi selio y gwirionedd hwn yn nghalonau y merthyron, gan lanw eu calonau â llawenydd a gorfoledd yn y teimlad o "obaith bywyd tragywyddol," nes yr oeddynt yn croesawi marwolaeth, er yn dyfod atynt mewn fflamiau; ac yn canu hosanna, haleluia, yn nghanol y dyoddefiadau mwyaf, gan fuddugoliaethu ar angau pan yn ei safn. O Arglwydd, cynorthwya finau, pan yn marw, i floeddio yn nghanol hen afon yr Iorddonen, "O angau, pa le y mae dy golyn? O uffern, pa le y mae dy fuddugoliaeth?" Pan yr oedd Job yn nyfnder ei drueni mawr, yr oedd llef yr Ysbryd yn ei galon yn ei gynorthwyo i waeddi allan, "myfi a wn fod fy Mhrynwr yn fyw, ac a saif yn y diwedd ar y ddaear. Ac er ar ol fy nghroen, i bryfed ddyfetha y corph hwn, eto caf weled Duw yn fy nghnawd: yr hwn a gaf fi i mi fy hun ei weled, a'm llygaid a'i gwelant, ac nid arall, er i'm harenau ddarfod ynof," Job xix. 25—27.

Llefarodd yr Ysbryd yn nghalon y salmydd nes ydoedd yn gwaeddi allan yn yr olwg ar yr hen Iorddonen donog, "Ië, pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angau, nid ofnaf niwed: canys yr wyt ti gyda mi; dy wialen a'th ffon a'm cysurant," Sal. xxiii. 4. Mae Solomon yn dywedyd am raff deir-cainc, mai nid ar frys y tyr hon. Rhyw beth felly yw y testun; hen raff deir-cainc y drydedd nef, wrth yr hon y mae angor ein heneidiau, gobaith bywyd tragywyddol, wedi ei chydio. Dyma dair tystiolaeth wedi eu plethu yn nghyd, yn rhaff deir-cainc; a bydd yn rhaid i nef a daear fyned heibio, Duw ac angylion, cyn byth y tyr hon. Mae genym dystiolaeth Ioan; "Mi a glywais lef o'r nef;" tystiolaeth yr Ysbryd; "medd yr Ysbryd;" tystiolaeth y llef, "Ysgrifena, Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd." Dyma dystiolaeth o'r ddaear, tystiolaeth o'r orseddfainc, a thystiolaeth o gylch yr orseddfainc, wedi eu plethu yn rhaff deircainc; nid ar frys y tyr hon. Fy eneidiau, clymwch angor gobaith wrth y rhaff hon, ac yna byddwch yn sicr o ddal y

gwynt a'r tonau heb wneyd llong-ddrylliad am y ffydd. Mae Ioan yn clywed llef o'r nef yn ei orchymyn i ysgrifenu. Dywedir i Austin glywed llef o'r nef yn ei orchymyn i ddarllen. Sylwch, pan y mae y nefoedd yn llefaru, fe ddylai y ddaear ymwrando; a phan y mae yr Arglwydd yn gorchymyn ysgrifenu, fe ddylai dyn ddarllen. Ni ddaeth llef o'r nefoedd erioed nad oedd yn perthyn i'r ddaear glywed; ond y mae y llef hon yn dwyn cysuron annhraethadwy i'r ddaear. Beth sydd yn dyfod o'r nef? ai tân a brwmstan? Nage. "Llef." Beth! ai taran-follt i'n hysgubo oll i uffern? Nage. "Llef." Pa beth ydwyf yn ei glywed o'r nefoedd? "Llef;" a llef fendigedig: llef yn llawn o fendithion; llef yn cyhoeddi gwynfydedigrwydd tragywyddol uwch ben bro marwolaeth. Pa beth yw y swn a glywaf yn fy nghlustiau? o ba le y mae y llef yn dyfod? O'r nefoedd. I ba le y mae yn dyfod? I'r ddaear. O'r fainc at y troseddwr wrth y *bar;* oddiwrth y Barnwr at y truenus haeddodd ei ddamnio. "Os llef ydyw oddiwrth y Barnwr at y troseddwr, y mae yn debygol mai dedryd marwolaeth sydd yn cael ei chyhoeddi; a thrwst traed yn dyfod â *death warrant* i'w ddal, a'i lusgo i angau." O na; cymerwch bwyll; llef ydyw yn dywedyd, "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu." Gogoniant byth! Nid llef yn dywedyd, "Fe gaiff yr annuwiol farw yn dragywydd;" eithr llef yn dywedyd, "Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan."

"Gwyn eu byd," medd y llef o'r nefoedd. Bendigedig fyddo Duw, medd ein llefau gweinion ninau ar y ddaear. Yr wyf yn meddwl fy mod yn clywed y llef fendigedig hon o'r nef yn adsain yn ol o'ch calonau i'r nef mewn mawl a diolchiadau i enw y Goruchaf. Yn gymaint a bod bendith yn disgyn yn gawodydd o'r nefoedd i'r ddaear atom ni, bydded i'n bendith ninau esgyn o'r ddaear i'r nefoedd. "Fy enaid, bendithia yr Arglwydd; a chwbl sydd ynof, ei enw santaidd ef." Bendigedig fyddo ei enw byth am obaith bywyd yn nglyn angau, a gobaith gogoniant tragywyddol y tu hwnt i'r bedd. Bendigedig am y gobaith o fod byth yn fendigedig. Y mae yn wir fod angau yn belen chwerw, ond y mae y nefoedd wedi danfon melusder i lawr i chwi gymeryd y belen ynddo. Mae marw yn chwerw; ond y mae marw yn yr Arglwydd yn felusder. Y mae hen fygythiad Eden, "Gan farw, ti a fyddi farw," yn chwerw; ond y mae "Gwyn eu

byd y meirw" yn felus. Dyma driagl Gilead, fy nghyfeillion, yn yr hwn y gellwch lyncu y belen chwerw hon heb brofi ei blas. Cymerwch ddigon o'r triagl, gan fod digon i gael, i gymysgu â'r belen chwerw, ac yna chwi lyncwch y chwerwder yn rhwydd; canys y mae atgasrwydd y belen yn cael ei ddyddimu yn melusder y triagl.

Gwynfydedigrwydd sydd beth ag y mae pob dyn yn ei ddymuno; yr hwn sydd yn ewyllysio byw yn druenus nid dyn mo hono, ond angenfil. Er hyn oll y mae y rhan fwyaf o bobl yn camsynied yn nghylch y man i gael gafael ar wynfydedigrwydd. Bydd rhai yn chwilio am dano mewn cyfoeth, rhai mewn anrhydedd, rhai mewn pleserau cnawdol, rhai mewn drygioni, ac eraill mewn rhinwedd. Dywed un awdwr am ddau cant a phedwar ugain ac wyth o wahanol leoedd yn y byd hwn sydd yn wynfydedig. Peidiwch ei gredu; ffynonau diddwfr ydynt oll; pydewau toredig; ni ddaliant ddim; y maent yn gollwng y cwbl i golli. Chwi glywch bob peth y byd hwn yn gwaeddi, "Nid yw gwynfydedigrwydd yma." "Ond pa le y ceir doethineb? a pha le y ceir trigle deall? Ni ŵyr dyn beth a dâl hi; ac ni cheir hi yn nhir y rhai byw. Y mae y dyfnder yn dywedyd, Nid ydyw hi ynof fi; ac y mae y môr yn dywedyd, Nid ydyw hi gyda myfi. Ni cheir hi er aur pur, ac ni ellir pwyso ei gwerth hi o arian. Colledigaeth a marwolaeth sydd yn dywedyd, Ni a glywsom â'n clustiau son am dani hi. Duw sydd yn deall ei ffordd hi, ac efe a edwyn ei lle hi." Atolwg, yn mha le y ceir gwynfydedigrwydd? Yn Nuw ei hun.

Y mae dau beth yn hanfodol i wynfydedigrwydd. Gwrthddrych holl-ddigonol, ac undeb â'r gwrthddrych hwnw; cymhwysder mewn gwrthddrych, a meddiant cyflawn o'r gwrthddrych hwnw. Yr unig wrthddrych a all fy ngwneyd yn ddedwydd byth yw yr hwn sydd yn cynwys ynddo gyfaddasrwydd i gyfarfod â fy holl angenion, ac yn ddigonol i ddiwallu fy holl ddymuniadau. Yn awr, cyn y gall fod unrhyw wrthddrych yn gyfaddas i'n angenion, ac yn ddigonol i gyflawni yn llwyr ein holl ddymuniadau, rhaid iddo fod yn feddianol ar y priodoliaethau canlynol:—

1. Rhaid iddo fod yn dda, heb y cymysgedd lleiaf o ddrwg. Daioni digymysg yw hanfod gwynfydedigrwydd.

2. Rhaid iddo fod y daioni penaf, onide ni rydd foddlonrwydd. Os bydd gwell i gael, ni all meddwl dyn lai na bod yn druenus; gan y bydd yn hiraethu o hyd am y peth goreu oll.

3. Y mae yn rhaid iddo fod yn dda digonol. Nid yn unig yn dda i gyd, ond yn gyfryw dda na fydd eisiau dim ond ei hunan. Nid oes dim na neb yn *dda* felly "ond un, sef Duw." Gan hyny efe yw unig Awdwr gwynfydedigrwydd, unig ffynon y dyfroedd byw. Duw yn unig sydd wrthddrych cyfaddas i wneyd fy enaid yn ddedwydd. Ysbryd yw fy enaid; am hyny nid oes gyfaddasrwydd mewn dim daearol; eithr y mae Duw yn Ysbryd ar gyfer fy ysbryd i, ac yn Ysbryd digon mawr a digon da i lanw holl angenion, a chyflawni holl raid fy ysbryd i.

Y mae yr enaid yn gallu mwynhau daioni yn Nuw yn gyfartal i'w ddymuniadau. Y mae gallu annhraethol mewn enaid; y mae ei angenion yn ddirfawr; ond dyma Ddûw anfeidrol ar ei gyfer; dyma ddigon i'w wneyd yn ddedwydd byth. Bydded i'r enaid helaethu ei ddymuniadau gymaint byth ag a allo, fe fydd yr Ydwyf mawr yn fwy na digon iddo byth. Pe byddai yr enaid yn gallu dymuno deng myrddiwn mwy na'i alluoedd presenol, mae digon o ddaioni, a digon yn ngweddill, yn yr Ydwyf tragywyddol i'w wneyd yn hapus. Ynddo y mae pob peth ag sydd yn ddefnydd dedwyddwch y creadur yn cartrefu. Gan fod ynddo ddigon i lanw ei feddwl anfeidrol ei hun â dedwyddwch, beth yw llanw eich dymuniadau chwi? Y mae efe yn fôr, a thithau ond cragen fechan ar y traeth, mewn cymhariaeth. Fy enaid, y mae y môr o dy flaen, cymer gymaint ag yr wyt yn ewyllysio, ac ymdreigla ynddo. Bendigedig! Mae digon mewn un Bod heb gynorthwy dim arall; nis gall yr enaid ddymuno ychwaneg; am hyny dyma wynfydedigrwydd. "Digonir fi, pan ddihunwyf, â'th ddelw di." Gogoniant am ddigon ryw bryd.

Yn gymaint a bod yr Arglwydd yn anfarwol, y mae ynddo gyfaddasrwydd at ein gwneyd yn ddedwydd. Ein heneidiau sydd yn anfarwol, felly y mae Rhan fy enaid hefyd; Duw fy enaid sydd Dduw tragywyddoldeb. Y Duw byw, y Duw bendigedig yn oes oesoedd fydd gwynfydedigrwydd fy enaid tlawd i bob tragywyddoldeb; bydd yn llanw i fyny holl galloedd yr enaid â hyfrydwch yn dragywydd ger ei fron. Mae corph ac enaid yn cyfarfod â holl ddefnyddiau eu dedwyddwch yn Nuw mewn cnawd; hanfod a chartrefle dedwyddwch yw Duw. Efe yw y cyntaf, yr holl-ddigonol, yr anfeidrol, y tragywyddol, yr annghyfnewidiol, a'r unig Benaeth; ïe, yr unig *dda*.

Yn awr, y llwybr y mwynheir y gwynfydedigrwydd hwn

yw trwy undeb a chymundeb y creadur â ffynonell gwynfydedigrwydd. Y mae yr undeb a'r cymundeb hyn yn cymeryd lle trwy Iesu Grist, yr hwn yw *channel* y cymundeb; y bibell aur sydd yn trosglwyddo y dyfroedd bywiol hyn o'r ffynonell i'r pydew; felly y mae Duw a dyn yn cyfarfod yn Nghrist y Duw-ddyn. "Pa beth a all fy ngwneyd i, creadur tlawd, yn ddedwydd?" Yr un peth, fy nghyfaill, ag sydd yn gwneyd Duw yn ddedwydd; yr un peth ag sydd yn gwneyd yr angylion yn ddedwydd. Beth ydyw hyny? Mwynhad o Dduw yn y dyn Crist Iesu. Beth a all fy ngwneyd yn ddedwydd? Y peth ag y mae y cythreuliaid a'r eneidiau damnedig wedi eu difeddianu o hono yn llwyr am bob tragywyddoldeb: mwynhad o Dduw. Y peth sydd yn gwneyd uffern yw absenoldeb gwenau wyneb y Jehofah, a phresenoldeb ei wgau. *Hell is the absence of his smiles, and the presence of his frowns.* Gwynfydedigrwydd sydd yn gynwysedig yn y wybodaeth, a'r mwynhad, a'r olwg ar Dduw, a'i holl ragoriaethau gogoneddus. Y mae hefyd paladrau y gogoniant tra rhagorol hyn yn llewyrchu ar y creadur, trwy yr hyn y mae efe yn cael ei wneyd yn hardd, a chydffurf ag ef mewn santeiddrwydd. Dedwyddwch sydd yn beth anmhosibl heb gydffurfiad â'i ddelw ef. Yr oeddym mewn cydffurfiad perffaith ag ef yn Eden; ac yr oedd y bywyd hwnw yn ddedwydd; eithr mae y dedwyddwch hwnw wedi ei golli, ac ni cheir ef byth mwyach. Bendigedig! y mae y darn arian wedi ei gael eto, ac y mae wedi ei roi i gadw mewn pwrs newydd, pwrs mwy dyogel, "gyda Christ yn Nuw." Y mae yn *safe* bellach, nis collir ef byth mwyach.

Yn ol fel y byddo Duw yn ymegluro y mae gwynfydedigrwydd; felly y mae graddau yn nedwyddwch y saint ar y ddaear; y mae yn fwy ac yn llai ar brydiau, yn ol fel y byddo efe yn gweled yn dda i egluro ei hun. Yr ydym yn gwybod fod yr ymeglurhad lleiaf o Dduw yn moddion gras yn cynwys mwy o wir wynfydedigrwydd na'r mwynhad helaethaf sydd yn bosibl gael o'r byd hwn. Mwynhad o Dduw yn unig sydd yn wir hapusrwydd yn y byd hwn, er nad yw hwnw ond ychydig mewn cymhariaeth i'r mwynhad o hono yn y byd a ddaw. Mae gwynfydedigrwydd deublyg; gwynfydedigrwydd mewn dysgwyliad, a gwynfydedigrwydd mewn mwynhad. Gwynfydedigrwydd gras yma, a gwynfydedigrwydd gogoniant yn y byd a ddaw. Gwynfydedigrwydd yn y ffynon, a gwynfydedigrwydd yn y ffrydiau. Yr hyn y mae yr eglwys

filwriaethus yn fwynhau yma, a'r hyn y mae yr eglwys orfoleddus yn fwynhau mewn gogoniant. Nid yw o bwys pa ffordd yr ydym yn eu gwahaniaethu; eithr yr ydym yn gwybod am bwy bynag sydd yn feddianol o'r naill, y bydd yn sicr o fod yn feddianydd y llall; canys y mae gras a gogoniant wedi eu cylymu wrth eu gilydd. Dylynwch y ffrydiau, chwi ewch i'r ffynon; dylynwch ras, chwi ewch i ogoniant. Ni chaiff neb fendigedigrwydd gogoniant, heb gael bendigedigrwydd gras yn gyntaf; ac nid oes neb sydd wedi derbyn gwynfydedigrwydd gras, nad yw yn sicr o dderbyn gwynfydedigrwydd gogoniant mewn corph ac ysbryd. Y mae yn wir y bydd y corph yn pydru yn y bedd am ryw ysbaid, ac fe fydd y tymhor hwnw fel rhyw haner neu ail radd o ogoniant. "Oddicartref o'r corph, a chartref gyda'r Arglwydd." Ond pan yr ail-unir yr enaid a'r corph yn nghyd, ac y bydd y ddau gartref gyda'r Arglwydd am byth, fe fydd hyn yn gyflawnder gwynfydedigrwydd. "Yr hwn a gyfnewidia ein corph gwael ni, fel y gwneler ef yn un ffurf â'i gorph gogoneddus ef, yn ol y nerthol weithrediad trwy yr hwn y dichon efe, ïe, ddarostwng pob peth iddo ei hun," Phil. iii. 21.

Yr ydym yn cael ychydig o gymundeb â Duw yma; yr ydym yn gweled ei wyneb grasol megys "mewn drych," yn nhrefn fawr yr efengyl, trwy ffydd; "ond yna, wyneb yn wyneb." Tra yr ydym yn bresenol yn y corph, yr ydym yn "absenol oddiwrth yr Arglwydd;" nis gallwn weled ei wyneb ond trwy ddrych, a "rhodio trwy ffydd, ac nid wrth olwg." Nid yw ein llygaid yn glir eto; nid yw y dagrau wedi eu sychu ymaith eto; nid ydym yn gorphwys eto oddiwrth ein llafur; nid ydym eto yn mwynhau ein llawn wobr. Nid yw y gwynfydedigrwydd mewn gras yma i'w gydmaru i'r gwynfydedigrwydd mewn gogoniant yr ochr draw, pan y byddwn "oddicartref o'r corph, a chartref gyda'r Arglwydd." Mae yr apostol Paul yn dywedyd y bydd bod gyda Christ yn llawer iawn gwell na bod yn un man yn y byd hwn, er bod "oddicartref o'r corph;" eto ni fydd hyny yn cynwys cyflawn wynfydedigrwydd. Bydd hyny yn "llawer iawn" gwell na'r sefyllfa uchaf o ras ar y ddaear; eithr y goreu oll fydd pan y bydd enaid a chorph wedi eu hail-uno, ac wedi eu sefydlu am byth "gartref gyda'r Arglwydd."

Y mae yr ysgrythyrau yn nodi allan wynfydedigrwydd bywyd, gwynfydedigrwydd angau, a gwynfydedigrwydd adgyfodiad, a bod "yn wastad gyda'r Arglwydd." Y mae

llef yn cyhoeddi gwynfydedigrwydd bywyd. "Gwyn eu byd y bobl a adwaenant yr hyfryd-lais; yn llewyrch dy wyneb, O Arglwydd, y rhodiant hwy, ac yn dy gyfiawnder yr ymddyrchafant beunydd." Y mae llef y testun yn cyhoeddi gwynfydedigrwydd angau. "Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan." Y mae llef Mab Duw yn cyhoeddi gwynfydedigrwydd yr adgyfodiad: "Yna y dywed y Brenin wrth y rhai ar ei ddeheulaw, Deuwch, chwi fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi er seiliad y byd." Y mae Duw Dad, yr hwn yw Tad yr holl drugareddau, ffynonell fawr yr holl fendithion, yn bendithio yr enaid â gras mewn bywyd, â heddwch a chysur yn angau, ac â gogoniant yn dragywyddol yn y nefoedd. Rhued uffern, melldithied cythreuliaid a dynion drwg faint y fynont, gwynfydedig byth fydd y "meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd."

6. *Marw yn yr Arglwydd.* Dyma flodeuyn eto yn llawn o fêl, fy nghyfelllion; gadewch i ni ymsefydlu ychydig arno, i dynu y melusder o hono. Mae miloedd o'r saint wedi bod yn tynu mêl dewisol o'r blodeuyn hwn cyn yn awr; er hyny y mae digon i ninau hefyd, ac i holl oesoedd y byd. "Marw yn yr Arglwydd." "Beth! *Marw* yn yr Arglwydd, yr hwn yw Arglwydd y bywyd? A oes ganddo ef aelodau meirwon?" Peidiwch fy ngham-ddeall, fy nghyfeillion. Mae yn wir y gall aelod gael ei dori ymaith o'r corph naturiol, ein cyrph dynol ni, a'r corph yn fyw; ond nid ydyw felly yn nghorph dirgeledig yr Arglwydd Iesu; canys nis gall un aelod gwirioneddol gael ei *dori ymaith* o'r corph hwnw, chwaithach *marw* yn y corph. "Wel, os felly, pa fodd y gall dyn farw yn yr Arglwydd, yn gymaint nad oes gan y Duw byw ddim aelodau meirwon?" Nid ydyw y saint yn yr ystyr yna yn marw yn yr Arglwydd; y maent yn fyw i gyd ynddo, ac yn byw iddo. Pan y maent yn marw yn naturiol, y maent yn parhau i fod yn aelodau ysbrydol o'r corph dirgeledig. Maent yn anadlu allan eu heneidiau, ac yn myned i gysgu yn mynwes yr Iesu. Pan y bydd yr enaid yn gollwng ei afaelion yn y corph naturiol, bydd yn cadw ei afael o hyd yn Nghrist, y Pen dirgeledig ac ysbrydol. Bydd ffydd yn cadw gafael sicr yn yr Arglwydd Iesu wrth ddyosg hen ddillad y ddaear; gobaith yn dysgwyl wrtho yn hyderus, a chariad yn ei gofleidio byth. Maent yn marw mewn undeb â'r Arglwydd.

Gadewch i ni edrych ar yr undeb hwn am ychydig, fy nghyfeillion; a gweddiwch am ei adnabod cyn eich marw.

(1.) Undeb bendigedig ydyw. O, y fath ragorfraint annhraethadwy i bryfed gwael y llawr! Dyn tlawd ar y ddaear yn mwynhau undeb a chymundeb â'r Duw cyfoethog yn y nefoedd! Syndod! Y mae uwchlaw gwybodaeth, y tu hwnt i bob deall; eto y mae yn wir, canys y mae y saint wedi eu huno a'u cysylltu â'r Arglwydd yn Nghrist Iesu.

(2.) Undeb dirgeledig ydyw. Mae gwybodaeth berffaith o'i natur yn nghadw erbyn y sefyllfa ogoneddus yn y nefoedd. Bydd yn rhaid cael y nefoedd i'w esbonio, a nefoedd i dragywyddoldeb. Mae yn haws dyweyd beth nad ydyw na pha beth ydyw.

(3.) Undeb angenrheidiol ydyw. Mae yr holl gredinwyr wedi eu huno â Duw yn ei Fab; ni allent fodoli o gwbl fel credinwyr ond mewn undeb ffydd â Christ, ac â Duw yn Nghrist. Undeb ydyw sydd yn hanfodol i'w bodolaeth fel credinwyr.

(4.) Undeb cryf ydyw. Y rhwymau â pha rai y rhwymir Crist a phechadur yn nghyd, nis gellir eu datod byth, ac nis gellir eu tori byth ychwaith. "Pwy a'n gwahana ni oddiwrth gariad Crist? ai gorthrymder, neu ing, neu erlid, neu newyn, neu noethni, neu enbydrwydd, neu gleddyf; megys y mae yn ysgrifenedig, Er dy fwyn di yr ydys yn ein lladd ni ar hyd y dydd; cyfrifwyd ni fel defaid i'r lladdfa. Eithr yn y pethau hyn oll yr ydym yn fwy na choncwerwyr, trwy yr hwn a'n carodd ni. Canys y mae yn ddyogel genyf, na all nac angau, nac einioes, nac angylion, na thywysogaethau, na meddianau, na phethau presenol, na phethau i ddyfod, nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd," Rhuf. viii. 35—39. Angau, yr hwn sydd yn ein gwahanu oddiwrth bob peth gweledig, yw y peth tebycaf i'n gwahanu; ond bendigedig yn oes oesoedd, nis gall angau. Chwi welwch fod angau yn gwahanu dynion a'u hetifeddiaethau oddiwrth eu gilydd; yn gwahanu gwŷr a gwragedd, yn gwahanu rhieni a phlant, yn gwahanu y saint oddiwrth eu gilydd ar y ddaear; ïe, yn gwahanu corph ac enaid oddiwrth eu gilydd am dymhor; eithr *nis* gall ddatod yr undeb sydd rhwng corph ac enaid â Duw yn ei Fab. Dyma undeb rhy ddyogel i angau allu cyffwrdd ag ef. Mae yn wir fod y corph yn myned i gysgu, eithr y mae yn "huno

yn yr Iesu;" yr undeb sydd yn parhau, er i'r anadl ballu; y mae yn cysgu ei hun yn dawel yn mhreichiau trugarog Mab Duw. Nid datod yr undeb sydd rhwng y saint a'r Arglwydd y mae angau, eithr yn dynhau; canys yn angau y maent yn dyfod yn agosach ato nag erioed.

Y mae rhyw beth tebyg yn angau y credadyn i'r hyn oedd yn angau Crist; yr oedd angau yn datod corph ac enaid yr Arglwydd Iesu oddiwrth eu gilydd, eithr ni ddatododd yr undeb oedd rhwng y corph a'r enaid hwnw â'r Duwdod. Bu Crist farw yn wirioneddol; ymwahanodd corph ac enaid ar y groes, ond ni ymwahanodd dyn a Duwdod. Felly, fy nghyfeillion, er fod angau yn gwahanu y credadyn oddiwrth bob peth, nid yw yn gallu datod yr undeb sydd rhyngddo a'r Arglwydd yn Nghrist Iesu. Y rhai sydd yn Nghrist yn eu bywyd, a fyddant yn sicr o fod yn Nghrist yn eu marwolaeth; a'r rhai sydd yn Nghrist yn eu marwolaeth, a fyddant yn sicr o fod yn Nghrist yn yr adgyfodiad; a'r rhai fydd yn Nghrist yn yr adgyfodiad oddiwrth y meirw, a fyddant yn Nghrist byth. Gogoniant! *Once in Christ, in Christ for ever.* "Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, fel y gorphwysont oddiwrth eu llafur, a'u gweithredoedd sydd yn eu canlyn hwynt." Maent wedi marw, nid ydynt yn y byd hwn; maent wedi marw, nid ydynt mwyach yn y corph; maent wedi marw, nid edwyn eu lle hwynt eto; maent wedi marw, nid ydynt yn eu tai; maent wedi marw, nid ydynt yn y siop; maent wedi marw, nid ydynt yn awr yn y *counting-house;* ond bendigedig yn oes oesoedd, er eu bod wedi marw, maent yn yr Arglwydd o hyd; ac yno y byddant i bob tragywyddoldeb.

Cydmerir yr undeb hwn â Duw yn Nghrist, i roi impyn i mewn yn y pren; ac y mae tri pheth yn ofynol i'r oruchwyliaeth hono. Yn gyntaf, Y mae yn rhaid tori y pren er mwyn gosod yr impyn i gydio yn y clwyf. Yn ail, Rhaid i'r impyn gael ei roi i mewn yn y pren. Yn drydydd, Wedi y gosodir y naill yn y llall, bydd y ddau yn cael eu gwasgu yn eu gilydd. Y clwyfau sydd i gyd yn barod yn mhren y bywyd; agorwyd clwyfau ar y groes, y maent yn agored byth, ac yn agored bob amser i dderbyn impyn i mewn. Yr Ysbryd Glân sydd yn ein himpio yn yr Arglwydd Iesu trwy air y gwirionedd, a thrwy roddi ffydd yn enaid y pechadur. Bydd yr Ysbryd Glân, a ffydd, yn gwasgu Crist a'i enaid at eu gilydd, fel y maent yn ymgylymu byth yn eu gilydd. Y mae

yr Arglwydd Iesu wedi rhwymo y cwbl i fyny â'i gariad anfeidrol; nis gall y cythraul chwythu ar y man gwan, i sychu i fyny y rhinwedd, ac atal yr undeb i gymeryd lle. Mae efe hefyd yn rhwymo ei allu anfeidrol am y cwbl. "Y rhai trwy allu Duw ydych gadwedig trwy ffydd i iachawdwriaeth, parod i'w datguddio yn yr amser diweddaf," 1 Pedr i. 5. Os ydym wedi ein himpio yn y "wir winwydden," a'n rhwymo yn dŷn, ni a gyfranogwn o frasder yr olewydden, ac felly ni gynyddwn mewn gras fwy-fwy, gan ddwyn ffrwyth i fywyd tragywyddol. Am hyny, gan ein bod yn byw yn y "wir winwydden" yn gangenau ffrwythlon, ni gawn ail flaguro ynddi mewn gogoniant tragywyddol, er colli ein dail o dan lwydrew angau. "Bendigedig fyddo Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn yn ol ei fawr drugaredd a'n hadgenedlodd ni i obaith bywiol, trwy adgyfodiad Iesu Grist oddiwrth y meirw, i etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig, ac yn nghadw yn y nefoedd i ni," 1 Pedr i. 3, 4.

7. *Fel y gorphwysont oddiwrth eu llafur.* Dyma flodeuyn arall, fy nghyfeillion, yn llawn o'r mêl mwyaf dewisol. Dewch â'ch llestri yma fel na choller dim; dewch yn fuan, canys y mae yn dyferu yn rhwydd o'r blodeuyn i lawr. "Gorphwysant oddiwrth eu llafur." Gogoniant! Caiff eu cyrph orphwys yn dawel yn y bedd am dipyn, a'u heneidiau yn mynwes Abraham. Diolch. Caiff fy nghorph tlawd, egwan, a dolurus, gysgod yn mhriddellau y dyffryn, a chaiff fy enaid orphwys yn mhreichiau fy Mhriod a'm Prynwr. "Bydd priddellau y dyffryn yn felus" i fy nghorph eiddil a gwywedig; efe a orwedd yn dawel yn y pridd, "a'r pryfed a'i gorchuddia." Ni bydd y pryfed nemawr gwell o honof fi; nid oes yma fawr iddynt i gael, chwi welwch; eto myfi a gaf orphwys yn eu plith hyd foreu yr adgyfodiad. Mae yn fil gwell fod yn mhlith pryfed yn y bedd nag yn mysg cythreuliaid yn nghrwyn dynion ar y ddaear. "Yno yr annuwiolion a beidiant â'u cyffro; ac yno y gorphwys y rhai lluddedig."

"Mi gysgaf hûn yn dawel
Dros enyd yn y grafel,
  Nes datod trefn y rhod
Ac yna mewn hedd
Y codaf o'r bedd,
  Ar ddysglaer wedd fy Mhriod."

Henffych y boreu. Yr wyf heddyw fel Issachar, "yn asyn esgyrnog, yn gorwedd rhwng dau bwn." Bydd y teimlad o

gredodd i'n hymadrodd? ac i bwy y datguddiwyd braich yr Arglwydd?" Esay liii. 1. "Yr ydym wedi llafurio yn ofer, ac wedi treulio ein nerth am ddim." Cymerwch galon; *take fresh courage, my friends.* "Bwrw dy fara ar wyneb y dyfroedd; canys ti a'i cei ar ol llawer o ddyddiau. Y boreu haua dy had, a phrydnawn nac atal dy law: canys ni wyddost pa un a ffyna, ai hyn yma ai hyn acw, ai ynte da fyddant ill dau yn yr un ffunud," Preg. xi. 1, 6. Er nad wyt yn gweled yr had yn tyfu eto, er hyny fe allai ei fod yn gwreiddio o dan y gwys, ac y daw i'r golwg wedi i ti fyned i'r nefoedd, ac mai yno y byddi yn clywed yr hanes. "Eu gweithredoedd sydd yn eu canlyn hwynt." Mae y tir a wlychir â dagrau wrth hau yn dwyn cynyrch toreithiog bob amser. "Y rhai sydd yn hau mewn dagrau, a fedant mewn gorfoledd. Yr hwn sydd yn myned rhagddo, ac yn wylo, gan ddwyn had gwerthfawr, gan ddyfod a ddaw mewn gorfoledd, dan gludo ei ysgubau," Sal. cxxvi. 5, 6. Mae athrawiaeth y testun yn gysur cryf yn nghanol adfyd y byd hwn; y mae yn ysgafnhau beichiau y ddaear mewn gobaith am y nefoedd, ac yn ymlid ymaith bruddglwyf angau, trwy addaw cysur ynddo, a gwell sefyllfa ar ol myned drwyddo.

Wrth ddybenu, yr wyf am eich adgofio, os ydych yn meddwl marw yn yr Arglwydd, fod yn rhaid byw yn yr Arglwydd, a byw iddo. Nis gellir dywedyd fod un dyn wedi marw yn Llundain, ac yntau heb fod yn byw yno erioed. Felly y mae yn beth anmhosibl i neb farw yn yr Arglwydd na fu yn byw ynddo erioed. Pa fodd y mae yn bosibl marw o farwolaeth yr uniawn heb fyw bywyd yr uniawn? Gweddiwch am eich cael ynddo ef mewn bywyd ac mewn angau; ac yna byddwch ynddo i dragywyddoldeb. Amen.

ABERTAWY: ROSSER A WILLIAMS, HEOL FAWR.